# GOLEUNI
## Gwedi torri allan
# YNGHYMRY,
## Gan ymlid ymmaith dywyllwch:

NEU

## Gariad y *Sais* tuac at yr *Hên Gymry*:

GAN

Gynnwys atteb i Lyfr, yr hwn a elwir, *Bedydd Plant o'r nefoedd*; yr hwn a osodwyd allan yn y jaith Gymraeg, gan Mr. *James Owen.*

Ymmha le yr ydys yn ymholi ac yn diddadlu ei *ddeudeg Resswn* ef, am fedyddio plant y ffyddloniaid, ac yn dinystrio bedydd baban[illegible]

Ac yn profi hefyd m[illegible] soddiad yr holl Gorph mewn dwfr, *yn* [illegible] ac nad yw neb yn ddeiliaid bedydd ond y[illegible] unig.

Ymmhle y mae 'r Bed[illegible] eu hamddiffyn oddiwrth yr holl wradwydd a [illegible]nudded hynny, ac y mae Mr. *Owen* yn daflu arnynt.

---

Gan *BENJAMIN KEACH.*

---

Bernard yn ei Breg. *66.* in Cantica.
*Irrident nos quia baptizamus infantes, quod oramus pro mortuis, quòd sanctorum suffragia postulamus.*

---

Mat. 3. 16. **Ende Jesus gedoopt zijnde, is terstont opgeklomen uit het Water**; yr hwn a gymmerwyd allan o Destament y Dwtch; ac yw yn Gymraeg fel hyn; *a Phan y trochwyd yr Jesu efe a ddeth allan o'r dwfr.*

---

Printiedig yn *Llundain*, ac ydynt ar werth gan *William Marshal* wrth lun y *Bibl* yn *Newgate-street.* 1696.

# *At y Christnogion Duwiol, y rhai a ddalant fedydd babanaidd, yn* Nheheubarth *a* Gwynedd, *Grâs, trugaredd a thangnefydd oddiwrth Dduw y tâd a'n Harglwydd Jesu Grist.*

*Chychwi Frodir Parchedig a'r Hên Gymry,*

YR wyf yn ych hannerch chwi yn ymyscaroedd cariad Cristnogaidd a serch diragrith; ni allaf fi lai na charu pawb ac sydd a Delw fy nhâd nefol ar eu heneidiau; ni cheiff ych barn chwi o fedyddio babanod (er mae cyfeiliornad yw) ddieithro fy nghalon oddiwrthych chwi, nag attal y *cariad cyffredin* a ddylei redeg trwy wythennau pôb un ac a anwyd o Dduw; er fy môd i yn wrthwynebwr i'ch barn a'ch arfer chwi ar yr achos hynny, etto yr wyf yn fawr garu 'ch cyrph chwi a'ch eneidiau gwerthfawr; ac y mae gennyf gymmaint o gariad a choelio, mae trwy annwybodaeth yr ydych yn cyfeiliornu yn y peth hwn, ac i Dduw er dibennion call guddio gwirionedd ei ordinhaâd sanctaidd ef o fedydd efangylaidd oddiwrthych chwi ar yr amser presennol; ac y mae gennyf obaith, pe baech yn chwi gweled yn wêll, y byddei i chwi ddilyn arfer gwêll; *Nid yw Cariad yn tybied dim drwg*, &c. 1 *Cor.* 13. vn achos pa ham yr wyf yn scrifennu'r epistol hon attoch chwi, ydyw er rhoddi atteb i'r Epistol a scrifennwyd attoch chwi gan Mr. *James Owen* o flaen ei draethawd diweddar ef, ymmha vn y mae llaweroedd o bwngciau a drychiolaethau llygredig gwedi cael eu gossod i lawr a'u haeru ganddo ef, y rhai yr wyf yn coelio a ddylent gael eu datcuddio, a dwyn tyst yn eu herbyn gennyfi; yn gystal a rhoddi atteb i'w lythr ef, y rhai nid ydynt yn vnig yn cael eu cynnwys yn ei lythr ef attoch chwi; eithr yn hwnnw hefyd at yr anrhydeddus wr Mr. *Samuel Jones*.

Y mae efe yn ei Epistol at Mr. *Samuel Jones* yn haeru y geiriau hyn tuag at gadarnhau bedydd babanaidd ar y gysammod o râs; sef, 'Gan i chwi ddeisyf a bod yn daer 'arnaf am amddifyn y gwirionedd yn llaw, yr hwn sydd yn 'gosod allan hawl babanod i fraintiau'r gysammod newydd; 'pa wirionedd a sailliwyd ar sail yr Apostolion a'r Proph-'wydi, ie ac mor hên a'r gysammod o ras yr hon a wnaeth-'pwyd ag *Abraham* a'u hâd, *&c.*

*Atteb.* A ydyw Mr. *Owen* yn tybied ein bod ni yn gwadu nad oes neb o'n plant a hawl ganddynt i'r gysammod o râs? na atto Duw; nid yw'r ymryson yn sefyll yn y man hyn: oblegid y mae'n holl blant ni y rhai a gawsant eu hethol, oddifewn y gysammod o râs mewn ffordd o rag-ordeiniad, ac yn rhinweddol hefyd trwy farwolaeth a haeddedigaethau Jesu Grist, ac maent hwy hefyd yn welthredol ac a fyddant ynddi hy pan y credont neu y byddont gwedi cael eu huno â Christ; eithr yr ydym ni yn naccau yn llwyr gwbl, fod plant y ffyddloniaid megis y cyfryw neu (os byddir yn eu hystyred hwy felly) oddifewn y gysammod o râs.

2. Os y gysammod o râs a wnaethpwyd ag *Adda* a'i hâd naturiol ef megis y cyfryw, onid yw yn canlyn oddiyno i fod efe yn dal iachawdwriaeth cyffredin?

A ddichon vn dyn fod yn golledig ac sydd oddifewn y gysammod o râs? Onid yw hi yn gysammod dragywyddol *yn drefnus ddigon ymmhôb peth ac yn siccr?* 2 Sam. 23. 5. ac onid yw'r *addewid yn siccr i'r holl hâd?* Rhuf. 4. 16. gan na chaedd ei chadarnhau yn vnig iddynt hwy trwy'r addewid, eithr hefyd trwy lw Duw, *Heb.* 6. 13. —— 18. 17. Eithr,

3. Onid yw'r gysammod a'r addewid i *Adda* yn redeg yn vnig i Jesu Grist, neu yn perthyn iddo ef, yr hwn yr ydys yn ei feddwl yn y man hynny *wrth hâd y wraig?* gwir yw, nyni a fyddwn yn canniatau ei fod ef yn cynnwys hefyd holl etholedigion Duw mewn ystyr helaeth; eithr perthyn y mae'n gyntaf ac vnionawl i Grist mewn ystyr personawl: eithr a ddichon neb dybied fod yr addewid ymma yn cael ei glymmu wrth hâd cnawdol y credadwy neu'n rhedeg felly? fy mrodyr, y mae dau fath o hâd y naill a elwir, *Hâd y wraig*, yr hwn, yr ydym ni yn haeru, yw Christ yn vnig a'r etholedigion oll ynddo ef ac at y rhai neu gyd y mae'r gysammod o râs yn perthyn, eithr nid yw i neb heblaw, o ran y bendithion a'r braintiau neillduol sydd ynddi; y llall a elwir, *Hâd y Sarph*, y rhai ydynt annuwolion; y rhai ydynt yn tarddu rai o honynt o lwynau y ffyddloniaid, yn gystal ac oddiwrth

lwyn-

lwynnau'r annuwiol, oblegid megis ac y mae rhai o hâd yr anghrediniol oddifewn etholedigaeth grâs, felly y mae rhai o hâd y crediniol heb fod yn etholedig.

'Eithr i fyned rhagom yn y blaen (medd efe) os plant y 'ffyddloniaid nid ydynt oddifewn y gyfammod o râs, nid oes 'obaith ganddynt ac y maent hwy heb Duw yn y byd.

*Atteb.* Nyni a'n plant oll wrth naturiaeth oeddym yn farw mewn pechodau a chamweddau, a plant digofaint megis eraill, ac felly heb obaith ac heb Dduw yn y byd *Ep.* 2.13. cyn ini gredu, fel hyn yr oedd ein cyflwr ni, ac onid ydyw'n plant wrth natûr yn y cyflwr hwn? eithr beth am hynny? etto pan y bo i Dduw *eu galw*, hadnewyddu a'u *hymfymmudo hwynt* oddiwrth yr *Adda cyntaf* a'u himpio hwynt i'r *Ail Adda*, y mae ganddynt yr vnrhyw obaith a'r vn Duw i fod yn Dduw iddynt ac fydd gennym ninnau.

'Eilchwaith medd efe; nid oes dim ammeu nad yw'r gy-'fammod gyntaf yn eu barnu hwynt yn euog, oblegid y pe-'chod gwreiddiol; ac od ydynt heb hawl yn y gyfammod 'o râs, y mae digofaint Duw yn gorwedd arnynt hwy; eithr 'na atto Duw i ni dybied, fod rhagor o rinwedd yn yr '*Adda cyntaf* tuac at farnedigaeth na y fydd yn *yr ail Adda* 'tuac at jechawdwriaeth.

*Atteb.* Y mae'r peth yn eglur, yr *Adda cyntaf* a'i eiddo oll, os yftyrier hwynt felly, a gawfant eu colli, gan eu bod hwy yn blant digofaint a barnedigaeth; a'r *Ail Adda*, a'i eiddo ef oll ydynt, neu a fyddant oll yn gadwedig, gan eu bod hwy yn blant yr addewid a jechawdwriaeth tragywyddol: Eithr a ydyw Mr. *Owen* yn tybied, fod holl blant y ffyddloniaid, megis y cyfryw, yn hâd neu'n blant i'r *Ail Adda*.

Meddafi drachefn, A ydyw'n plant ni oll oddifewn etholedigaeth grâs, neu a ydyw etholedigaeth yn rhedeg yn y llîn hynny yn vnig?

'Pe buasei'r *Adda cyntaf* yn fefyll, meddwch chwi, nyni 'a'n plant a fuafem yn fefyll; a ydyw ffydd yn yr *Ail* '*Adda* yn gwneuthur cyflwr ein plant yn waeth nag y bua-'fei efe trwy vfydd-dod yr *Adda cyntaf?*

*Atteb.* A ydyw'n rhaid i Dduw achub holl blant yr *Adda cyntaf* trwy vfudd-dod yr *ail*, o herwydd pe buasei *Adda* yn fefyll, ni fuafei neb o'i blant ef yn cwympo? pa

fâth o athrawiaeth yw hwn? yr ydych chwi yn myned o'r tu hwnt i'r holl *Arminiaid* ac a geisym gwrdd a hwynt erioed; eithr och pa faint yw cyfoeth grâs arbennig Duw i neb rhai o hâd colledig a gwrthryfelgar dynolryw.

Onid yw'ch meddwl chwi fel hyn, etto a ydyw pôb credadyn y fâth bên cyffredin a chioheddus iw eppil naturiol, ac yr oedd *Adda* iw eppil ef? Crist yn unig yw cyhoedd ben ei hâd; ffydd y credadyn sydd yn cyfiawnhau ac yn achub yn wrthddrychiol ei enaid ei hun, ac nid ei blant; a allai ei Mr. *Jones* barchedig gael cwrdd ag un scrifennydd gwell na hwn i amddiffyn ei gynghaws ef o fedydd babanaidd? fe ellir dywedyd fod fy ffydd yn fy uno i â Christ; eithr a ydyw hi yn uno fy mhlentyn i hefyd ag ef? eithr pa beth bynnag y mae plant daionus yn i dderbyn oddiwrth eu rhieni crediniol, yn ddiau nyd yw ffydd y rhieni yn gwneuthur ei blentyn yn gredadyn; eithr er hynny nid yw fy ffydd yn gwneuthur cyflwr fy mhlentyn yn waeth nag yr oedd, ac ni all wneuthur cyflwr fy mhlentyn yn well; eithr er cymmaint o gynhorion buddiol, dugiad da i fynu, siamplau da a gweddiau, ac y mae rhai plant yn gael oddiwrth eu rhieni duwiol, nid yw'r rhain yn gwneuthur mo honynt yn well.

' Yr ydych chwi yn rhoi amnaid, pa fawr achos y sydd
' am dristwch chwerw yn eglwysi Duw, am fod y rhan fwyaf
' o'u plant yn cael eu torri ymmaith oddiwrth y gyfammod
' o jechawdwriaeth.

*Atteb.* Nid yw'n athrawiaeth ni yn torri ymmaith un plentyn o rieni crediniol yr hwn sydd oddifewn y gyfammod o jechydwriaeth; os darfu i Dduw ethol y rhan fwyaf, o blant y ffyddloniaid, yr ydym ni yn dywedyd y byddant hwy cadwedig: y mae'n beth amhossibl i neb allu torri ymmaith un o etholedigion Duw; eithr beth yw hyn i'w plant hwy megis y cyfryw, neu i'r hawl pennodol sydd gan neb o'n plant ni i fedydd? a ydych chwi yn torri ymmaith ych babanod oddiwrth y gyfammod o jechawdwriaeth, oblegid na byddwch yn rhoddi iddynt waed y gyfymmod (fy meddwl yw swpper yr Arglwydd?) Fy mrodyr, y mae'r sacramentau ill dau yn ordinhadau wrth hawl pûr pennodol, sef, yn sefyll (o ran y deiliaid a'r holl fatterion ac sydd yn perthyn iddynt) ar ewyllys arbennig a phleser yr Arglwydd Jesu ein gwneuthurur cyfraith mawr ni; ac mal y mae'n rhaid iddynt hwy ac a ddelont at y naill o'r ordinhadau ymholi eu hunain a jawn farnu corph yr Arglwydd felly, y mae'n rhaid iddynt hwy oll ac sydd yn dyfod at y llall gredu

ynghrist, ac edifarhau oddiwrth weithredoedd meirwon.

Yr ydych chwi yn cyfeiliornu, nid y gyfammod tragwyddol o râs ydyw hi, yr hon, meddwch chwi, yr ydych chwi yn sefyll i fynu tu ac at ei hamddiffin hi; eithr yr ydych chwi yn ymegnio yn amseroedd yr efengyl, dyfod i mewn â chyfammod cyfattebol oddiallan yn ôl y cnawd yn gyffelyb i'r cyfammod honno o neilltuoldeb, yr hon a wnaeth Duw ag *Abraham* a'i hâd naturiol ef, mal yr oedd efe yn ben cyffredin a thâd holl dy *Israel*, neu o eglwys cenhedlig, dinesig a chyscodawl yr Iddewon; Je chwy chwi a fynnwch gael hâd y crediniol ôll yn y gyfammod honno, yr hon oedd yn perthyn yn neilltuol ac yn berthaith gwbl i had naturiol *Abraham*, megis y cyfryw, ac i neb rhai eraill: 'ynawr. Dymma'r peth yr ydym ni yn wadu; yr ydym ni yn dywedyd, wneuthur dau fâth o y gyfammod ag *Abraham* y rhai a arwyddocceir wrth *Sarah* ac *Hagar*; ac er fod trugaredd a grâs ynddynt hwy ill dau, etto ni wnaed mo'r gyfammod o râs neu'r râd addewid i *badau megis am lawer*, sef, nid i holl hâd naturiol *Abraham* neu hâd y crediniol megis y cyfryw, eithr hi a wnaethpwyd yn bennaf i Grist, ac ynddo ef i'r etholedigion oll yr rhai ydynt yn unig oddifewn y gyfammod tragwyddol o râs: y mae'n eglur fod yr etholedigaeth yn cymeryd gafael ar rai o hâd y crediniol ac ar rai o hâd yr anghrediniol; ac er y gall Duw yn ei gariad tragwyddol gynnwys ychawneg o'n hâd ni nag o hâd yr anghrediniol; etto fe ddarfu imi brofi yn y traethawd hwn ac yn fyngwrthatteb i Mr. *Owen*, nad yw'r gyfammod o râs ac etholedigaeth Duw yn redeg i hâd y ffyddloniaid, megis y cyfryw, ac hefyd na ddylei hâd y crediniol ddim mwy na hâd yr anghrediniol, gael eu bedyddio, hyd oni chredont ynghrist; o herwydd nid y gyfammod o râs, os ystyrier hi mal y cyfryw, sydd yn rhoddi i neb hawl i fedydd, eithr gorchymyn pûr pennodol ein harglwydd Jesu Grist; gorchymyn a chomissiwn pwy, nid yw yn rhwymo neb i gael eu bedyddio, ond y cyfryw rai ac sydd yn credu, neu'r cyfryw ac sydd yn cael eu dyscu trwy bregethiad y gair, *Mat*. 28. 19, 20. *Marc* 16. 16. *Joan* 4. 1. *Act*. 2. 37. *Act*. 8. 12, 14. *Act*. 8. 37. *Act*. 10. 47. *Act*. 16. 30, 31. *Act*. 18. 8. *Rhuf*. 6. 3, 4.

' Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd wrth Mr. *Jones*, yr hwn
' (medd efe) sydd â thafod y dysgedig gantho; mae ddeisy-
' fiad ef ydoedd am iddo ymddadleu tros y gweiniaid hynny
' y rhai nid ydynt yn gallu ymddadleu trostynt eu hunain.

*Atteb.* Y mae efe yn dywedyd mewn vn man i Mr. *Jones* ddeisyf a bod yn eitiol arno au scrifennu ei draethawd, ac efe ddywed mewn man arall, mae ei ewyllys a'i ddeisyfiad ef ydoedd am i Mr. *Jones* wneuthur hynny.

O ran Mr. *Samuel Jones* parchedig, fe roddws gweinidog anrhydeddus y fâth helynt i mi am dano ef, a mod i yn barod ddigon i goelio, pe buasei efe yn scrifennu ar yr achos hwn, na buasid yn taflu y fâth warth ac yn rhoddi y fâth ymadroddion chwerwon yn ein herbyn ni, ac y gwnaeth y gwr hawn; fe ddarfu iddo ef lanw ei bin-scrifennu mewn bustl a wermod, mysi a glywais na osodwys Mr. *Jones* mo hono ar y gwaith hyn, ac nad yw yn foddlon iddo, er iddo fe allei pan y gwelais efe i dueddrwydd tuag atto, ddywedyd *cerddwch yn y blaen a gwnewch ef.*

Yr wyf yn dywedyd wrthych nad yw raid i'r fâth weiniaid ac y mae efe yn ei feddwl, am y fâth ymddadleuwr; ni wnaeth efe ddim gwasanaeth trostynt hwy, nag eglwys Duw ychwaith; nid ydym ni yn taflu neb o honynt hwy allan o'r gyfammod dragwydol honno yr hon mae efe yn crybwyll am dani, ac ni ddichon na dynnion nag Angelion wneuthur mo hynny; y mae'r cyfryw o'n babanod ac sydd oddifewn y gyfammod dragwyddol honno yn ddiogel ddigon, eithr yr ydym ni yn gwadu nad yw ein babanod oddifewn y gyfammod honno o *neillduolrwydd*, yr hon a wnaeth Duw ag *Abraham* a'i hâd naturiol ef, megis y cyfryw; ac y mae'n siccr gennyf y cewch chwi weled hyn gwedi ei brofi yn ddigonol yn yr atteb sydd yn canlyn. Ymmhellach,

' Efe a ddywed, i fod efe yn sefyll i fynnu i amdiffyn y
' gyfammod dragwyddol yr hon a wnaeth Duw â'r ffyddlo-
' niaid a'u hâd —— mawr yw'r gwîr ac efe orchfygâ.

*Atteb.* Ni ddylei efe ymffrostio cyn diosc ei arfogaeth oddi am dano; fe ddichon peth fod yn wirionedd mewn tebygoliaeth Dyn, yr hwn sydd gyfeiliornad mawr ynddo ei hun. Chwychwi a gewch weled pan y darllenoch ein hatteb ni pa vn a'i y darfu iddo ef brofi fod bedydd babanod o'r nefoedd, mal y mae efe yn nechreu ei lyfr yn haeru ei fod ef. Y mae efe yn dywedyd ymmhellach.

' Tadau ydym ni, ac y mae cyfraith naturiaeth yn ein
' dyscu ni i amddiffyn etifeddiaeth ein plant.

Nid yw ein gwyniau ni yn llai tuag at ein plant nag y mae ei wyniau ynteu, *yr ydym ninneu hefyd yn dadau*, eithr nid ydym fodlon i roddi etifeddiaeth i'n plant yr hon nid yw mewn cyfiawnder yn perthyn iddynt hwy.

Nid

Nid yw grâs na Braintau graslawn yn y gyfammod newydd yn dyfod trwy etifeddiaeth i'n plant mewn ffordd naturiol, mal y maent hwy yn eppil ini; er fod y peth yn eglur yn y gyfammod o neilltuolrwydd honno a whaethpwyd ag *Abraham*, fod yr Iddewon a'u hâd megis y cyfryw, gwedi cael etifeddiaeth gan yr Arglwydd, sef, llaweroedd o fraintiau cyfreithlawn oddiallan heblaw gwlâd *Canâan*, o ba rai yr oedd enwaediad yn nod neu'n ddull; eithr nid oes gennym ni na'n plant ddim hawl i'r etifeddiaeth honno; yr oedd y *cyscod* ganddynt hwy, eithr y mae'r *sylwedd* gennym ni a'n plant y rhai sydd yn credu; ganddynt hwy yr oedd y *Plyscyn*, y mae gennym ni y *cnewyllyn*; y wîr etifeddiaeth sydd trwy ffydd, fel y byddei yn ymddangos i bod hi'n tarddu o râs, ac nid trwy enwaediad na bedydd, eithr trwy ffydd yn vnig; am hynny pan y caffo ein plant eu galw gan Dduw, ac y byddont yn credu yng-hrist y mae hawl ganddynt i'r etifeddiaeth o ba vn y mae bedydd yn arwydd; a pheth a dal yr arwydd heb y peth a arwyddocceir? Chwychwi ein Brodyr ac sydd yn bedyddio plant ydych yn rhoddi enw ond nid ydych yn rhoddi natûr Christ iddynt; beth a dal y braint o fod yn jarll neu'n dduwc, heb fod ganddynt gyfoeth neu stâd i gyfatteb y braint llednithiog hynny.

'Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd, ein bod ni yn oruwchwil-'wyr tros dy Dduw ac y dylem ni amdiffyn y gweiniaid 'a'r blinderus, yr ydym ni yn fugeilliaid a dyledswydd 'arnom ni ydyw cymmeryd gofal am wyn y ddiadell, rhag 'ofn i neb o honynt cael eu taflu allan o'r gorlan.

*Atteb.* Yr ydys yn gofyn gan goruchwilwyr fod yn ffyddlon, a chymeryd gofal na roddont ddim rhan o feddiannau eu meistr i neb ond y cyfryw ac y rhoddws efe orchymyn am wneuthur felly; y nawr ni orchymynnodd Christ i'w oruwchwilwyr neu weinidogion roddi'r ordinhâad sanctaidd o fedydd i fabanod, dim mwy na swpper yr Arglwydd. Pwy bynnag gan hynny a wnelo felly, bydded iddo atteb am dano pan ddelo'r Arglwydd.

2. A ydyw'n babanod ni yn wyn ynghorlan Christ, neu'n gristnogion gweinion a blinderus yn nheulu ysprydol Christ? Babanod a roddwyd tau oruchwiliaeth gwenidogion, y rhai ydynt dadau naturiol, eithr nid mal y maent hwy yn weinidogion; ni wnaeth Duw erjoed moi weinidogion yn oruchwilwyr i gymeryd gofal am, neu fod yn fammaethau i

plant

blant bychain; gwir yw, mae'n rhaid iddynt hwy edrych a chymmeryd gofal am *fabanod newydd-eni yngbrist*, neu fabanod mewn grâs; y mae'n rhaid iddynt hwy edrych tuag at yr wyn hynny na thaflont mo honynt hwy allan o ddiadell Christ, pan y bônt hwy gwedi cael eu derbyn i mewn trwy fedydd, *&c.*

'Adeiladwyr, medd efe, ydym ni, ac nyni a ddylem adeiladu 'gwelydd *Jerusalem* gan weithio âr llaill law yn y gwaith, 'a dala'r arf yn y llall, *Neh.* 4. 17. ac nid oes i ni wrthod 'y cerrig bychain a mân hynny, y rhai a dderbynniwyd gan 'y tâd i'r hen adaleidaeth, y rhai a dderbynniodd y mâb i'r 'adeiladaeth newydd, ac a gânt eu derbyn gan yr yspryd, '*Mat.* 19. *Luc.* 1. 44. yr hwn sydd yn eu gwneuthur hwynt 'yn gerrig buwiol yn *Jerusalem* yr hon sydd oddiuwchod; 'ac y mae'r cerrig hyn yn cael eu taflu allan gan rai i le 'drewllyd oddifaes y ddinas, *Lev.* 14. 40. y mae Duw yn 'adgyfodi plant i *Abraham*, gwel *Mat.* 3. 9.

*Atteb.* A fyn efe, o herwydd i'r hên *Jerusalem* gael ei hadeiladu trwy appwyntiad Duw â cherrig meirwon yr hyn oedd ddull o'r newydd, adeiladu heb awdurdod Christ ei *Jerusalem* newydd ac ysprydol ef â'r fâth ddefnyddion? Nid ydym ni yn gwadu, na dderbynniodd Duw fabanod, megis y cyfryw, iw hên adeiladaeth ef, eithr onid yw St. *Peter* yn dywedyd wrthym, fod y deml efangylaidd yn cael ei hadeiladu i fynu â cherrig ysprydol, buwiol, neu gerrig byw, hynny yw â gwyr a gwragedd gwedi cael eu bywhau trwy râs Duw, neu hadnewyddu gan yr yspryd glân; bydded iddo ef brofi os gall, i Christ dderbyn un baban oll i'w eglwys efangylaidd; ac er nad ydym ni yn neccau na all babanod etholedig y rhai sydd yn marw felly fod yn gerrig buwiol yn *Jerusalem* oddiuwchod, yr wyf yn meddwl y nefoedd; etto nid yw ddim mwy yn canlyn oddiyno y dylei babanod gael eu bedyddio nag y dylent hwy fod yn gyfrannogion o swpper yr Arglwydd. Ymmhellach, y mae'n eglur, fod Joan, *Mat.* 9. 3. (yr hwn destun y mae Mr. *Owen* yn ei nodi) yn naccau nad oedd gan y cyfryw hawl i fedydd y rhai oeddynt hâd neu blant *Abraham* yn ôl y cnawd; *na thebygwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae Abraham yn dâd gennym*; er i'r gyfam nod o neilltuolrwydd yr hon a wnaeth Duw ag *Abraham* roddi hawl iw blant gwrywaid ef i enwaediad, etto nid yw hi yn roddi i neb hawl i fedydd efangylaidd ef nag i hên nag jevaingc, nag gwryw na benyw: fe ddichon Duw

o gerrig

o gerig adgyfodi plant i *Abraham*, hynny yw, y cyfryw rai ac nid ydynt yn descyn o *Abraham*; felly ac y gallwn weled na thâl descynniad cnawdol yn amseroedd yr efengyl ddim oll tuag at gael bod o gymmundeb eglwysig efangylaidd.

Cymry Parchedig, chwiliwch y scrythurau, ac na bydded i chwi gamsynnied ynghylch cyfammod Duw ag *Abraham*; chwychwi a gewch weled fod y gyfammod o râs o'r vn rhyw o'r dechreuad, ac hi a gaedd a'r bod amser ei dal allan trwy fford o rydd addewid, yn gyntaf i *Adda* ac felly i *Abraham*, &c. eithr fe wnaethpwyd cyfammod â *Noah*, ac er i bod hi yn llawn o drugaredd tuag atto ef a holl ddynolryw, etto nid oedd hono yn vnigol ynddi ei hun yn gyfammod o ras; felly hefyd fe wnaethpwyd cyfammod ag *Abraham* a'u hâd naturiol ef, megis y cyfryw, yr hon yr ydym ni yn alw'r gyfammod o neillduolrwydd, neu'r hon oedd yn neillduol yn perthyn i'w hâd naturiol neu epp'l ef; at ba gyfammod yr oedd enwaediad yn perthyn, yr hwn oedd wahanol oddiwrth y rhydd addewid neu'r gyfammod o ras yr hon a wnaeth Duw ag ef ac a'r etholedigion oll ynddo ef: chwi a ellwch fodyn ficcr nad oedd y gyfammod honno, ymmha vn yr oedd cyttundeb rhwng Duw ac *Abraham* a'i hôll had cnawdol ef, neu rhwng Duw a holl dy *Israel* (ac ar ammod o vfydd-dod iddi fe wnaethpwyd addewid o fywyd, hirhoedl, a *Chanaan* ddaiarol) yn gyfammod o ras, er y gallei hi gael ei rhoddi er gwneuthur gwasanaeth i'r gyfammod efangylaidd neu'r gyfammod o ffydd; a felly yr oedd hi megis ysgolfeistr i ddyfod a hwynt at Grist: yr yspryd glân yn vnig trwy ffydd sydd yn rhoddi i ni neu'n plant hawl yn weithredol i'r gyfammod o ras; y mae'n rhaid ini gredu, ac y mae'n rhaid i'n plant gredu, cyn y gallo llaill a ni neu'n plant fod mewn gweithred oddifewn y gyfammod fendigedig hon; yn y fath modd a bod ganddynt hawl i fedydd, fy meddwl yw, y cyfryw o honynt ac a fyddant fyw, *&c.*

Gwybyddwch hefyd, fel y dywedais i o'r blaen, mae nid y gyfammod o ras os ystyrier hi yn vnigol ynddi ei hyn, sydd yn rhoddi i vn dyn hawl i fedydd efangylaidd, eithr gorchymyn pûr bennodol ac eglur ac ewyllys Christ yr vnig wneuthurwr-cyfraeth; oblegid ni roddodd y gyfammod o ras ddim hawl i enwaediad i vn dyn dawiol neu had gwrywaid ef yn amser *Abraham*, neu gynt neu gwedin; eithr yn vnig gorchymyn Duw i *Abraham*, yr hwn oedd yn cyrrhaeddyd y cyfryw ac oedd yn tardu allan o'i lwynaw ef, neu a brynwyd a'i arian ef: fy mrodyr, a all neb dybied y gallei

*Abraham*

*Abraham* brynu dynnion ag arian ac yn y modd hynny dyfod â hwynt i'r cyfammod o râs? nage, nid oes dim ond gwaed Christ a all wneuthur hynny.

Ac yn wir y mae'n eglur ddigon pe baem ni yn caniattau y cwbl oll a y mae Mr. *Owen* ac eraill ac sydd yn dal bedydd plant yn ddywedyd, sef fod holl blant y crediniol yn ddiau oddifewn y gyfammod o râs; etto ni byddei'n canlyn oddi ymma, y dylei babanod gael eu bedyddio, ddim mwy nag y dylent hwy fod yn gyfrannogion o swpper yr Arglwydd, mal y dywedais i o'r blaen; oblegid bod yr ordinhadau hynny illdau (megis yr oedd enwaediad) yn tarddu oddiwrth hawl pûr pennodol; am hynny nyni a ddylem wybod, mae ewyllys a gorchymyn Christ ydyw yn y testament newydd, y dylei babanod gael eu bedyddio od oes hawl ganddynt i fedydd; eithr gan gymmaint ac na roddwyd yr amnaid lleiaf trwy holl air Duw, mae ei ewyllys ef ydyw, y dylent hwy gael eu bedyddio; y mae'n rhaid i chwi wrth wneuthur hyn fod yn euog o ryw fâth ewyllys-grefydd.

*Gwrthdd.* Eithr yn gymmaint a bod rhai yn gwrthddadlu, y gellir casclu oddiwrth ganlyniadau, mae dyledswydd arnom ni ydyw eu bedyddio hwynt; yr wyfi yn atteb o ran dim math o addoliad a gaedd ei ordeinio gan Dduw neu ddim ordinhâad pennodol cyfreithlon neu efangylaidd fe dylei fod gennym orchymyn pennodol oddiwrth Dduw; er ein bod ni yn caniattau y gellir casclu llaweroedd o wirioneddau ac a berthynant at athrawiaeth trwy ffordd o ganlyniadau oddiwrth laweroedd o destunau yn y scrythur; gwelwch Mr. *Greenhill* anrhydeddus ar *Ezec. pen.* 11. *vol.* 2. *tudalen* 412. ‘Gadewch i ni, medd efe, gyttuno yn hyn a rhodio yn gyfattebol i'r hyn a ddelyr allan ini yn yr Efengyl; gadewch ini yn yr hyn sydd dywyll a phetrus gyd-ddioddef eu gilydd, ac ymmaros hyd oni ddatcuddio Duw ychwaneg ini, oni allwn ni vno yn y cwbl, gadewch ini vno yn yr hyn sydd eglur; pethau sylfaenawl sydd fwyaf eglur yn y scrythur, y maent hwy gwedi cael eu gorchymyn yn bennodol neu dal allan yn y scrythur; pa vn ai bod hwy yn fatterion ffydd neu yn arferiad, nid oes iddynt hwy gael eu tynnu allan trwy ganlyniadau o hirbell neu nerth donniau dynnion, eithr yn ddigyfrwng oddiwrth neu yngair Duw, ‘fel hyn y scrifennodd Mr. *Greenhill*: yn awr yr ydym ni yn cyttuno eu gyd am fedydd, er nàd yw efe yn bwngc sylfaenol o jechawdwriaeth, etto y mae efe yn sylfaenol o Drefnid eglysig; ni all fod vn eglwys wir, vniawn a threfnus

yn

Yn ol yr efengyl heb fedydd; am hynny y mae'n anghenrheidiol iddo ef gael ei osod i lawr yn eglur yngair Duw, ac felly y mae efe; y mae'n rhaid ini yn gyntaf *gael ein gwneuthur yn ddiscyblion ac gwedi hynny yn bedyddio.* Mat. 28. 19, 20. Joan 4. 1. *Credwch yn y gyntaf, ac yna bydded i chwi gael eich bedyddio,* Actau 2. 37. *Odewyti yn credu, fe a ellir,* Act. 8. 37. *A all neb luddias dwfr fel na fedyddier y rhai hyn?* Act. 10. 47. *Eithr pan gredasent i* Philip, *yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas nefoedd ac enw Jesus Grist hwy a fedyddiwyd yn wyr ac yn wragedd,* Act. 8. 12. *felly* Act. 16. 30, 31. Act. 18. 8. Rhuf. 6. 3, 4.

O barthed y canlyniadau hynny y rhai y mae Mr. *Owen* ac eraill yn dynnu oddiwrth rai scrythurau tuag at brofi bedydd babanaidd, chwi a gewch weled yn yr atteb sydd yn canlyn nad yw'r canlyniadau hynny yn tarddu yn naturiol oddiwrth y lleoedd hynny, eithr ei ddichymygion di-sail ef ydynt, a'i ymddwynion cyfeiliornus.

'Y mae Mr. *Owen* yn ei lythr at y Cymry mwynaidd yn 'dywedid; y mae'r rhan fwyaf o'r eglwys yn barnu, fod 'gan blant y ffyddloniaid, hawl i fedydd, oblegid i bod hwy 'oddifewn cyfammod Duw; y mae'r farn hon yn cyttuno 'â'r scrythur, mal yr ymddengus, medd efe, yn y llyfr hwn.

*Atteb.* Pa gyfammod yw hon y mae efe yn ei feddwl ymmha vn y mae ein plaint, megis y cyfryw, ni's gwn i; nid ydynt hwy yn y gyfammod o râs, oblegid pe byddei plant y ffyddloniaid oddifewn y gyfammod o râs, fe fyddei'n rhaid iddynt hwy oll fod yn gadwedig: fe ddarfu ini yn y traethawd hwn brofi y peth hyn yn gyflawn, na all neb gwympo ymmaith yn llwyrac sydd yn y gyfammod hon: heb law hyn; pe byddent hwy oddifewn y gyfammod o râs, paham y dylent hwy gael yr ordinhâad o fedydd ar yr achos hyn, a pheidio a chael swpper yr Arglwydd a holl fraintiau eraill yr eglwys.

2. Nid ydynt hwy yn y gyfammod o neilltuolrwydd yr hon a wnaeth Duw â hâd naturiol *Abraham*, megis y cyfryw; neu a holl dy *Israel*; oblegid yr oedd honno yn gyfammod cyscodawl ac a gymerwyd ymmaith.

'Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd i bod hwy oddifewn go-'ruchwiliaeth o du allan y gyfammod o râs.

*Atteb.* Bydded iddo ef brofi, os gall, fod gan blant y crediniol fwy o fraintiau, trwy oruchwiliaeth yr efengyl oddi-

allan

allan, nag y ſydd gan blant yr anghrediniol, ymmhle y pregethir yr efengyl; hwynt hwy yn vnig ac neb eraill y rhai oeddynt byw tan oruchwiliaeth y gyfraith o'r tu allan ac a gredaſant ynghriſt yr hwn oedd i ddyfod, neu a gawſant eu hethol, oeddynt oddifewn y gyfammod o râs; ac felly yn awr nid oes neb ond y rhai a etholwyd a'r cyfryw ac a gredant oddifewn y gyfammod o râs; a ſydd i Mr. *Owen* ſelio bendithion y gyfammod newydd oll i'w holl hâd naturiol ef, pa un ai bod hwy gwedi cael eu hethol neu peidio, yn gymmaint a bod y bendithion yſprydol ar rhai ſydd oddifewn o'r gyfammod hwnno yn ôl ei eiriau ef ei hun, yn perthyn yn vnig i'r etholedigion?

'Y mae Mr. *Owen* yn erchi i chwi geiſio yſpryd goſtyngedig
'ac addfwyn âr fâth ac a baro i chwi ymwadu a chwi
'eich hun.

*Atteb.* Y mae'r cynghor hwn yn dda, ac am hynny na fyddwch ry hyderus ych bod chwi ar yr vniawn; nid yw ych athrawyr chwi ond dynnion, ac fe ddichon Duw, ar ryw achoſion dirgel i bawb, ond iddo efe ei hun, guddio bedydd y crediniol tros yr amſer preſennol oddiwrthynt hwy.

'Y mae efe hefyd yn erchi i chwi ochelyd eiddigedd anſ-
'ynhwyrol, yr hwn nid yw yn ol gwybodaeth, tân gwyllt
'yw (medd efe) yr hwn ſydd yn anrheithio eglwyſi a gwle-
'dydd, &c.

*Atteb.* Y mae arnafi ofn mae'r fâth eiddigedd a hwn y ddangoſodd efe ac eraill tros fedydd babanaidd, oblegid, yr wyf yn gobeithio y câf ddangos yn y traethawd hwn, nad yw ei eiddigedd ef yn ôl gwybodaeth a gair Duw.

'Na ddibriſia, medd Mr. *Owen*, dy Athrawon ffyddlon;
'bydd vfydd a goſtyngedig iddynt hwy, oblegid y maent
'hwy yn gwilio tros dy enaid.

*Atteb.* Mal na ddylech chwi ddirmygu'ch athrawon, eithr bod yn oſtyngedig iddynt yn yr Arglwydd, felly ni ddylech chwi wneuthur eulun o honynt hwy, na'u canlyn dim pellach nag y maent hwy yn canlyn Chriſt, oblegid bydded i chwi wybod mae nid dynnion, er eu bod yn weinidogion, ſydd yn rheol ych ffydd ac harferiad chwi, eithr gair Duw: gwybyddwch ymmhellach fod yn rhaid i chwi fod yn attebol i Dduw troſſoch eich hunain; ni bydd rhydd i eraill ddywedyd troſſoch ar y dydd mawr.

'Y mae

'Y mae efe yn erchi i chwi edrych ar blant bychain megis
'rhan o'u rhieni naturiol; a bod yn cael eu cynnwys yn yr
'addewid a wnaethpwyd i rieni da.

*Atteb* 1. Fe ddarfu iddo ef haeru hyn hefyd mewn man arall yn ei lyfr; yr hwn chwi a gewch weled imi atteb yn y llyfr hwn.

2. Peth rhyfedd yw! A ydyw plant yn rhan o'u rhieni, yn y fath mòdd ac pan y credo y rhieni fod y plant yn credu, a phan y bo y rhieni yn vfyddhau gorchymyn Duw fod y plant yn ei vfyddhau ef hefyd, a phan y bo gan y rhieni addewid o faddeuant a heddwch, fod gan y plant hawl i'r fath addewid? Pa fath o athrawiaeth dieithr yw hwn. Onid ydym ni a'n plant yn ddynnion neilltuol? oni chaiff y credadyn cyfan ei achub? yr wyf yn addef na allafi weled yn dda pa fodd y gall hyn fod felly, os neb o'n ein plant ni y rhai ydynt ran o honom a drenga yn dragywydd.

Ac a ydyw hyn yn canlyn, oblegid fod Duw yn y gyfammod o neilltuoldeb yr hon a wnaeth efe â holl dy *Israel*, yn cynnwys y rhieni a'r plant; am hynny fod yn rhaid iddynt hwy gael eu cynnwys eu gyd yn y gyfammod o râs hefyd, a'u gwneuthur yn aelodau o'r eglwys efangylaidd? y mae efe yn enwi *Deut*. 4. 37, 40. *Ac oblegid iddo efe garu ein tadau, am hynny efe a ddewisodd eu hâd hefyd ar eu hol.* Beth am hyn! ni all Mr. *Owen* brofi byth i Dduw ddewis vn wlâd neilltuol, sef, y rhieni a'r plant er yr amser hwnnw, i fod in bobl neilltuol trwy gyfathrach cyfammod, mal y dewisodd efe hâd naturiol *Abraham*; eglwys cyscodawl ydoedd hi a dull o'r hâd gwîr ysprydol neu wîr *Israel* Duw; am hynny fe ddarfu am y stâd eglwysig hynny ar farwolaeth Christ, pan y caedd y fur o wahaniaeth ei thorri i lawr: ac y mae helaethdrwydd yr addewid yn awr a braintiau'r eglwys efangylaidd yn rhedeg yn vnig i'r crediniol ac iw plant y rhai a elwir, neu y sydd yn credu pa vn ai Iddewon ai cenhedloedd *Act*. 2. 29. ond i neb ymmhellach.

'Deallwch medd Mr. *Owen*, helaethdrwydd cyfammod
'Duw â'i bobl, y mae ei gyfammod ef a nhwy a'u hâd; dym-
'ma'r gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw ag *Adda*,
'*Gen*. 3. 15. ac 4. 27. a'r gyfammod yr hon a wnaeth efe
'a *Noah*, *Gen*. 9. 9. ag *Abraham*, *Gen*. 17. 7. ag *Isaac*, *Gen*.
'28. 4. ac a *Jacob*, *Gen*. 35. 12. ond yn yr vn modd yr oedd
'ei gyfammod ef â Dafydd a'u had, 2 *Sam*. 7. 12. ac
'22. 51. Efe a ymlawenhaodd yn y gyfammod dragywyddol
'hon ar ei wely angeu, 2 *Sam*. 23. 5.

Y mae ymma bentwrr o eiriau gwedi cael eu gosod ynghyd mewn modd anhrefnus heb wneuthur dim gwahaniaeth rhwng y naill gyfammod ar llall ac heb wahaniaeth rhwng hâd a hâd.

2. Od oedd y gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw ag *Adda* yn cyrrhaeddyd hefyd hyd at ei holl hâd ef, pa mor ddedwydd yw'r byd ? y mae pawb oll yn hâd naturiol i *Adda*, nid oes dim ammeu nad y gyfammod o râs ydoedd honno, a'r mynegiad cyntaf o honi, ac y mae hon yn rhedeg yn vnig i Grist, hâd y wraig ac i'r etholedigion oll ynddo ef, nid i had y sarph y rhai er hynny i gyd oeddynt hâd naturiol *Adda* megys y dangosais i o'r blaen.

3. Yr oedd grâs ynghyfammod Duw â *Noah*, ac yr oedd efe ei hun oddifewn y gyfammod o râs ; eithr y gyfammod honno yn *Gen.* 9. 9. a wnaethpwyd hefyd â'r holl fyd, ac â bwystfilod y maes a ehediaid y nefoedd, *ie â pob creadur byw* ! etto nyni a ganiattawn, gymmaint a hyn, sef, fod yr holl gyfammodau a wnaeth Duw â Dyn yn ôl y cwymp yn tarddu yn nechreuol oddiwrth ei gariad neilltuol ef i'w etholedigion a'r gyfammod newydd o ras yr hon a appwyntiodd efe iddynt hwy ; ac felly yr oeddynt hwy yn bennaf er ei mwyn hwy ; eithr nid yw pob cyfammod gwahanus am ba vn yr ydym yn darllen o ran defnydd a ffurf yn gyfammod o râs.

Mysi a brofiais yn yr atteb hwn i Mr. *Owen*, fod y cyfammodau a wnaethpwyd ag *Abraham* a'u had o ddau fath, megis ac yr oedd efe yn ddau fath o dad, yn Ben ac yn sefyll mewn lle eraill, ac yr oedd gantho ef ddau ryw o had, (1.) Y mae'r Apostol yn profi na wnaethpwyd mo'r gyfammod neu'r rhad addewid o ras yr hwn a wnaeth Duw ag ef, *i hadau megis o'u lawer, eithr i'th hâd ti yr hwn yw Christ*, Gal. 3. 16. *Ac os eiddo Christ ydych, yna hâd Abraham ydych*, ac etifeddion yn ôl yr addewid adn. 20. (2.) Nid ydym ni yn gwadu nad yw'r gyfammod o *neilltuoldeb* yr hon a wnaeth Duw ag *Abraham* a'u hâd yn perthyn i'w hâd naturiol neu hâd cnawdol ef, megis y cyfryw at bwy yr oedd enwaediad yn perthyn ; eithr ni wna hyn ddim daioni i'r rhai ac sydd yn dala bedydd babanaidd ; y mae'r gyfammod a wnaeth Duw a *Dafydd* yn redeg yn bennaf at Grist ac yntho ef at yr etholedigion oll ; hon yn ddiau yw'r gyfammod tragywyddol.

' Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd, fod y prophwyd efan-
' gylaidd yn rhag-ddywedyd y byddei'r gyfammod o ras a'r
' vn helaethdrwydd tan yr efengyl, ac yr oedd hi o'r de-

chreuad

'chreuad *Esau 66. 22. Canys fel y Saif ger fy mron y nefoedd*
' *newydd felly y saif ych had chwi*; y mae cyfammod Duw â
' hâd y ffyddloniaid mor ddiogel a'r nefoedd newydd a'r
' ddaiar newydd.

*Atteb* 1. Fe wyr pawb fod y man hyn yn perthyn yn vnig i'r hâd etholedig ac nid i hâd y ffyddloniaid megis y cyfryw.

2. Nid ydym ni yn gwadu nad yw'r gyfammod o râs o'r vn helaethdra yn nyddiau'r efengyl ac yr oedd hi o'r dechreuad: eithr nid oedd neb o'r dechreuad yn ddifrif ac mewn gwirionedd oddifewn y gyfammod o râs ond etholedigion Duw yn vnig.

Eithr yr hyn a ddywedodd Mr. *Owen* tua diwedd ei ail Epistol, a ddichon agoryd llygaid ei ddarllennydd, er bod ei lygaid ef ei hun ynghaead; cymerwch ei eiriau ef.

' Gwnewch wahaniaeth rhwng goruchwiliaeth y gyfam-
' mod o'r tu allan a'i goruchwiliaeth hi o'r tu fewn *Rhuf*. 9.
' 4,8. yr oedd hâd *Abraham* ei gyd yn y goruchwiliaeth oddi-
' allan; ac yr oedd fel y gyfammod yn perthyn iddynt hwy;
' eithr nid oedd neb oddifewn y goruchwiliaeth o'r tu fewn
' ond yr etholedigion yn vnig.

*Atteb*. Onid yw'r holl fyd yn enwedig, ymmha le bynnag ac y mae'r efengyl yn cael ei phregethu yn neu tan oruchwiliaeth yr efengyl o'r tu allan, neu'r gyfammod o râs; yn ddiau ni all neb wadu mo hyn. Eithr a ydyw bedydd gan hynny yn perthyn iddynt hwy eu gyd? yr ydym ni yn addef fod hâd naturiol *Abraham* eu gyd tan oruchwiliaeth y gyfraith or tu allan neu'r gyfammod o neilltuoldeb yr hon a wnaeth Duw ag ef; ac yr oeddynt hwy wrth hynny yn mwynhau braintiau mawr oddiallan, y rhai mewn rhyw beth a oeddynt annhebig ddigon i fraintiau y cyfryw ac sydd tan oruchwiliaeth yr efengyl; eithr byddent y peth y fynnont, y mae goruchwiliaeth yr efengyl grâs or tu allan yn perthyn cymmaint i'r anghrediniol a'u plant, ac i blant y crediniol; canys beth yw hyn ychwaneg na'r braint o ddarllen a gwrando pregethiad yr efengyl, neu ddilyn y gair mewn cynnulleidfaoedd Christnogaidd.

2. Yr wyfi yn gofyn i Mr. *Owen* pa fodd y gall efe profi fod sêl y gyfammod o râs yn perthyn iddynt hwy y rhai ydynt yn vnig tan oruchwiliaeth yr efengyl or tu allan? fe all pawb ac a ystyria ryfeddu wrth hyn. Y maent hwy i ba rai y mae sêl y gyfammod o râs yn perthyn yn cael eu siccrhau gan bawb o'u bod yn gyfrannogion o'r rhydd-did

neilltuol, bendithion, a'i braintiau hi, sef, maddeuant pechodau cyfiawnhâad mabwfiad, a bywyd tragwyddol.

3. Er nad wyf yn addef dim sêl neu fod ddim oll yn sêl o'r gyfammod o râs, heblaw yr yspryd glân; etto pe buasei bedydd yn sêl o honi, fel y mae Mr. *Owen* yn tebyg, fe fuasei'n rhaid iddo yn ddiammeu (pe fuasei'r peth felly) selio i'r dyn a gaedd ei fedyddio yr holl fendithion ysprydol hynny neu'r grasusau oddifewn y rhai a arwyddocceir wrthi; ac onide fe fyddei'r sêl yn beth dyffrwyth, ac fe fyddei'r hwn a gaedd ei Selio yn cael ei dwyllo a'i hudo; efe a all dybied fod rhyw beth mawr gwedi cael ei Selio iddo, pan na seliwyd dim oll iddo ef wrth hynny: attolwg gofynnwch i'r gwr hwn pa beth y mae'r bedydd hwnnw yn Selio i fabanod?

4. Eithr os fel hyn y mae'r peth mewn gwirionedd, nad oes neb yn y parth oddifewn o'r gyfammod o râs neu tan oruchwiliaeth yr efengyl o'r tu fewn, ond y rhai etholedig; yna yr wyf yn casclu nad yw plant y ffyddloniaid, megis y cyfryw, oddifewn y gyfammod o râs, hynny yw, nad yw bendithion ysprydol neu fraider y gyfammod honno yn perthyn iddynt hwy, megis y cyfryw, eithr i'r cyfryw o honynt ac a gawsant eu hethol, neu sydd yn credu, neu gwedi cael eu dwyn tan alwedigaeth neilltuol yr yspryd glan: a chan fod y pethau hyn felly, i ba ddiben y mae'r gwr hwn ac eraill ac sydd yn dala bedydd babanaidd yn gwneuthur cymmaint o swn ynghylch bod plant y crediniol, megis y cyfryw, oddifewn y gyfammod o ras? gan gymmaint ai fod efe yn addef nad oes neb ynddi mewn gwirionedd, heblaw'r etholedigion, nid wyfi yn gallu gweled pa beth yr ych chwi ac eraill yn ymegnio trosto wrth bledio tros fedydd babanaidd, ond yn vnig enw Christnogaidd, neu ryw beth oddiallan, gan nad yw'r gras oddifewn yn perthyn i neb ond i'r etholedigion yn vnig; a pha rai ydynt hwy, ni all neb wybod hyn hyd oni ddelo pôb vn o oedran ac y caffo ei alw gan yr Arglwydd: oblegid trwy alwedigaeth effeithiol y maent hwy eu hunain neu eraill yn cael gwybod eu hetholedigaeth.

Eithr fel y byddo i ni ddibennu ar hyn, gadewch imi chwanegu gair neu ddau attoch chwi, *Fedyddwyr-plant* yr rhai ydych nerthol ac vniawn yn athrawiaeth rhad râs, a rhâd gyfiawnhâad trwy gyfiawnder Christ yn vnig.

Yn

Yn gyntaf, onid yw hyn dellwng och meddyliau difrifach chwi, sef ystyried pa fodd y mae'r athrawiaeth o *fedydd babanaidd* yn drosseddiad vniawn o'r gorchymyn sanctaidd hwnnw gan ein Harglwydd Jesu, *Mat.* 5. 33, 34. *Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, na thwng anudon, eithr tal dy lwon i'r Arglwydd, ond yr wyfi yn dywedyd wrthych chwi na thwng ddim,* &c. Y mae pôb math o lwon ac addunedau addewidawl ac ewyllyscar, a chyfammodau crefyddawl, (yn gystal a thyngu yn ofer) yn cael eu gwahardd yn vniawn trwy hynny, am hynny pechadurus ydynt: ynawr er ein bôd ni yn caniattau fôd y wîr gyfammod fedyddiawl gwedi cael ei hordeinio gan Dduw; etto gan gymmaint a'i bod hi yn rhwymo yn vnig y cyfryw ac sydd wîr ddeiliiaid o honi, Sef, y crediniol; y mae'n canlyn, fod yr adduned neu'r gyfammod hono tan ba vn yr ydych yn dyfod a'ch babanod, yn llwyr gwbl heb ddim awdurdod oddiwrth Dduw, ac am hynny o honoch eich hun ac felly gwedi cael ei gwahardd ac yn bechadurus.

*Yn ail,* Y mae hyn hefyd yn llwyr wrthwyneb i'r gorchymynnion hynny, *Na chwanega at ei air ef rhag iddo dy argyhoeddi di,* &c.

*Yn drydydd,* Ystyriwch fod cyfammod fedyddiawl babanod hefyd yn llwyr wrthwyneb i natur y gyfammod o ras, gan wneuthur y gyfammod o ras o'r vn fath naturiaeth a'r gyfammod o neilltuoldeb, yr hon a wnaeth Duw ag *Abram* a'u had naturiol ef, megis y cyfryw, ac felly yn cyttuno yn vnig a chyfeiliornadau y *Baxteriaid*, a *bwriad newydd* Mr. *Williams*, yr hyn beth sydd yn gwneuthur y gyfammod o ras yn ammodawl, yn ôl y gyfammod o weithredoedd. Cymmerwch eiriau Mr. *Baxter*; 'Ammod neu naturiaeth y 'gyfammod o ras, trwy ba vn y mae gennym hawl i'w 'bendithion hi, ydyw ein ffydd ni (nodwch hyn) neu 'gristnogrwydd mal y mae efe yn cael ei gymmeryd gan 'Grist yn y gyfammod; sef, i roddi ein hunain i fynu mewn 'cyfammod, gan gredu yn Nuw y tâd, a'r Mâb a'r yspryd 'glan, a chan ymwrthod a pôb peth ac sydd yn wrthwyneb 'i hyn; a bod y llawn ammod o'n hawl cyntaf ni i fendithion y gyfammod honno, o ba rai, y mae cyfiawnhaad 'ynvn, yn sefyll ar y cydsynniaid hwn i'r gyfammod 'gristnogawl (yr hon a elwir ffydd vn vnig.

Pedwaredd gosodiad Mr. *Baxter* yn ei ragymadrodd D. *Tully.*

 1. Oddi-

1. Oddiymma nodwch, mal y mae Mr. *Throughton* yn dal sulw, nid yw Mr. *Baxter* yn dywedyd fod cyfiawnder Christ, yr hwn a orddiwesir trwy ffydd, yn ein cyfiawnhau ni; eithr ffydd mewn ystyr helaeth, mal y mae hi yn cynnwys, vfydd-dod tuag at Dduw, yn ôl y gyfammod hon; fe ymddengus, os byddant yn credu ac yn arfer y grefydd gristnogaidd, ar gyflawni eu cyfammod fedyddiawl fabanaidd, mae oddiymma y mae'r cyfiawhaad hwnnw, trwy ba vn y maent yn cael eu cyfiawnhau; fel y mae amcaniaeth meddwl Mr. *Baxter* yn dangos.

2. Oddiymma hefyd yr ymddengus, i gyfeiliornad mawr y *Baxteriaid* yn y peth hyn, gael ei ddechreuad oddiwrth y gyfammod fedyddiawl fabanaidd; am hynny, fy mrodyr, y mae'n llawn amser i chwi ystyried y perygl a all ddyfod oddiwrth yr arfer diwarand ac adnewyddiad drwg hwn.

Y mae D. *Williams* yn cadarnhau bwriad Mr. *Baxter*; Cymmerwch ei eiriau ef; ' I pa beth y mae'r gyfammod yn ' dy rwymo di (gan ddywedyd ynghylch cyfammod fe-' dyddiawl babanod?) ei atteb ef sydd fel hyn. I ti fôd yn ' eiddo'r Arglwydd, gan gymeryd gofal difrif, i adnabod, i ' garu, credu, vfuddhau a'i wasanaethu ef holl ddyddiau dy ' mywyd ac ymddiried yn Nuw, trwy Grist am bod ha-' pusrwydd. *Rhuf. 6. 4.*

Ymh. *Beth os ni bydd i blentyn trwy dueddrwydd i bechod, neu wagedd meddwl, beidio a chyttuno â'r gyfammod hon?*

Yr wyf yn atteb. (medd efe) ' Yna y mae efe yn ym-' wadu â Christ ein jachawdwr, ac yn ymmwrthod a ben-' dithion yr efengyl.

Ymh. *A ydyw efe yn bechod mawr, os byddi di vn pallu a chyttuno â'r gyfammod, tan ba vny daeth dy fedydd a thi.*

Y mae efe yn atteb; ' Y pechod damnedig ydyw efe, a ' chalon pôb pechod. Llyfr Mr. *Williams*, yr hwn a elwir, ' gwagedd jevengtid, tu dalen 131.

*Gwrthatteb* 1. Oddiymma yr ymddengus fod Mr. *Baxter* a Mr. *Williams* yn mynegu yn eglur, fod ammod a gosodiadau y gyfammod o ras y rhai a ddylent gael eu cyflawni gan y cyfryw, ac a fynnant gael eu cyfiawnhau, yn gofyn cyflawniad o'r gyfammod fedyddiawl fabanaidd hon. Sef i garu yn ddiragrith, credu, vfyddhau, addoli a gwasanaethu yr Arglwydd; nid ffydd yn vnig trwy ba vn yr ydym ni yn derbyn Christ, ac ymddiried ynghrist, eithr y cwbl ôll o'r vfydd-dod hwnnw i ba vn yr oeddynt hwy yn rhwym trwy eu bedydd babanaidd.

2. Dalwch

2. Dalwch sulw hefyd, nad yw anghredinaeth yn ôl geiriau y gwyr hyn, y pechod damnedig, eithr peidio a chyflawni y gyfammod fedyddiawl hon.

3. Pa fodd y caedd y gwyr hyn, i gadael gan Dduw, i ddilyn tywyllwch eu meddyliau eu hwn, gan haeru nid yn vnig fod ammod yn y gyfammod o râs, a pheri iddi hi fod ddim gwell na chyfammod newydd o weithredoedd, eithr hefyd gan wneuthur y gyfammod ddychymygol hon o fedydd babanaidd, i fod yn ammod vnigol o honi ac o'n cyfiawnhâad ni yngwydd Duw ?

4. Ymmhellach, y maent hwy yn dyfod â'u babanod truenus (heb ddim awdurdod oddiwrth Grist) tan gyfammod, ac yn eu cyhuddo hwynt o fod yn euog o anudonedd, os torrant hi, pan y tyfont hwy i fynu, ( os cyflawnant hi, hwynt hwy a gânt faddeuant o'u pechodau, eu cyfiawnhau, a bod yn gadwedig ) eithr y mae'n rhaid iddynt fod yn golledig, oni byddant yn cyfatteb rheol yr addewid, neu'r gyfammod fedyddiawl, yr hyn beth fydd yn gofyn iddynt edifarhau, cael eu haileni, ac felly bod yn gyfattebol *i'w cyfraith newydd o ffydd ac vfydd-dod dirargrith.* Ac felly yn y gyfammod hon y mae'r ammod o'u cyfammod grâs hwy yn fefyll ; oblegid nid ydynt hwy yn cynnig vn gyfammod ffurfiol arall i'r bobl, oni byddant yn cynnyg yr ewyllysgyfammod honno fydd gan Mr. *Joseph Alleyn*, yr hon a dychymygodd efe o hono ei hun, ac a ofododd o flaen pôb vn crefyddol o oedran er myned tani, yr hon nid oes dim ammeu na waharddwydd gan ein jachawdwr, megis peth pechadurus ; ( gwr oedd efe a meddwl da ganddo) a gwir yw, y mae ei gyfammod ddychymygol ef yn ymddangos yn fwy rhesymmawl a chymeradwy na chyfammod fedyddiawl babanod, o herwydd na fynnei efe i neb ond y cyfryw rai ac a oeddynt o oedran fynned tan ei gyfammod ef ; heblaw hyn, y mae'n rhaid i bod hwy yn llwyr ewyllyscar ac yn cyttuno i'r peth, pan mae plant yn cael eu dwyn tan eu cyfammod hwy, heb wybod iddynt ac heb eu cydfynniad, ac y maent yn rhwym i wneuthur y pethau hynny, nid oes ganddynt bwer eu cyflawni : ac megis ac nad yw Duw yn gofyn mo hyn ar eu ddwylaw hwynt, felly ni wnaeth efe ddim mâth o addewid iddynt, o râs a chymorth tuag at gyflawni y rhwymedigaeth hynny.

*Yn Bedwaredd* ; fel y dibennom ar hyn, y mae'n hawdd i ni gasclu o bale y mae'r cyfeiliornâad hwn yn adgyfodi ynghylch y gyfammod fedyddiawl hon, yr hwn a ymddengus

yn eglur oddiwrth i bod hwy yn ei fwrw ef at ddeiliaid anghyfaddas (ac felly gan rhwymo y cyfryw i gyflawni y pethau hynny, y rhai ni ordeiniodd Christ erjoed y cae bedydd mo'i gwneuthur) sef y cyfryw ac sydd yn eu cyflwr naturiol, neu y rhai pan y caffont eu bedyddio ac nid ydynt yn credu, nag yn gallu gwneuthur felly; oblegyd y mae'ch brodyr y rhai sydd yn dala bedydd babanaidd, yn dywedyd wrthych, fod bedydd yn rhwymo y cyfryw ac sydd yn cael eu bedyddio i gredu, a myned yn greaduriaid newydd, nid am eu bod hwy y cyfryw rai y pryd hynny ag oeddynt yn credu, &c. ac oddiymma y mae'n calyn, mae vn o'r pethau neu'r gweithredoedd hynny o vfydd-dod yw efe ac sydd yn myned o flaen ffydd, ac am hynny peth marw ydyw, ac nid yw yn rhyngu bodd i Dduw (megis ac nid yw yn cael ei ofyn ganddo ef) o herwydd y mae y gweithredoedd hynny eu gyd ac sydd yn rhagflaenu ffydd, neu vndeb a Christ, yn weithredoedd meirwon, gan nad vdynt yn tarddu allan oddiwrth wyddorion buwiol ac ysprydol.

Fe ymddengus gan hynny oddiymma fod cyfammod fedyddiawl fabanaidd yn wrthwyneb hefyd yn hollawl i gyfammod fedyddiawl Christ; oblegid y mae hyn yn eglur, fod bedydd Christ yn vnig yn perthyn i'r crediniol y rhai a gawsant eu hadnewyddu, hail-eni, a'u huno a Christ, ac felly mewn cyflwr o gyfiawnhâad, cyn iddynt gael eu hadgenhedlu, nid yw ein bedydd yn ein rhwymo ni i gredu a'n hadnewyddu neu i farw i bechod, megis y cyfryw ac nid oeddynt farw o'r blaen; eithr arwydd yw efe o'r ffydd honno a marwolaeth i bechod, yr hyn oedd gennym ni pan y cawsom ein bedyddio, neu er dangos ein bod ni y pryd hynny gwedi marw i bechod, *A ninau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn fyw etto ynddo ef? oni wyddoch chwy am gynifer o honnom ac a fedyddiwyd i Grist Jesu, ein bedyddio ni i farwolaeth ef?* neu megis pe buasem feirw gydag ef. *Claddwyd ni gan hynny gyd ag ef trwy fedydd i farwolaeth, Rhuf.* 6. 2, 3, 4. Ni chladdwyd mo honom yn fyw, neu tra yr oeddym yn farw mewn pechod; nage, eithr megis wedi meirw i bechod: nid er ein rhwymo ni i gael ein hadgenhedlu, eithr megis dynnion y rhai a gawsant eu hadgenhedlu o'r blaen, wedi claddu mewn bedydd; a chyfammod bedydd sydd fel hyn, am i ni rodio mewn newydd-deb buchedd, gan gymmaint ac i ni gael ein bywhau o'r blaen; *Fel megis ac y cyfodwyd Christ o feirw trwy ogoniant y tâd, felly y rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd.*

Yr

Yr wyf yn gweled fod Mr. *Richard Baxter* hefyd yn dywedyd, fod bedydd yn arwydd o ailenedigaeth presennol, ac nid o'r hwn sydd i ddyfod, yn awr pa faint o anghyssondeb sydd rhwng y gyfammod fedyddiawl fabanaidd hon, â'r gyfammod o râs, ac hefyd â naturiaeth y gyfammod fedyddiawl honno, tan ba vn y mae y crediniol a phôb vn ac a gaedd ei wîr gyfiawnhau yn myned yn ôl ordeiniad Crist? ni all ddim peth fod yn egluraeh na hyn, sef, fod cyfammod fedyddiawl babanod o'r vn fâth natur â'r gyfammod o enwaediad; sef, yn gyfammod gyfreithlawn ammodawl, *Gwna hyn, a byw fyddi.* Cyflawna di y rhwymedigaeth, ac tydi a gei dy gyfiawnhau; eithr os nis gweni felly, â thydi a fyddi golledig a chei dy dorri ymmaith yn dragywydd; ac fel hyn y mae bedydd babanaidd yn sefydlu y gyfammod ammodawl tan y ddeddf; bydded i'r cyfryw ac sydd yn dal yr athrawiaeth hwnnw o râd râs ystyried hyn, ac edrych hefyd pa vn ai nad yw efe yn gwneuthur gwahaniaeth yn naturiaeth y gyfammod o râs, o ran y crediniol eu hunain ac o ran eu plant; oblegid y mae y crediniol eu hun yn derbyn Crist megis pechaduriaid, trwy ffydd yn vnig, heb ddim cymmhwysdra o'r blaen, neu gyfammod addewidiol, tan ba vn y darfu i Grist eu rhwymo hwynt i fyned: eithr yr ydys yn gosod babanod ar ffordd o fod ganddynt gymmhwysdra ammodawl o'r blaen, yr hyn sydd rhaid i gael ganddynt hwy, cyn y caffont eu cyfiawnhau; yn wîr pe buasei i Grist ordeinio bedydd tuag at ein rhwymo ni i gredu, edifarhau, marw i bechodd, cael ein hadgenhedlu, mal y mae y rhai sydd yn dal bedydd plant yn dywedyd fod eu bedydd hwy yn gwneuthur, fe fuasei hynny yn rhyw beth i'r perwyl; eithr y mae'r matter yn ymddangos yn eglur ddigon yn y gwrthwyneb; Pe byddei y pethau hyn yn cael eu dyfal ystyried, y mae'n siccr gennyf y byddei i fedydd babanaidd gwympo i'r llawr, oblegid y mae naturiaeth eu cyfammod fedyddiawl lledrithiog hwy, yn llwyr wrthwyneb i'r wîr gyfammod fedyddiawl, yr hon a gaedd ei hordeinio gan Grist, ac am hynny niweidiol ydyw. Heblaw hyn, pa fodd y mae y babanod hynny ac a gawsant eu bedyddio oddifewn y gyfammod o râs (mal y mae Mr. *Owen* ac eraill yn dywedyd) ac etto bedydd (o ran amcan a'i ddiben pennaf ef yn ôl eu drychiolaethau a'u meddyliau cymylog hwynt) sydd yn eu rhwymo hwynt i gredu, *&c.* fel y gallont fod yn welthredol oddifewn y gyfammod o râs: Bydded i'r Arglwydd grasslawn gyfrannu i chwi ddealltwriaeth ymmhôb peth,

 a bendi-

a bendithio yr hyn a frisennais er ych bydd chwi, a molwch yr Arglwydd am y parodrwydd hynny ac oedd yn eich brodyr a'ch cyd-wladwyr i fod ar y fath gôst mawr tuag at wneuthur yr atteb hwn i Mr. *Owen* yn gyffredin: Y mae efe yn nechreu ei lyfr, yn dywedyd *fod bedydd babanaidd o'r nêf*. Ond rhyfedd jawn yw hyn ac efe etto heb gael ei ordeinio mewn un man, na dim awdurdod am dano, neu gwedi cael ei gydnabod erjoed o'r nefoedd; yn ddiau chwychwi y gewch weled mae o ddynnion y mae efe, ac iddo darddu allan oddiwrth wrthgwymp Anghristnogaidd; chwiliwch y scrythurau, byddwch debyg i'r *Bereaid* boneddigion, *Act*. 16. 11. *Y rhai a dderbyniasant y gair gyda phôb parodrwydd meddwl, gan chwilio beunydd y scrythurau, a oedd y pethau hyn felly*. Fy mrodyr, ni bydd i mi chwanegu dim mwyach, eithr y'ch gorchymyn chwi yr wyf i Dduw, ac yn deisyf arnoch ddarllen y llyfr hwn trosto a throsto heb ragfarn; ac os bydd i chwi dderbyn dim goleuni oddiwrtho ef, rhoddwch y gogoniant i Dduw, nid wyfi ddim, etto yr wyf yn foddlon i'ch gwasanaethu chwi ymmhellach a Jesu Grist, ac felly yr wyf yn cymmeryd fynghennad oddiwrth ych ac wyf yn wasanaethwr i chwi er mewn Crist,

Benj. Keach.

---

I'r

I'r Bedyddwyr eu gyd yn enwedigol iddynt hwy ac ſydd yn trigo yn Neheubarth a Gwynedd, y mae awdwr y traethawd hwn yn dymuno grâs, trugaredd a thangneddyf oddiwrth Dduw y tâd, a'n Harglwydd Jeſu Griſt.

*Fyngharedigion yn ein hanwyl jachawdwr,*

M*Yſi a roeſym yn ôl eich deiſyfiad chwi (ac fel y darfu i'r Arglwydd fynghynnorthwyo i) atteb i lyfr Mr.* James Owen, *ymmha vn y darfu iddo ef ych enllibio chwi a phawb eraill ac ſydd yn wrthwyneb i fedydd babanaidd, a'ch ceryddu ar gam, eithr myſi a arbedais oganu drachefn, er y gall fod rhai o'm geiriau yſgatfydd yn rhy lym, eithr yr oedd ei arfer ef yn ei lyfr yn gofyn hyn ar fy llaw i: yr wyf yn gobeithio fod cyfieuthiad y llyfr hwn yn gyntaf o'r* jaeth Gymraeg *i'r* Saeſnaeg, *a chwedin cyfieuthiad fy atteb i o'r* Saeſnaeg *i'r* Gymraeg *gwedi eu gwneuthur yn ffyddlon; os yn ôl gwîr yſtyr, a thueddrwydd ei eiriau a'i feddwl ef, y gwnaethpwyd hwynt, ni bydd achos ganddo ef i ymryſſon am fod y geiriau heb gael eu trefnu yn yr vn modd; Eithr ni allaſi roddi barn yn y peth hyn, oblegid nid wyf yn deall* Cymraeg.

*Y mae*

*Y mae efe yn cymeryd arno synnied yn galed jawn ar rai o'ch ymarweddiadau chwi, megis pe byddei eisieu arnoch wîr dduwioldeb, mal y gweddei'ch proffes sanctaidd, ac hefyd megis ac pe byddei eisieu cariad arnoch, eithr yr wyf yn gobeithio mae ei yspryd anghariadus ef ei hun ai harweiniodd ef i srifennu mal hyn, a'ch bod chwi y fath bobl y rhai nid ydych yn gorphwys mewn ffurf duwioldeb, heb y gallu, a'ch bod chwi hefyd yn caru pawb ac yr ydych yn gweled delw Christ arnynt; gwîr yw, efe o bobl y byd, a ddylasci beidio â'r fâth achwyn, gan ystyried môr syrr y mae efe o'i ddyledswydd ar yr achos hyn, gan iddo ymegnio i'ch tafiu chwi a phawb ac sydd yn wrthwyneb i fedydd babanaidd allan o'r eglwys gyffredin, a'n chybuddo ni y rhai sydd yn trochi gwyr a gwragedd crediniol yn* Enw, *&c. o fod yn euog o odineb a llofruddiaeth; och na byddei i'r Arglwydd agoryd ei lygaid ef a rhoddi iddo wîr edifeirwch.*

*Fy mrodyr, fe ddarfu i'r llyfr hwn fyned yn fwy o lawer, nag yr oeddwn yn gobeithio y buasei efe, ac y mae hyn yn ddrwg gennyfi fy hun, eithr attolwg bydded i chwi faddeu i mi hyn.*

*Oblegid ni phrintiwyd mor ymryson hyn erjoed o'r blaen yn* Gymraeg *mal y ceisym glywed (yn yr un modd ac y mae efe yn y man hyn) am hynny yr oedd chwant arnaf, i'r duwolion ynghymry neu neb rhai eraill o'r* hen Gymry *ac a geisient ychwaneg o addysg, gael gweled y rhesymmau pennaf ac a arferwyd ganddynt hwy ac sydd yn dala bedydd babanaidd trosto ef, yn cael eu llawn atteb; ac oblegid hynny y mae swmm llyfr diweddar Mr.* Burkitt *gwedi cael ei atteb yn y man hyn hefyd a llawer o lyfrau eraill; nage, nid oes odid rhesswm yr hwn a arferwyd tros fedydd babanaidd gynt neu'n ddiweddar, yr hwn ni chaedd mo'i atteb ymma; ac hefyd, fe fu yn rhaid i mi, wrth ganlyn Mr.* Owen *yn*

*ei*

*ei ddau caniadau ailadrodd llawer o bethau yn fynych, y rhai hefyd a wnaethant y llyfr yn fwy; eithr oblegid o ran bod y rhan fwyaf o honynt yn bwngciau pennaf o'r ymrysson, myfi a wneuthym hyn o'm llwyr fryd, fal y byddei i'r darllenydd ddal gwell sulw arnynt. Ymmhellach, fe ddarfu ini ddangos, fod y rhan fwyaf o resymmau Mr.* Owen *tros fedyddio plant, yn tueddu bob ffordd cyn nerthol tuag at brofi y dylent hwy fod yn gyfrannogion hefyd o swpper yr Arglwydd; yr hyn beth yr wyf yn deisyf arnoch ddyfal bwyso ac ystyried, myfi a ailadroddais y pethau hyn lawer gwaith yn ystyriol.*

*Ac yn awr mal y byddo i mi ddibennu ar hyn, gadewch i mi ddeisyf arnoch ymegnio am harddu'r efengyl sanctaidd yr hon yr ydych chwi yn ei broffessu, trwy ymarweddiad gweddaidd a chyfattebawl iddi; ni thâl ordinhâad oddiallan ddim, heb wir ffydd a bywyd sanctaidd; y mae gennych chwi* Lampau, *eithr gwiliwch am fod gennych olew yn ych costrelau; nid am y mod i wrth hyn yn ych argyhoeddi chwi am ych eiddigedd cryf tros y gwirionedd gwerthfawr hwn oddiwrth ein harglwydd Jesu er ei fod efe yn ddirmygedig yn olygon llawer, gan ystyried pa fâth o ordeiniad ogoneddus ac ardderchog, neu ordinhaad fendigedig ydyw hi, fel yr ymddengus,*

1. *Oddiwrth ddarostwngiad ein jachawdwr bendigedig ei hun iddi hi, yr hyn beth sydd yn rhoddi discleirdeb a rhagoriaeth mawr iddi.*

2. *O herwydd i bod hi yn cael ei galw yn gyflawniad o'r cyfiawnder hwnnw ac a ofynnir gan yr efengyl sanctaidd; a'r cyfryw ac sydd yn ddiffyg o ran hyn, y maent hwy yn ammherffaith o ran cyflawni holl ewyllys Duw.*

3. *Efe a gaedd ei addef mewn modd tragogoneddus ymmedydd ein jachawdwr, Gan y tâd trwy leferydd o'r nefoedd; gan y mâb trwy ei ddarostwngiad gweithredol*

*thredol ef i'r ordinhâad er siampl i ni, pan y credom; gan yr yspryd glân, trwy ddescyn mal colommen, mewn ffordd weledig a dyfod ar ein harglwydd Jesu: Ar yr amser hwn y caedd efe ei selio mor arderchog,* Mat. 3. 16, 17.

4. *Gan fod y crediniol oll ac sydd yn cael eu bedyddio, wrth hyn yn arwyddoccau eu ffydd ddiogel hwynt yn y drindod fendigedig, ac yn adduno eu hun i wasanaethu ac addoli y tri pherson yn y Duwdod,* Mat. 28. 19, 20.

5. *O herwydd ei fod efe môr eglur yn dal allan ac yn ein siccrhau ni i gredu yn ddiogel ym marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Jesu Grist, a'n adgyfodiad ni ein hun ar y dydd diweddaf,* Rhuf. 6. 3, 4.

6. *Wrth ystyried hefyd yr addewidion mawr â gwerthfawr y rhai a wnaethpwyd i'r fath rai crediniol ac sydd yn credu, megis* Marc. 16. 16. Act. 2. 37, 38.

7. *Gan ystyried pa fâth o ordinhâad hyspysol ydyw hi, o ran y marwhâad hwnnw i bechod a bywhâad i newydd-deb buchedd, yn ei gwîr a phriodol ddeiliaid hi, ynghyd a pha fâth rwymedigaeth y mae hi yn dyfod â hwynt tani,* Rhuf. 6. 3, 4. Col. 2. 12, 13.

8. *Am fod yr ordinhâad hon yn enwedigol yn cael ei galw yn gynghor Duw ac o ran y cyfryw rai ac ni fynent gael eu bedyddio, yr ydys yn eu atgofio hwynt yn y scrythur megis rhai atgas am ddiystyru Cynghor Duw,* Luc. 7. 30.

9. *Fe ymddengus, i fod efe yn ordinhâad fawr, am i fod yn ordinhâad o gychwyniad i'r eglwys weledig,* Act. 3. 41, 42.

10. *Am iddynt hwy er hynny ei gyd y rhai a gawsant eu bedyddio â'r yspryd glân, dderbyn gorchymyn am gael eu bedyddio â dwfr,* Act. 10. 48.

*Ni*

*Ni ddichon donniau mwyfa prisiedig yr yspryd ryddhau neb oddiwrth ddarostwng eu hunain i'r ordinhâad hon; ac ymmhellach, yr ydym ni ymma hefyd yn cael cyfrannogiad a Christ yn ei farwolaeth a'i adgyfodiad ef; am hynny na adewch i neb ych anrheithio chwi o fedydd Crist ei hun; na fydded i chwi gael eich twyllo ag ychydig o sothach drewllyd, yn lle aur coeth Crist Jesu, na gweled gwîn ych Harglwydd yn cael ei gymyscu â dwfr brwnt cronnedig; etto cymmerwch ofal am ymddangos gyda phôb cariad cristnogaidd a gostungeiddrwydd tuag bôb Cristion duwiol ac sydd yn anghyttuno a chwi yn y pwngc hwn, ac ymegniwch rodio yn ôl y rhwymedigaeth sydd arnoch trwy eich bedydd sanctaidd; ac yna y bydd i Dduw gael gogoniant a chwithau heddwch, i ofal sanctaidd, nawdd ac ymgeledd pa vn yr wyf yn eich gorchymyn, ac yn ymaros ych brawd annheilwng mewn rhwymau sanctaidd yr Efengyl,*

Benj. Keach.

---

Côf-

---

# *Côf-Lyfr yn cynnwys enwau a thyst amryw o awdwyr ymmhôb pennod yn y traethawd hwn, a than amryw o bennau neillduol.*

*Yn Gyntaf,* FOd bedyddio yn arwyddoccau i foddi o ran arwyddoccâad llethrennol, vniawn, a phriodol y gair Groeg, ac fel hyn y mae'r awdwyr ac fydd yn canlyn yn haeru ei fod, mal y gwelir yn y *pen.* 1, 2, 3, ar 4.

*Casfubon,* mal y mae Dr. *Du Veil* yn dyfod â'i dyst ef ar *Act. pen.* 1. *adn.* 5. *tudalen* 10, 11. a grybwyllir am dano yn y traethiad hwn yn *pen.* 1. *tud.* 4.

*Oecumenius* ar *Actau* 2. *adn.* 2. mal y mae Dr. *Du Veil* hefyd yn nodi ar *Act. tud.* 11. a grybwyllir am dano yn y llyfr hwn, *pen.* 1. *tud.* 4.

*Scapula* a *Stephens:* Gwelwch eu *Lexicon* hwy mal y nodais i yn y traethawd hwn, *pen.* 3. *tud.* 13.

*Grotius,* *Pasor,* *Vossius,* } tyst pa rai y mae Mr. *H. D.* yn arfer yn yr ail-gyhoeddiad o'i draethawd ef, *tudalen* 182.

*Minceus* yn ei eir-lyfr ef.

Dr. *Du Veil* yn ei esponiad llethrennol ef o'r *Act.* 1. 5. a'i esponiad ef ar *Mat.* 3. 5. *Leigh* yn ei lyfr *Critica Sacra,* tyst pa rai oll yr ydym yn ddwyn yn y traethawd hwn, *pen.* 3. *tud.* 14.

*Bullinger,* *Zanchy,* *Spanhemius,* *Erasmus,* } Gwelwch Mr. *Leigh* yn ei *Critica Sacra:* a Dr. *Du Veil* ar yr *Actau*; tyst pa rai fydd gennym yn y llyfr hwn yn yr vn man o'r blaen.

*Cajetan* ar *Mat.* 3. 5. a grybwyllir am dano yn y llyfr hwn yn *pen.* 4. *tud.* 22.

*Salmasius*

*Salmasius* yn ei lyfr *De Prima*, *tud.* 193. gwelwch ei nodiadau ef ar *Sulpitius Severus*, ſydd yn dwyn tyſt yn y llyfr hwn, *pen.* 3. *tud.* 14.

*Beza* ar *Mat.* 3. 11. *tud.* 14. o'r vn llyfr.

*Selden, De Jure Nat.* &c. l. 2. tud. 2. ſydd yn dwyn tyſt troſſom, *tud.* 15. o'r llyfr.

*Ainsworth* ar *Levit.* 11. 32. ſydd yn cael crybwyll am dano yn y traethawd hwn, *tud.* 15. Yr hyn yr ydym ni yn nodi, *tud.* 13. 14. ynghylch *Luther* a *Joan Bugenhanius* a gymerwyd allan o Dr. *Du Veil*, *tud.* 76.

*Dan. Rogers* yn ei Draethawd ynghylch y Sacramentau, *rhan.* 1. *pen.* 8. *tud.* 177. a enwir yn y traethawd hwn, *tud.* 15.

Y Gymanfa o *Celicbyth* yn y flwyddyn 816. mal y mae Dr. *Du Veil* yn nodi ar yr *Actau*, *pen.* 2. *tud.* 75, 76, 77. ſydd o'n hochor ni fel y gwelir yn y llyfr hwn, *pen.* 3. *tudalen* 15.

*Dan. Rogers* yn ei Draethawd ynghylch y Sacramentau, *rhan.* 1. *pen.* 5. ſydd yn dwyn tyſt ymma, *pen.* 4. *tud.* 21.

Dr. *Jer. Taylor* Ductor Dubitantium, l. 3. p. 4. *Rhif.* 9. Rheol y Gydwybod, l. 3. p. 4. a nodir yn y llyfr hwn, *tud.* 15.

*Zepper* ſydd yn cael ei nodi gan yr vn Doctor.

*Sylvester Sauropolus* tyſt pwy ſydd gan Dr. *Veil* ar *Actau* 2. a chennym ni yn y traethawd hwn, *tud.* 15.

St. *Ambrose, lib. de Initiandis*, mal y mae ei dyſt ef yn cael ei gymmeryd gan Sr. *Norton Knatchbull* yn ei Nodiadau ef y rhai a brintiwyd yn *Rydychen* 1677. a chan Dr. *Du Veil* hefyd ar *Actau* 2. *tud.* 78.

*Musculus* ar *Mat.* 3. 5. tyſt pa vn ſydd gennym ni ymma, *tud.* 23.

*Luther*, Tom. Lladin, *tud.* 71. y mae ei dyſt ef gennym yn y llyfr hwn. *tud.* 17.

*John Bugenhamius Pomeranus*, mal y Dr. *Du Veil* yn dwyn ei dyſt ef allan o lyfr yr hwn a brintiwyd yn y jaith *Dawtch*, yn y flwyddin 1542. ſydd gennym ni ymma, *tud.* 16.

Mr. *Joseph Mede*, Diatriba ar *Titus* 3. 2. y mae ei dyſt ef gennym ni yn y traethawd hwn, *pen.* 3. *tud.* 17.

*Causabon* ar *Mat.* 3. 11. a nodir ymma, *tud.* 22.

*Chimier Pan. Cathol.* Tom. 4. l. 5. tud. 2. preg. 6. y mae ei dyſt ef gennym yn y llyfr hwn, *tud.* 18.

*Diodate* ar *Mat.* 3.

Dr. *Ham-*

Dr. *Hammond* yn ei nodiadau ar *Mat.* 13. 10. tyſt pa vn ſydd gennym yn y llyfr hwn, *tud.* 18.

Mr. *Pool* yn ei nodiadau ar *Mat.* 3. 6. *Mat.* 28. 2. *Joan.* 3. 23. tyſt pa vn ſydd gennym yn y llyfr hwn, *tud.* 18.

Mr. *Ball* yn ei Catechiſm, tyſt pa vn ſydd gennym ymma *tud.* 19.

Y Dwtch Teſtament, *Mat.* 3. *16.* ſydd yn dwyn tyſt ymma, *tud.* 18.

*Yn Ail*, Y mae'r Awdwyr yn canlyn, ac ſydd yn haeru fod ſoddiad neu gladdedigaeth o'r holl gorph tan y Dwfr, yn dal allan farwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Chriſt, a'n marwolaeth ni i bechod a'n bywhâad i newydd-deb buchedd.

Y Gymanfa yn eu nodiadau ar *Rhuf.* *6.* 3, 4.

Nodiadau *Pool* ar *Rhuf.* *6.* 3. 4. ſydd yn dwyn tyſt ymma, *pen.* 5. *tud.* 36.

*Tilenus* yn ei Ddadlwriaeth, *tud.* 886, 889, 890. tyſt pa fannau ſydd gennym yn y llyfr hwn, *pen.* 5. *tud.* 34.

*Piſcator* y mae ei dyſt ef gennym ni yn y traethawd hwn *tud.* 19.

*Cajetan* ar *Rhuf.* *6.* 3, 4. y mae ei dyſt ef gennym ymma, *pen.* 5. *tud.* 33, 34.

*Keckerman* Syſt. Theol. l. 3. tud. 8. ſydd gennym ymma, *tud.* 36.

St. *Ambroſe*,
*Baſil* Fawr,
*Baſil Seleucia*,
*Chryſoſtom*,
*Lactant.*
*Bernard*,
*Juſtyn Martyr*,

} tyſt pwy oll ſydd gan Sir *Norton Knatchball*, gwelwch ei lyfr ef mal yr ydym ni yn dwyn ei dyſt ef yn y traethawd hwn *tud.* 40, 41, 42.

*Ignatius* Epiſt. ad Tral. id. Epiſt ad *Philadelph.*

Dr. *Cave* Prif Griſtnogrwydd, *tud.* 300. tyſt pwy ſydd gennym, *tud.* 37.

*Dallie* ar y Tadau, l. 2. tud. 148. ſydd gennym ymma, *tud.* 37.

*Paræus* ar *Urſin*, tud. 375. tyſt pa vn ſydd gennym ymma, *tud.* 37.

Mr. *Perkins* ar *Galat.* vol. 2. pen. 3. tud. 257. vol. 1. pen. 33. tud. 74.

Dr. *Sharp*

Dr. *Sharp* Archescob presennol *Caerebranc*, gwelwch ei Breg. ef ar *Phil.* 3. 10. *tud.* 9.

Dr. *Fowler* Escob presennol *Caerlojw* yn ei lyfr yr hwn a elwir *Diben Christnogrwydd*, *tud.* 90.

Dr. *Sherlock* Diacon St. *Paul. Cariad heb Log. tud.* 1. yr ydym yn dwyn ei dyst ef ymma, *tud.* 44.

Dr. *Tillotson* Archescob yn ddiweddar o *Canterbury* yn ei lyfr yr hwn a elwir; *Pregethiau ar amryw achosion.* Y Pummed Cyhoeddiad *tud.* 188, 189. yr ydym yn dwyn ei dyst ef ymma, *tud.* 44.

Awdwr o *Frainc dienw*, tyst pa vn sydd gan Dr. *Du Veil* ar *Actau*, *tud.* 292, 293.

*Calvin*, l. 4. p. 16. tyst pa vn sydd gennym yn y traethawd hwn, *pen.* 5. *tud.* 47.

*Zanchy* ar *Colos.* 2. 12. yn yr vn man o'r llyfr hwn.

*Yn Drydydd*, Mal hyn y canlyn yr awdwyr ac sydd yn haeru mae soddiad yw bedydd, yn ôl bwriad y bedyddiadau cyscodawl hynny yr ydys yn crybwyll am danynt yn y scrythur.

Sir *Norton Knatchball*, gwelwch y tystion o'r blaen ar yr achos, yn y llyfr hwn, *tud.* 49. 50.

Nodiadau *Pool* ar 1 *Cor.* 10. 1, 2, 3.

*Thomas Aquinas*, mal y mae'r Dr. *Du Veil* yn dwyn ei dyst ef; ac mal yr ydym ni ymma, *tud.* 40.

*Yn Bedwaredd*, Bedydd sydd soddiad o'r holl gorph mewn Dwfr yn ôl bwriad y bedyddiadau trawsymsymudawl hynny am ba rai y mae'r scrythur yn crybwyll; enwau'r awdwyr ac sydd yn haeru hyn, a thyst pa rai sydd gennym ni yn y traethawd hwn.

*Causabon*, mal y mae'r Dr. *Du Veil* yn dyfod â'i dyst ef âr *Actau* 1. 5. tud. 20. ac mal yr ydym ninnau yn y traethawd hwn *tud.* 50.

*Oecumenius* ar *Act.* 2. *tud.* 50. o'r llyfr hwn.

*Vossius.*

Nodiadau *Pool* ar *Mat.* 20. 22. tyst pwy yn y ddau fan sydd gennym yn y traethawd hwn, *tud.* 51.

Yr ydys yn crybwll am ddau o awdwyr yn Pen 8. ynghylch Commission Crist, *tud.* 111, 112.

Mr. *Perkins* ar y *Gal.* *vol.* 2. *pen.* 3. *tud.* 25.

Hawl i fedydd gan Mr. *Baxter*, tud. 149, 150.

Pen. 9. tud. 136, *&c.* yr ydym yn rhoddi cyfrif o'r Awdwyr ac sydd yn haeru mae sancteiddiad *Priodasol* yw'r sancteiddiad hynny yr ydys yn crybwyll am dano yn 1 *Cor.* 7. 14.

*Jerom.*

*Camier, rhan.* 50. felly *Ambrosius, Thomas, Anselm, Swarez,* &c.

*Melancthon* yn ei Nodiadau ar y lle hwn o'r scrythur, sef, 1 *Cor.* 7. 14.

*Camerarius,*

*Musculus* yn ei Nodiadau ar 1 *Cor.* 7. 14.

*Camera.*

*Erasmus* ar y lle, sef, 1 *Cor.* 7. 14.

---

Côf-lyfr

# Côf-lyfr neu Swmm Pennodau y llyfr hwn.



b 2 PEN.

---




*Cam-*

## *Camsynniadau yn y llyfr hwn.*

TUdalen 1. yn lle *câd* darllen *dâd*; tud. 15. l. 24. in lle 5, 6, 7. dar. 75, 76, 77; y rhai sannau sydd yn cael eu dwyn yn dyst gan y Dr. *Du Veil*; tud. 18. l. 22. yn lle *Joan* dar. *Matthew*; tud. 18. l. 32. ac 37. dar. *trochwr*; tud. 22. l. 9. deleua *gym*; tud. 25. l. 21. dar. *gryfhau*; tud. 28. l. 2. yn ôl y gair *Christ* i dlysei fod Rhagwahanod; tud. 29 l. 3. yn lle *a* dar. *o*; tud. 30. l. 36. dar. *nag*; tud. 34. l. 21. dar. *hwn*; tud. 36. l. 28. dar. *pridd-feini*; tud. 37. l. 16. dar. *o'i*; tud. 38. l. 26. dar. *rheini*; tud. 55. l. 9. yn ôl y gair *Abraham*, chwanega, *Megis y Cyfryw*, tud. 57. l. 3. del. *holl*; tud. 57. l. 21. yn lle *llawer* dar. *neb*; tud 58. l. 18. yn ol *cenhedloedd crediniol* dar. *megis y cyfryw*; tud 59. l. 4. yn lle 1 dar. 2; tud. 61. l. 12. ac 14. yn lle *Cyfammod efangylaidd* dar. *yr eglwys a'r gyfammod efangylaidd*; tud. 64. l. 32. yn lle *cadwedigaeth* dar. *diysgogrwydd*; tud. 65. l. 5. yn lle *os* dar. *oes*; tud. 66. l. 37. dar. *o'r enwaediad*; tud. 67. l. 10. yn lle *wlâd* dar *cyfraith*; tud. 68. l. 4. del. *Atteb*; ple bynnag y caffoch gwrdd â'r geiriau hyn. *Neccaw, cyfriw, profio, yddint, cymansaodd* dar. *Naccau, Cyfryw profi, ydynt, cymanfeidd*; tud. 68. l. 18, 19. yn lle *ni gawn* dar *y cawn i*; tud. 69. l. 6, 7. yn lle *tib o prophwydd* dar. *Llyfr. Proph.* tud. 69. l. 8. del. *oblegid*; tud. 70. l. 2. dar *neu pan y byddont yn cael*; tud. 71. l. 7. del. *ynawr*; tud. ib. l. 38. yn lle *nage, ei bâd ôll* dar *na'i bâd ef oll*; tud. 72. l. 8. dar. *goruchwiliaeth*; tud. 73. l. 3. yn lle *yn cyfammodi tros blant* dar. *yr hon a ollyngodd blant i mewn*; tud. 73. l. 19. ac 20. yn lle *it* dar. *i*; tud. ib. l. 30. yn lle *Hol eglwysi* dar. *Eglwys*; tud ib. l 41. yn ol y geiriau, *Cael eu taflu allan* dar *yna bâd naturiol a chnawdol Abraham a daflwyd allan*; tud 77. l 6. yn lle *a bod yn* dar *ond*; tud 77. l 24. yn lle *fod* dar *nad yw*; tud 79. l 39. yn ol *bunain* dar *heb*; tud 88. l 31. dar *gallwni*; tud 82. l 8. dar *greadigaeth*; tud 83. l 3. dar *felly*; tud 87. l 37. yn ol y gair *Abram*. Chwanega, *megis y cyfryw*; tud 91. dar *Pen.* 7. ac felly ymmlaen; tud ib. l 6. yn lle *cyntaf* dar. *pummed*; tud 101. l 34. dar *yn*; tud 102. l 11. dar *y peth a arwyddoccawyd*; tud 109. l 28. dar *y dengys*; tud 110. l 25. yn ol *arwyddoccâad* dar *y gair*; tud 119. l 26. dar *rheini*; tud 123. l 33. dar *chweched hennod*; tud 127. l 18. yn ol *aelod* dar *y rhai*; tud 128. l 1. dar *golchi*; tud ib. l 22. yn lle *ac* dar *eithr*; tud 131. l 8. dar *rheini*; tud 131. l 11. dar. *yr anghredadwy*; tud 134. l 14. *yn lle gyda* dar *heb*; tud 136. l 8. dar *rhieni*; tud 136. l 21. dar *cyfrif*; tud 137. l 19. *a bod* dar *o fod*, tud 138. l 22. *bod* dar *nad yw*; tud 141. l 11. *fod* dar *nad yw*; tud 143. l 2. dar *arnoch*; tud 145. l 1. dar *holi*; tud ib. l 29 dar *onid*; tud 149. l 6. *ni* dar

*oni*;

*oni*; tud 151. l 4. *yn* dar *yr*; tud 153. l 12. dar *nawfed bennod*; tud 158. l 1. del. *es*; tud 163 l 7. *am* dar *hynny*; tud 165. l 37. *felly* dar *bod*; tud 169. l 2. dar *gan roddi atteb i ddegfed bennod a*, &c. tud 171. l 1. *ydynt* dar *â hawl*; tud 177. l 27. *a cadw.* dar *yn achub*, tud 183. l 6 dar *ein*, tud 186 l 20 dar *roddi*, tud 190. l 16. yn ôl *geifr* dar *gyda dwfr*; tud 198. l 18. dar *iw fedydd*; tud 200. l 34. dar *bywyd, rhydd-did*; tud 215. l 3. dar *mi a*, tud 216. l 20. dar *wrth ddwfr*, tud 217. l 31. dar *plant a gweision*, tud 233. l 22. *all* dar *allan*, tud 225. l 1. ac 2. *yspryd glan* dar *scrythur lân*, tud 241. l 22 yn lle *Burkitt* dar *Owen*.

Tud. 286. daril. fal hyn rhwng y bummed a'r chweched l.

3. Nid ordeiniwyd mo fedydd Crist neu fedydd y credinioi i rwymo dynnion ac sydd yn eu cyflwr naturiol (pa vn ai hên ai jevaingc y byddont) i fyned yn eiddo'r Arglwydd, neu i gael eu hadgenhedlu, neu i farw i bechod, *&c.* eithr y mae eu cyfammod fedyddiawl yn eu rhwymo hwynt, megis eiddo ef eisioes achwedi eu hadgenhedlu, cyn eu bedyddio, i rodio megis eiddo'r Arglwydd mewn newydd-deb buchedd; ac felly yr ymddengus fod cyfammod fedyddiawl babanod yn llwyr wrth-wyneb i ddiben a bwriad gwîr gyfammod fedyddiawl Crist; megis ac y darfu i mi ddangos yn helaethach yn fy Epistol o flaen y llyfran hwn (at bawb ac sydd yn ofni Duw o'r cyfryw ac sydd yn dal bedydd babanaidd) at ba vn yr wyf yn annerch y Darllennydd.

Tud 305. l 22. dar. *niwed*, tud ib. l 31. dar *neu a adnabum*, tud 311. l 15. dar *gwartheu*, tud 314. l 33. dar *ac y maent*, &c. tud 315. l 2. ac 3. deleua *Megis ac y mae Mr.* Perkins *ei hun yn addef*, tud 316. l 36. yn lle *Cristion* dar *'r plant*, tud 324. l 18. dar. yn ol *ie* dar *a'u bwgwth*, tud 331. l. 6. yn lle *wythfed* dar *trydydd*, tud 332. l 2. yn lle *nawfed* dar *bedwared*, tud 357. l 12. dar *pan*, tud 362. l 18. y geiriau *Am hynny* a ddlysent fod yn niwedd y l. o'r blaen; tud. 365. l. 14. yn lle *rhia* dar. *rhai*.




PEN.

# PENNOD I.

## *Yn Attebiad ir hyn a ddywedodd Mr.* Owen *yn ei Bennod gyntaf.*

Sr.

OBLEGID yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd ynghylch pren y bywyd, a phren gwybodaeth, eu bod hwynt yn Selau o'r ddau Gyfammod, sef o'r Gyfammod, o weithredoedd, ac o'r Gyfammod o râs neu rydd addewid dûw, Sy'n cael eu hôl ôbell ac yn amheuol jawn, ac yn fychan hefyd ir Perwyl hynny dros ba un yr ydych yn eu crybwyll hwynt, am hynny, mi adawaf hyn heibio.

2. Oblegid yr Enwaediad ei fod ef yn gyscod Tywyll o'r hên Gyfammod tan yr hen orchwyliaeth, a ellir eu ganiattau, eithr ei fod ef yn sêl o'r Gyfammod o râs (yr hyn yr ydych yn eu Siccrhau mewn lle arall och llyfr) yr wyf i'n ei wadu; yr oedd yn sêl o Ffydd Abraham yn vnig, sef o'r Ffydd honno a gafas efe, pan yr ydoedd etto'n ei ddienwaediad ac hefyd y byddei 'fe yn dâd i bawb a gredent.

3. Chwi a ddywedwch yn dda fod y Cuscodau Tywyll hyn, sef yr Enwaediad, &c. wedy ei diflannu o herwydd dyfod y sylwedd, y mae'r jau honno o gaethiwed, wedy ei chymeryd ymaith, yr hyn sydd yn profi nad oedd yr Enwaediad yn perthin i'r Gyfammod o râs, megis y sêl o honaw, i'r holl gredadwy 'n gyffredinol, eanys torriad ymaith y sêl sydd yn dileu 'r Gyfammod hwnnw, at pa vn yr oedd hi wedu ei rhoddi, mal y mae pawb yn gwybod fal nas geill dim fod yn eglurach, na hyn, sef bod yr Enwaediad os oedd efe 'n sêl o un Gyfammod (megis yr ydych chwi'n meddwl ei fod) yr oedd ef yn sel o'r Gyfammod o weithredoedd yr hwn ni allodd ein tadau na ninnau ei dwyn o herwydd eu fod yn rhwymo pawb ac oedd wedy eu enwaedy i gadw 'n berffaith yr holl ddeddf, *Gal.* 5. 3.

4. ‘ Yr ydych chwi ’n dywedyd i Chriſt ordeinio yn yr ‘ Efengyl jau yſgafn ac eſmwth, ſef Bedydd, a Swpper yr ‘ Arglwydd, y ddau hyn yw vnig Sacramentau ’r Efengyl. Mae hyn yn cael ei ganiattau, ai arddel hefyd, yn hyn nid ydym yn gwahanu.

5. Chwi a ddywedwch, i fod *Bedydd yn arwyddoccau ein genedigaeth yſprydol, ſwpper yr Arglwydd ein cynhaliaeth a'n tyfiant yſprydol*, hyn yr ydym yn eu ganiattau, ac am hynny ’r ydym yn dywedyd nad yw Bedydd yn perthin i blant, oblegid nad ydynt mewn fordd arferol o gael yr adenedigaeth (er nad ydym yn ammeu dim, o'r plant buchain ſydd yn marw, ac yn cael eu hadnewyddu, *quoad illorum naturas*) eithr nid ydym ni'n adnabod pa rai ydynt, a phe byddem, etto ni ddylem ni fedyddio mo' honynt, canys nid oes gennym na gorchymyn nac Eſampl i wneuthur felly, ni allem gan hynny trwy ’r vn fâth ô awdurdod roddi iddynt Swpper yr Arglwydd, megis yr ydym yn rhoddi Bedydd iddynt,yr hyn a wneath yr hen daddau trwy awdurdod dynol, Pryd daeth bedydd plant iw gael ei arfer guntaf yn yr eglwys(chwy y wyddoch) dros yn agos pedwar cant o flynydoedd, hid yn agos diwedd y chweched Oes.

6. Meddwch chwi, ‘ Bedydd yn ol Arwyddoccâd y gair, ‘ yw golchiad, am hynny ( eb'r Apoſtol) achubir ni trwy ‘ olchiad yr adenedigaeth, *Tit*. 3. 5. felly troir y gair *Βαπ-* ‘ *τισμος*, *Heb*: 9. 10. Trwy amriw olchiadau, y rhai oeddent ‘ nid yn vnig trwy ymdrochi tan ddwfr, ond trwy daenellu ‘ dwfr ar y rhai a olchwyd neu a fedyddiwyd fel y dangos ‘ yr Apoſtol, *Heb*. 9. 19. efe a gymerodd waed lloi, a geifr, ‘ gyda dwfr ac ai taenellodd ar y llyfr ar y bobl oll ; yr hyn ‘ a alwodd yr Apoſtl ( meddwch chwi ) yn fedyddiadau ‘ yn y 10 adnod, a elwyr taenelliad dwfr, yn yr adnod ‘ hon, &c.

1. *Att*. Yr wyf yn Atteb, Er bod y gair *βαπτίζω*, *Baptizo* mewn yſtyr bellennig, yn arwyddoccau i olchi, etto ’r wyf yn appelio attoch chwi, ac at bawb Sydd yn gwybod ( neu ’n cymeryd arnynt wybod ) y jaith Groeg, pa vn ai bod vn lle ’n y Teſtament newydd, lle y crybwyllir, am y gair neu ryw dynniad neu darddiad oddiwrtho, ( megis y mae'n cyfeirio at ordinhâd Chriſt O Fedydd) onid yw ef yn vnion, neu ’n briodol yn arwyddoccau Soddiad neu fwrw tan y dwfr, ac a droir felly gan *Beza* yn ei gyfieuthiad.

2. Yr

2. Yr ydych chwi 'n gwneuthur cam mawr âr Testun hwnnw *Heb.* 9. 19. lle mae 'r Apostol *yn dywedyd am daenellu gwaed lloi a geifr ynghyd a dwfr*, &c. wrth ddywedyd ei fod ef yn cyfeirio at y degfed adnod.

Lle y dywaid yr Apostol oblegid *amriw olchiadau*, a thrwy wneuthur felly, nid ydych yn vnig yn gwradwyddo 'r Testun sanctaidd, eithr yr ydych yn gwneuthur niwed i'ch enaid, ach cidwybod, ar bobl hefyd. Sr, ydych chwi 'n cael y gair Groeg, βαπτισμοῖς, Yr hwn sydd yn adnod y ddegfed; Yn adnod y 19. Lle y crybwyllir am daenelliad. Neu a ydyw ef yn adnodau y 13. 19. Mal y mae hefyd yn 1 *Pet*. 1. 2. καὶ πάντι τὸν λαὸν ἐρράντισε.

Sr nyni allwn anturio i siccrhau, na ddarfu i vn Awdr Groegaidd pa vn bynnag ai Paganaidd, ai ynteu Christnogaidd, vn amser osod bedyddio yn lle taenellu, neu arferyd y geiriau hyn yn ddiwahan, neu 'n gymysgedig, fel megis ac yn yr scrythurau hyn a enwasoch, *Heb*. 9. 13. 19. 21. Y mae'n cael eu gyfieuthu bob amser i daenellu, fel nad oes vn lle yn yr yscrythur ymha vn y mae'r gair *Rantizo* yn cael eu droi i fedyddio, felly hefyd nid oes vn yscrythur yn yr hon y mae'r gair βαπτίζω, *Baptizo*, yn cael ei droi i daenellu ac am hynny er bod y gair Groeg weithiau mewn ystur bellennig yn arwyddoccau i olchi, etto yn bennaf, neu fwyaf neillduol, y cyfriw olchiad, ac sydd yn cael ei wneuthur trwy drochi neu soddi mal y dywedais i or blaen, ac fel hyn y mae Mr. *Wilson* vn ei Eirlyfr yn troi, neu'n cyfieuthu 'r gair βαπτίζω a βάπτω, *tingo, &c*. i drochi, neu i soddi i'r dwfr; *ac y mae 'n arwyddoccau* (eb efe) *yn bennaf, neu 'n fwyaf neillduol, y cyfriw olchiad* ac ydys yn eu harferyd mewn celwrnau, lle 'r ydys yn soddi neu'n trochi lliainiau; er mewn ystyr bellennig, y mae yn rhoddi amnaid ei fod ef yn arwyddoccau math arall o olchi, eithr nid yw felly yn yr yscrythurau sanctaidd lle y mae 'r gair yn cael eu arferyd am ordeinhad Christ o fedyddio.

3. 'Bedydd dwfr (meddwch chwi) yw golchiad y 'cnawd i arwyddoccau golchiad yr yspryd, am hynny eb'r 'Apostl Pedr, Bedydd sydd yn ein hachub ninnau nid bwrw 'ymath fudreddi y cnawd, eithr ymmatteb cidwybod dda 'tuag at Dduw trwy adgyfodiad Jesu Christ.

*Att*. Yr wyf yn atteb yr ydych chwi'n cymysgu yr adenedigaeth ynghyd a bedydd, golchiad yr adenedigaeth, nid golchiad o fedydd ydyw, nid yw bedydd yn hailgenhedlu

B 2 neb,

neb, ond y mae'n debygol ych bod chwi ar feder dilyn eu y tadau cyfeiliornus, y rhai a gyttynaſſant nas gallel neb fod yn gadwedig oddieithr iddynt gael eu bedyddio, gan wradwyddo r' Teſtun hwnnw 'n *Joan.* 3. 5. *Oddieithr geni dyn drachefn o ddwfr, ac o'r yſpryd, ni ddichon fyned i mewn i deirnas dduw.* Gan gymeryd y dwfr yno yn lle bedydd, felly hefyd yn yr vn modd y gwyrdroeſant hwy 'r Teſtun hwnnw yn *Joan.* 6. 53. *Oni fwyttewch gnawd mab y dyn, ac onid yfwch ei waed ef, nid oes gennych fywyd ynoch*, ac oddi yno hwy a roddaſant Swpper yr Arglwydd i blant buchain hefyd. Ond canniattewch fod bedydd yn arwyddoccau, neu'n ddull o olchiad yr adenedigaeth, etto nid yw taenelliad yn vn ffûrf o olchiad, eithr y mae pawb yn gwybod am drochiad maer ffordd ddiogelaf o olchiad ydyw.

2. Yr ydych chwi'n ſôn, am fedydd tân neu fedydd yr yſpryd glân, ac a thân *Matt.* 3. 11. ' Cyflawnwyd yr yſcrythur hon, (meddwch chwy) pan y ſyrthiodd yr yſpryd ' glân ar y diſcyblion mewn ymddangoſſiad tafodau tanllud, ' *Act.* 2. 3. nid oedd (meddwch chwi) y bedydd hwn trwy ' ymdrochi mewn tân, ond trwy Daenelliad, neu dywall- ' tiad o dân arnynt, yr hwn a eiſteddodd ar bob vn o honynt, bedydd tân, yw golchiad tanllud yr hwn ſydd yn ' puro 'r enaid *&c.*

*Atr. Yr wyf yn Atteb.* Er bod bedydd yr ysprid trwy dywallt yr yſpryd, etto 'r oiddent hwy wedi cael eu trochi neu gorchguddio ganddo, megis llwch y ſae ar gorph marw hyd oni byddo wedi ei orchguddio neu i gwbl gladdu ynddo. Felly bedydd yr yſpryd ar ddydd y Pentecoſt ſy'n arwyddoccau y rhyfeddol dywalltiad o'r yſpryd glân, mae'r gair Groeg βαπτίζω medd Caſaubon ddyſcedig yn arwyddoccau *I drochi neu ſoddi, &c. Yn yr hun yſtyriaeth* (eb efe) *y gellyt dywedyd yn ddilys, i'r Apoſtolion gael eu bedyddio canys y ty ymha vn yr ydoedd hyn wedi eu wneuthur a lenwyd o'r yſpryd glân, fel y gellyt tebig ir Apoſtolion gael eu trochi ynddo, megis ac mewn Pyſgodlyn ebang.* Sr nid taenelliad yr yſpryd yw bedydd yr yſpryd, canys yn ddiammeu hwy â gawſant rai taenelliadau o'r yſpryd, cyn iddynt gael eu bedyddio ag ef. Heb law hynny mae *Occumenius*, ar yr *Act.* 2. yn dywedyd, *Fod yr holl dy wedi ei lenwi gan wynt ac a ymddangoſſodd yn debig i byſgod-lyn, canys yr oedd yr addewid ir Apoſtolion*, y caent hwy eu bedyddio â'r yſpryd glân. Fel hyn y gellwch weled nad yw hyn yn eich cynorthwyo chwi i wneuthur, taenelliad neu dywalltiad yn fedydd.

3. Yr

3. Yr ydych chwi 'n sôn am fedydd gwaed neu ddioddefiadau, mi ail adroddaf eich geiriau, 'Bedydd gwaed, am y 'bedydd hwn y gofynodd Christ i feibion *Zebedeus* a ellwch 'chwi 'ch bedyddio âr bedydd, y bedyddir fi? ac yfed or 'Cwppan, yr ydwyfi yn yfed o honaw? *Mat.* 20. 22. Y 'bedydd hwn ar Cwppan hwn vn ydynt, sef dioddefiadau 'Christ, y rhai yr oedd y ddiscyblion i fod yn gyfrannog 'o honynt. Chwi a ddywedwch fod bedydd yn dystiolaeth o'n hadgyfodiad ysprydol, ac o'n hadgyfodiad yn y dydd diweddaf chwi a grybwyllwch y cyntaf, o'r 1 *Corinth.* 15. 29. &c.

*Att.* Gan hynny, meddafi mae'n rhaid eu weinidogaethu felly mal y bytho yn arwyddoccau, ein adgyfodiad drachefn yn gyntaf o farwolaeth mewn pechod i fywyd o râs, ac yn ail oddiwrth y meirw, neu allan o'n beddau yn y ddaiar, ar y dydd diweddaf. Ond taenelliad ni wneiff hyn, ac ni all mô' i wneuthur chwaith; mewn taenelliad o ychydig ddwfr ar yr wyneb, nid oes gyfattebol-rwydd neu arwyddoccâd o'n adgyfodiado fedd pechod, neu oddiwrth y meirw, nac allan or bedd ar y dydd diweddaf; bedydd dioddefiadau sy'n arwyddoccau trallodion mawrion, ac oddiwrth y llythrennol arwyddoccâd or gair βαπτίζω gofidiau, a thrallodau mawrion y rhai a elwir mewn foddd o gyffelybiaeth, yn fedydd, megis ac y mae *Vossius* yn dangos. Nid pob ysgafn gystydd neu drallod yw bedydd cystyddiau, eithr y cyfriw yr hyn ac y mae *Dafydd* yn ei ddywedyd yn *Psalm.* 32. 6. Oddiymma y' gelwir cystyddiau mawrion, yn donnau *Dy holl donnau ath lifeiriant a aethant drossofi*, Psalm 42. 7. Gwel *Pool yn ei Nodiadau ar* Matt. 20. 22. *i fedyddio* (*eb efe*) *yw i drochi mewn dwfr, yn drawsddwynawl, neu'n gyffelybiaethawl, i foddi mewn cystyddiau.* Nid yw'r naill na'r llall or bedyddiadau cyffelybiaethawl hynny, yn gwneuthur i chwi ddim gwasanaeth, er cyfiawnhau eich traddodiad o daenellu, neu dywalltu ychydig ddwfr, eithr yn y gwrthwyneb er llwyr ddadymchweliad ych bedydd Camsyniawl chwi oblegid yr hyn ac ydych chwi'n ei ddywedyd yn y lle nessaf, am eich tair ffurf o weinidogaethu bedydd, yn ych bennod gyntaf, nid yw'n perthin i'r achos. Presennol gwir yw, Joan fedyddiwr a fedyddioddi'r hwn ac oedd i ddyfod, ac yn yr ysturiaeth hynny 'r oedd gwahaniaeth rhyngddo â'r gweinidogaethiad o honaw ar ôl marwolaeth, ac adgyfodiad ein harglwydd bendigedig; ac yn ddiammeu fe ymddengys hynny oddiwrth y Commissiwn, i fod

bedydd i gael ei weinidogaethu hyd ddiwedd y byd, Yn enw'r tâd a'r mâb a'r yspryd glân ac nid trwy vn fordd arall.

---

## P E N. II.

### *Yr hon Sydd yn cynnwys rhai ystyriaethau ar yr ail bennod o waith Mr.* Owen.

OBlegid yr hyn ac ydych chwi wedi eu Scrifennu 'n ych ail bennod, ynghylch parhâd bedydd dwfr yn yr Eglwys, hyd ail ddyfodiad Christ, neu ddiwedd y byd yr ydwyf yn gyffredinol yn foddlon iwch rhesymau ac yn y matter hynny 'r ydym ni o'r vn feddwl a chwithau: Er y gellyt chwanegu llawer yn ychwaneg i gadarnhau 'r gwirionedd mawr hwnnw. Eithr attolwg Sr cofiwch, *mae bedydd Christ sef Bedydd y Credadyn*, yr hwn appwyntiwyd yn vnig ganddo ef; hwnw sydd yn parhau, ac nid *bedydd plant*, llai o lawer *taenelliad plant*, yr hwn nid appwyntiwyd ac nid arddelwyd chwaith gan ein harglwydd bendigedig ac o herwydd bod rhai or rhesymau a grybwyllyr gennych *yn yr ail bennod* yngylch parhâd bedydd dwfr, yn tueddu i dinustrio eich bedydd plant, mi gaf wneuthur rhai ystyriaethau arnynt.

Hwy a gymeryr oddiwrth eich pedwaredd rhesswm.

Chwi a ymresymwch yn llyn. 'Sef, mae bedydd dwfr 'i barhâu yn Eglwys Duw os ystyriwn y dibennion o 'honaw.

'Meddwch chwi, Crist a ordeiniodd fedydd i fod yn ar-'wydd o'n edifeirwch ni, am hynny y gelwyr yn fedydd 'Edifeirwch, *Mar.* 1. 4. mae edifeirwch yn ddyledswydd 'barhaus, ac am hynny mae bedydd Edifeirwch i barhau.

*Ystyriaethau*, Os ydyw bedydd yn arwydd o Edifeirwch i'r Person a fedyddir, yna 'r Person a fedyddir a ddyleu fod yn bersôn cymwys i edifarhau, a phan fedyddir, i gaffael o honaw 'r peth y arwyddocceir ynddo. Eithr plant megis y cyfriw, ydynt heb y gras o edifeirwch, pan fedyddir, fal nad ydynt yn gallei mo edifarhau.

2. Meddwch chwi 'y mae 'n dystiolaeth o'n ffydd ni yn-'ghrist *Mar.* 16. 16. *Act.* 8. 37, 38. ac am hynny i barhau 'tra parhao ffydd ar y ddaiar.

*Ystyriaeth*

*Tystyriaeth.* Os ydyw bedydd yn dystiolaeth o'n ffydd ni ynghrist, yna rhaid yw iddo berthin ir Credadwy'n vnig, pa fodd y dichon ei fod yn dystiolaeth o ffydd mewn plant, y rhai nid ydynt yn gallel mô gredu? nid adwaenant wrthdrych ffydd, ac nis gallant weithredu vn o weithredoedd ffydd. Mae'n rhaid iddo fod yn dystiolaeth ir cyfriw a vfuddhant iddo, pan eu bedyddir, ac felly mae'r scrythurau â enwasoch yn dala allan, y neb a gredo ac a fedyddir a fydd cadwedig, *Mar.* 16. 16. nid ydyw'n dywedyd, Y neb a fedyddiwyd, ac sydd yn credu, os wyt ti yn credu àth holl galon fe a ellir; nid os bydd itti gredu ar ôl hyn, ond os wyti yn credu 'r awrhon, y mae'n perthyn ir cyfriw sydd a ffydd ganthynt pan ei bedyddir ac y mae'n dystiolaeth o ffydd ir cyfriw, ffydd yn ddiau â ofynnir ganthynt cyn iddynt gael eu bedyddio, ac felly mae Eglwys Lloegr yn dywedyd.

3. Meddwch chwi 'y mae'n rhwymyn Sancteiddrwydd, ' 1 *Pet.* 3.21. mae 'r Apostol yn cynghori 'r Christnogion i ' farw i bechod, ac i fyw i gyfiawnder, y mae rhinwedd yn ' ordinhadau Duw i atteb i'r dibennion i ba rai yr appwyn- ' tiwyd hwynt, *&c.*

*Tystyriaeth.* Etto ddarllenydd, gwybydd i fod ef yn rhwymyn a hynny 'n vnig i rhai Sydd o oedran, plant buchain nis gallant na marw i bechod na byw i gyfiawnder, ni allant atteb cidwybod dda, trwy adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw, nid oes mwy o rinwedd yn yr ordinhadau i blentin bach, a phe byddei i chwi ddyfrhau pren marw: ni all Sancteidrwydd gynnyddu heb fod y gras o Sancteiddrwydd wedi ei dywallt yn y cyfriw 'n gyntaf. Ac os ydyw'r hâd o Sancteiddrwydd yn cael yn gyntaf ei dywallt, o flaen eu bedyddio neu ar yr amser ac yr ydys yn eu bedyddio hwynt, fe drigei 'r hâd hynny ynddynt ac ymddangosei mor gynted ac y delent i ddealltwriaeth, 1 *Jo.* 3. 9. eithr bod neb or fâth hâd neu wyddor fywiol mewn plant buchain fal y cyfriw, pa vn bennag ai plant y credadwy neu eraill, nid ydyw i weled ;end yn y gwrthwyneb ni welir dim ynddynt ynol eu tyfiant i fynu, ond yr hâd melldigedig o bechod ac felly byddant, hyd nis cyfnewidir eu nattur gan râs Duw.

4. Meddwch chwi, ' Y mae bedydd yn arwydd o'n hundeb ' ni a Christ iddo ef ein bedyddiwyd. *Cynnifer o honoch ac ' a fedyddiwyd yn Ghrist a wiscasoch Grist,* Gal. 3. 27. drachefn ' medd yr Apostol, *Bedyddiwydd ni oll yn vn corph,* 1 Cor. ' 12. 13.

' 12. 13. Christ yw 'pen y corph, y ffyddloniaid yw'r
' aelodau y rhai Sydd mewn vndeb tragwyddol âg ef, yr
' hwn a arwyddocceir mewn bedydd; a all y rheini ddymuno
' bod yn vn corph â Christ, y rhai nid ydynt ewyllysgar iw
' bedyddio i'r vndeb hwn ?

*Ystyriaeth.* Ai ydyw plant, megis y cyfriw mewn undeb â Christ ? os ydynt hwy fyddent oll yn gyfrannog o fendithion yr undeb hynny, ac a fuddent oll yn gadwedig o herwydd bod y gangen honno ac sy'n gadwedigol yn cael ei huno ar winwydden Crist, yn gyfrannog or rhinwedd y sydd ynddo. Undeb annattodawl ydyw, yn gyffelib ir undeb hwnnw, ac Sydd rhwng y tâd ar mâb, *Joan.* 17. 21. 23. Meddwch chwi mae'r undeb yn dragwyddol ag mae hwn yn cael ei arwyddoccau mewn bedydd, y 'nawr pa beth ydyw 'r arwydd heb y peth y arwyddocceir.

Sr, Diammeu bod y plant buchain etholedig ac sydd yn marw yn cael eu huno â Christ, mewn ffordd nad ydym ni'n eu gwybod, ond beth ydyw hyn i blant y Credadwy, megis y cyfriw 'r wyf i'n appelio iwch cidwybod eich hunan pa vn ai'ch bod chwi 'n eu fedyddio, neu 'n hytrach yn eu Daenellu, eu fod ef yn cael undeb ysprydol â Christ; or blaen neu mewn bedydd, neu daenelliad. Canys pe cawsent hynny ni buassei raid ynol iddynt gynnyddu neu dyfu i fynu wrth vn reddf ysprydol, neu hâd gras iw dywallt ynddynt mewn perthynas ir cyfriw undeb: heb ffydd nid oes vndeb a Christ, ac ni all bod ffydd heb wybodaeth; nid oes priodas ysprydol â Christ heb gyttyndeb, yr hyn nid yw plant yn gallel mo' honaw. Heb law hyn, pa ham yr ydych chwi'n sôn am y cyfriw nad ydynt ewyllysgar iw bedyddio, gan fod y rheini a fynnwch chwi eu bedyddio yn fabanod anwybodus, a all plant fod yn ewyllysgar ? Sr yr hyn ac ydych chwi 'n ei ddywedyd Sydd a phwys ynddo, *i rhai Sydd ô oedran sef i'r Credadwy*; eithr ni thâl ddim er parhâd Bedydd Plant ond yn hytrach y dylit ei fwrw ymaith, fal peth nid yw o Dduw.

5. Meddwch chwi, 'Mae bedydd yn arwyddoccau, maddeu-
' ant pechod, *Mar.* 1. 4. *Bedyddier pob vn o honoch* ( medd
' Pedr) *yn enw Jesu Ghrist er maddeuant pechodau :* felly dy-
' wedodd *Ananias wrth Paul, cyfod bedyddier di, a golch*
' *ymaith dy bechodau gan alw ar enw 'r Arglwydd*, Act. 22. 16.
' Onid aniolchgar yw rheini (meddwch chwi) i râs Duw,
' yr hwn Sydd yn cynnig fêl o bardwn iddynt, ac nis der-
' byniant, &c.

*Ystyriaeth.*

*Yspyriaeth.* Nid ydyw bedydd yn arwydd o faddeuant pechod i neb, ond ir credadwy yn vnig y rhai Sydd ganthynt edifeirwch, ac am hynny cynghoroddPedr yr Iddewon hynny yn gyntaf i Edifarhau, *Edifarhewch a bedyddier pob vn o honoch yn enw Jesu Grist, er maddeuant pechodau*, ir cyfriw yn vnig y mae'r addewid o faddeuant yn perthin yn y lle yma; Sef ir cyfriw sydd, ac a allont Edifarhau ac ir cyfriw yn vnig y dylit rhoddi 'r arwydd y rhai ac y mae ganthynt y peth â arwyddocceir, y cyfriw nid ydynt blant buchain, onid rhai credadwy. Ydyw pardwn ar sêl o honaw yn cael ei gynnig i blant, ag a ydynt hwy yn gwrthod derbyn o honaw? Sr Pet suasei 'ch llygaid yn agored, chwi fuasech yn fuan yn gweled eich bod chwi'n gossod y cwbl ac yr ydych yn eu ddywedyd at y cyfriw ac ydynt yn anghymmwys i fedydd, yr ydych yn cynghori y cyfriw a ddylit eu bedydio i fod yn ddiolchgar rhag iddynt ddiystyru sêl eu pardwn. Ynawr oddiwrth eich ymresymmiad yma cymerwch y rhesswm hyn â ganlyn, sef;

Y cyfriw bersonau ac y mae bedydd yn perthin iddynt â allant esceulysso a diystyru yr Ordinhâd a sêl eu pardwn: Ond plant buchain ni allant esceulysso, na diystyru mo'r Ordinhâd, na sêl eu pardwn. Am hynny Bedydd nid yw'n perthin i blant bâch.

6. 'Y mae Bedydd (meddwch chwi) yn ammod o addewid 'jechydwriaeth. *Y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig*, Mar. 16. 16. Gwir yw (ebe chwi) nid yw 'r addewid 'yn vnig i fedydd, nid ydyw hi hefyd yn vnig i ffydd, ond 'i ffydd a bedydd; oni ddymunit ti fod yn gadwedig? pa 'ham ynteu y diystyru di vn o foddion jechydwriaeth? ti 'a ddywedi, os credaf byddaf gadwedig er n'am bedyddi'wyd â dwfr, mae Christ yn dywedyd yn amgenach, y rhaid 'i ti gredu ath fedyddio, os mynni fod yn gadwedig, gwir 'yw mae'r Apostol yn dywedyd wrth geidwad y carchar. '*Cred yn yr Arglwydd Jesu a thi a fyddi gadwedig*, Act 16. '31, 32. Eithr cyn gynted ac y credodd, efe a fedyddiwyd; 'dy anghrediniaeth a balchder dy galon sy'n gwneuthur iti 'wrthwynebu yr ordinhâd Sanctaidd hon, &c.

*Yspyriaeth.* Pa fodd y gellwch wneuthur bedydd yn ammod jechydwriaeth i blant bychain, y rhai nid ydynt mewn yn modd yn gallu atteb mo honaw; ni ofynnir ganthynt hwy na ffydd, na bedydd, ac nis gorchymynir mo' i rhieni iw bedyddio chwaith, eithr gwir yw y cyfriw ac sydd yn credu, a ofynnir iddynt iw gael eu bedyddio, ar sawl ai gwrthwynebo,

nebo, ac ni fynnant mô 'i bedyddio, (fef or cyfriw ag y mae bedydd yn perthin iddynt) y maent yn diyftyru cyngor, Duw ag a allant fod mewn perigl o'i jechydwriaeth neu or lleiaf, y mae 'n galw am holiad (os argyhoeddwyd hwynt oi oblegid, hynny yw mae ei dyledfwydd hwynt ydyw) gwirionedd eu grafuffau hwynt nas darfu iddynt, na charu Crift, na chredu yn ddiragrithiol ynddo, gan hynny (Sr) cyn gynted ac y bytho i blentyn dyfu i fynnu, a chredu, efe a ddylai gael eu fedyddio; ac nid yn gynt. Oblegid y mae gennym ni reol berffaith i rodio wrthi.

*Rhef.* 2. Lle nid oes gyfraith nid oes drofeddiad.

Ond nid oes gyfraith am fedyddio plant. Am hynny nid ydyw 'n drofeddiad, o beidio ai bedyddio hwynt.

*Rhef.* 3. Lle nid oes gan Dduw enau i lefaru, ni ddylei fod gennym ni gluft i wrando.

*Rhef.* I wneuthur Peth yngwafanaeth Duw heb awdurdod oddiwrth ei air ef,

Sydd bechod.

Ond y mae rheini ac Sydd yn bedyddio plant yn gwneuthur peth yngwafanaeth duw, heb vn awdurdod oddiwrth ei air ef i wneuthur felly.

Am hynny mae 'n bechod i fedyddio plant.

Oni phechafei *Abraham*, pe buaffei efe yn Enwaedu ar ei rai benywaid, neu yn Enwaedu y rhai gwrywaid ar y Seithfed neu 'r nawfed dydd, o herwydd bod y gorchymyn yn bennodol i rhai gwrywaid, a hynny ar yr wythfed dydd; felly mae gorchymyn Chrift yn bennodol am fedyddio *Pan eu gwneler hwynt yn ddifcyblion, os nyni a gredwn os nyni a Edifarhawn* neu *Pan fo i ni gredu*, a dwyn ffrwythau addas i Edifeirwch. Chwi a ddywedwch fod y rheini ac ydynt yn diyftyru bedydd-dwfr, Yn diyftyru nid bedydd *Joan* eithr bedydd Crift, ac am hynny mae ei pechod hwy yn fwy.

*Ysfyriaeth.* Eithr y cyfriw ac fy 'n diyftyru ac yn dibriffio bedydd plant, nid ydynt nag yn diyftyru bedydd *Joan* na bedydd Crift chwaith, oblegid nas gorchymynodd *Joan*, na'n Jachawdr bendigedig i fedyddio plant ac nid ydym ni 'n darllen, iddynt hwy fedyddio vn plentyn bach erjoed. Os gellwch brofi iddynt wneuthur felly; ni ddywedwn 'i ddim ymhellach, ond ni â fedyddiwn ein plant yn ddiatreg. Fal hyn yr wyf i'n dibennu ar y cwbl y feddyliais i fod yn anghenrheidiol i ddal fulw, neu iw yftyried, ac oedd yn eich ail bennod.

PENN.

# PEN. III.

## *Yn dangos mae bedydd yw trochiad, ac nid Taenelliad, neu dywalltiad ychydig o ddwfr.*

Sr,

OBlegid yr hyn Sydd yn gynwysedig yn yr all bennod o'ch llyfr, ynghylch parhad bedydd dwfr yn yr Eglwys, ni ddywedaf i ddim yn chwaneg, canys yn hynny yr ydym yn cyttuno, eithr yn anghyttuno ynghylch pwy fedydd dwfr ydyw, Chwychwi a fynnwch mae taenelliad ydyw, yr hyn ddilys nid yw fedydd; eithr *taenelliad.*

2. Megis hefyd yr ydym yn anghyttuno ynghylch y gwir a'r priodol ddeiliaid o honaw, ynol athrawiaeth ein achubwr Christ, gwedi i chwi ddechreu ynghylch hynny yr ydych yn ei alw ef y modd neu'r ffwrf oddiallan o weinidogaeth bedydd, mysi ach canlynaf chwi 'n hyn, eithr yn gyntaf mi a ail adroddaf eich geiriau ac gwedin mi ai gwrthbrofaf hwynt fel hyn y dechreuwch, sef;

'Mae rhai yn barnu y dylid trochi 'r holl gorph yn y 'dwfr, ac nid oes vn ffurf arall yn gyfreithlon, mae eraill '(meddwch chwi) yn barnu fod taenellu dwfr ar wyneb 'yr hwn a fedyddir yn ddigon yn enwedigol yn y gwledydd 'oerion hyn, canys megis yn y Sacrament arall o Swpper 'yr Arglwydd, mae vn tammaid o fara ac vn llymmaid o 'win yn ddigonol i arwyddoccau yr ymborth ysprydol 'sydd i 'gael ynghrist, felly yn y Sacrament o fedydd, mae 'taenelliad ychydig o ddwfr ar yr hwn a fedyddier yn ar'wyddoccau rhinwedd gwaed Crist mor effeithiol ac afo'nydd o ddyfroedd.

*Yr wyf yn Atteb.* Yn ddiau ni ellwch fod heb wybod yr hyn a ddywedodd llawer o wyr dyscedig ac oeddent yn dala bedydd Plant, Yn llwyr wrthwyneb ir hyn yr ydych chwi 'n ei ddywedyd yma, canys er bod y ddau Sacrament yn odidawg rhagorol i ddal allan, neu arwyddoccau

dioddefaint

dioddefaint Crist, ac o'r llesaâd ysprydol yr ydym ni'n ei dderbyn oddiwrtho, etto y maent o arwyddoccâd gwahanol.

*Yn gyntaf.* Mae'r Sacrament o Swpper yr Arglwydd yn dal' allan mewn dull fywiol, torriad ô Gorph Crist a thywalltiad o'i waed gwerthfawr, a hyn yn wir a ellyr ei arwyddoccau mor rhagorol trwy ychydig faentiolaeth o fara a gwin megis a thrwy lawer, etto ychydig o ddwfr ni wasanaetha mewn bedydd.

*Yn gyntaf.* O herwydd y dywedir yn eglur, fod *Joan yn bedyddio yn Enon yn agos i Salim,* Joan. 3. 23. *Canys dyfroedd lawer oedd yno.* Diammeu ydyw, ni roddasei 'r yspryd glân mô hyn, megis rhesswm, pa ham yr oedd *Joan* yn bedyddio yn *Ainon,* sef o herwydd bod dyfroedd lawer yn y lle hwnnw, pe buasei megis llwyaid neu ddwy yn ddigonol, neu ddau gwart neu dri yn gallel gwasanaethu, efe ymdden-gys yn eglur oddiwrth y Testun yma, nas gellir mô' i weinidogaethu âg ychydig ddwfr eithr y mae'n gofyn dwfr lawer.

*Yn ail,* Ystyriwch mae megis ac y mae'r Sacrament ô Swpper yr Arglwydd yn dal allan, neu'n arwyddoccau (yn gidsynniawl) torriad o gorph Christ, a gollyngiad ei waed ef (ac ir perwyl hynny mewn rhan yr oedd wedi ei hordeinio) felly hefyd mae'r Sacrament o fedydd yn dal' allan mewn dull mor fywiol, i'n harglwydd bendigedig farw a chael eu gladdu a chyfodi drachefn, ac ir diwedd hyn hefyd yr ordeinwyd yr ordinhâd Sanctaidd hon; ac hefyd i ddangos allan, *ein marwolaeth i bechod, a'n hymbâd i newydd-deb buchedd,* mal y profir hynny 'n helaeth yn y man yn gystal oddiwrth yr scrythurau Sanctaidd, a lliaws ô wyr dyscedig y rhai a ddaliasent fedydd plant; yn gymmaint gan hynny ac nas gall ychydig ddwfr yn yr ordinhad hon arwyddoccau claddedigaeth, ac adgyfodiad yr Arglwydd Jesu, mae'n eglur ganlyn, nad yw ychydig ddwfr ddigonol i fedyddio ynddo, eithr bod yn rhaid eu weinidogaethu mewn Afonydd, Lynnodd, neu leoedd ac y mae dyfroedd lawer ynddynt sef, yw hynny, cymaint o ddwfr âg y byddo ir holl gorph i gael ei gladdu, neu gwbl guddio ynddo, eithr i fyned yn y blaen, meddwch chwi, ‘ Nid yw trochi, na ‘ thaenellu 'n sylweddol ir ordinhâd hon, eithr golchiad â ‘ ddwfr, neu offod dwfr ar y corph, er glanhâd, sydd o ‘ sylwedd bedydd, canys y mae 'r gair bedydd yn y groeg

'yn arwyddoccau golchiad â dwfr fel y nodwyd or blaen
'(eb chwi) allan or, *Heb.* 9. 10.

*Att. Tr wyf yn Atteb.* Y nawr chwi a roddasoch ymaith eich achos ar vnwaith, (neu myfi a gamgymerais) canys os nid yw trochi na thaenellu yn sylweddol ir ordinhâd hon, eithr golchiad, beth a ddaeth och bedydd chwi. Sr pôb trochiad mewn dwfr, sydd olchiad, er nad yw pôb golchiad, yn drochiad, ni ddrygwch mo honom ni yn hynny, eithr eich taenelliad chwi nid yw olchiad. Pe byddei i wraig daenellu ei lliain (à fyddei wedi eu ddiwyno) âg ychydig ddiferion o ddwfr, ai bernyt hynny 'n olchiad o honaw? drachefn, os nid yw taenelliad, yn sylweddol i fedydd, yna nid oes gennych chwi vn bedydd oll: cymerwch ymaith gorph y pren âg wedin ni bydd yna vn pren: ni all y peth hwnnw i fod, lle mae 'r rhan sylweddol o honaw yn ddiffig ac yn awr i fod y gair Groeg βαπτίζω yn arwyddoccau i drochi, neu'r cyfriw olchiad âg sy'n cael eu wneuthur trwy drochiad; nyni ddangosswn ac ai gwnawn yn eglur. Gan eu gadarnhau trwy 'r sâth rhessymau ac awdwyr, fel nas gall vn dyn sobr a dirag-farn, sefyll mwyach yn amheuol ynghylch y matter hwn, ac yno nini a holwn eich gwrthddadleuon chwi.

Myfi a brofaf, nad yw bedyddio, neu βαπτίζω yn arwyddoccau i daenellu, neu dywallt dwfr ar y corph, eithr i drochi, neu i Soddu'r holl gorph mewn dwfr, a hynny,

1. Oddiwrth y llythrennol, union a phriodol arwyddoccâd or *gair groeg* βαπτίζω *Baptizo*, a thystiolaeth gwyr dyscedig.

2. Oddiwrth ymarferiad *y prif amseroedd.*

3. Oddiwrth ysturiaeth or hyn sy'n cael eu *arwyddoccau ai ddal allan* mewn bedydd.

4. Oddiwrth y *Bedyddiadau cuscodawl* hynny a ddywedir am danynt yn yr yscrythurau.

5. Oddiwrth nattur y *bedyddiadau cyffelibiaethawl* hynny a grybwyllwyd am danynt ses. *Bedydd yr yspryd* a *bedydd cystuddiau.*

Ni awn rhagom yn y blaen i brofi 'r cyntaf.

*Scapula* a *Stephen* dau or Athrawon mwyaf yn y jaith Groeg ac sydd gennym ni, hwy ddywedant yn eu *Geir-lyfrau* i fod βαπτίζω, *Baptizo*, oddiwrth βάπτω *bapto*, yn arwyddoccau; *mergo, immergo, item tingo, quod fit immergendo, inficere, imbuere.* Sef i drochi, suddo, boddi, gossod tanaw,

cuddio

cuddio trosfodd, lliwio mewn lliw yr hyn sy'n cael ei wneuthur trwy drochi.

*Grotius* y ddywed ei fod yn arwyddoccau, i drochi tros y pen a'r clustiau.

*Pasor* i fod yn arwyddoccau, soddiad, trochiad, neu fwrw tan ddwfr.

*Vossius*, y ddywed ei fod ef yn arwyddoccau, *golchiad yr holl gorph.*

*Minceus*, yn ei Eir-lyfr y ddywaed, fod βαπτισμὸς yn tarddu allan o'r gair βαπτίζω, ac yn y Lladin *Baptismus*, yn y *Dwtch Doopsit*, neu *Doopen*, *Baptismus*, Neu fedydd; i ymdrochi neu nofio mewn dwfr, ar vn peth ac ydyw 'r gair *Hebreaeg* טבל *Tabal*, yr hwn y mae 'r *Septuagint*, neu'r *deg-cyfieithydd a thriugain*, yn eu droi yn βαπτίζω, i drochi, hyn medd *Casaubon* oedd yn naturiol i fedydd, sef bod personau gael eu soddi yn y dwfr, yr hyn beth y mae'r vnig air βαπτίζω yn eu ddangos yn digon eglur megis ac nad yw ef yn cyrhaeddyd mor belled âg yw i ddiscuyn ir gwaelod er niwed ir person; felly hefyd nid yw i nofio ar wyneb y dwfr; bedydd a ddylei gael ei weinidogaethu trwy soddi 'r holl gorph ir dwfr.

Y diweddar enwog, ar dysgedicaf yn holl jeithodd y dwyrain, y *Doctor Duveil* yn eu eisponiad llythrennol or *Act pen.* 1. *adn.* 5. a ddywaid fod y gair βαπτίζειν, *Baptizo*, yn arwyddoccau, i drochi, megis pe byddyt i Lliwio mewn lliw, ac fe ddywaid pob rhyw Liwydd wrthych, os bydd vn tammaid bychan o frethyn heb ei drochi efe a fydd heb ei Liwio.

*Leigh* yn ei *Critica Sacra*, a ddyweid, mae'r arwyddoccad naturiol a phriodol y gair yw, i drochi mewn dwfr, neu soddi tan ddwfr, *Mat.* 3. 6. *Act* 8. 38. Dros yr hyn beth hefyd, y mae ef yn galw, *Casaubon*, *Bullinger*, *Zanchy* a *Spanhemius*, yn dystion trosto. Efe a ddyweid hefyd y mynnei rhai iddo arwyddoccau golchiad, yr ystyriaeth hon (eb efe) yr oedd *Erasmus* yn eu gwrthwynebu gan gadarnhau, nad ydoedd felly yn amgen na thrwy ganlyniad; canys y priodol arwyddoccad or gair oedd y cyfriw drochiad, neu Soddiad, ac y mae Lliwyddion yn eu arferyd wrth liwio brethynau.

*Salmasius* y ddyweid mae nid bedydd ydyw, 'r hyn y maent yn ei roddi i blant eithr taenelliad.

*Beza* ar *Matt.* 3. 11. a ddywaid fod y gair βαπτίζω. *Baptizo*, yn arwyddoccau, i liwio, trwy drochi, neu olchi.

*Selden*

*Selden* y ddyweid fod yr Iddewon yn cyfri 'r bedydd hwnnw, ple nid oeddyt yn bedyddio, mo'r holl gorph, yn beth diddim.

*Ainsworth* y ddyweid ir vn perwyll megis y dangosaf i chwi.

Mr. *Daniel Rogers* y ddyweid i fod ir gweinidog drochi mewn dwfr y rhai a fedyddier megis y weithred gymhwysaf, ac i mae'r gair bedyddio yn ei nodi neu'n ei ddal allan, canys (eb efe) nid oedd ar y Groegiaid mô eisiau geiriau i eglurha a vn rhyw weithred arall, heb law trochiad, pe buassei 'r ordinhâd yn gallu eu ddioddef, pa debygoliaeth ô gladdedigaeth, neu o adgyfodiad Christ, Sydd mewn taenelliad ? [dal sylw ar hynny] mae 'r hynafiaeth, ar Scrythurau ( eb efe) yn Siccrhau mae trochiad ydoedd.

Pe byddei i chwi medd y *Dr. Duveil* wrando ar y priodol arwyddoccad y gair yn y Gymanfa yn *Celicbyth yn y Flwyddyn* 816, *lle'r oedd Wolffred Archescob Canterbury yn ftaenor.* Bydded ir Henuriaid (eb efe) ochelyd, pan ydynt yn gweinidogaethu yr Sacrament o fedydd, na bo iddynt dywallt dwfr ar bennau 'r plant, eithr gadewch iddynt yn wastadol i gael eu soddi yn y bedyddfan, yn ôl Esampl mâb duw ei hunan, yr hwn a soddwyd neu a drochwdd yn nyfroedd yr *Forddonen*, fel hyn, yn drefnus y dylei 'r ddefod, neu 'r Ceremoni gael ei chyflawni, gwel y *Dr. Duveil* ar yr *Act. pen.* yr ail, tu dalen, y 5, 6, 7.

Yr vn *Dr. Dysgedig*, yn yr vn lle y ddyweid ; mae arferiad gwastadol yr Eglwys gyffredinol ydoedd hyd amser *Clement* y pymmed yr hwn a goronwyd yn Bàb yn y Flwyddyn 1305. dyma 'r amser cyntaf ac y darfu 'r ail *Gymanfa o Ravenna* i fod yn brofiadol, or camarferiad â dducpwyd i mewn i rai Eglwysi, ynghylch cant o flynyddoedd or blaen. Sef bod bedydd heb ddim angenrheidrwydd i gael ei weinidogaethu trwy daenelliad. Oddiyma y daeth yn wrthwyneb ir cyfattebolrwydd, neu 'r amcaniad dirgel ô arwyddoccad y Sacrament, ir holl Orllewin gan mwyaf yn yr oes hon i arfer *taenelliad* yn lle *bedydd* ; megis y dywaid *Zepper*, er mawr Sarhaâd ir *Groegiaid* a'r *Russiaid*, y rhai ydynt hyd y dydd hwn, yn trochi y rheini a fedyddier, ac yn neccaû, nad oes neb yn cael eu jawn fedyddio, ond y drochir yn y dwfr ynol gorchymyn Crist megis y cawn ei weled yn *Sylvester Sauropulus*.

'Mae 'r *Dr. Taylor* yn dywedyd, mae nid arferiad yr hen 'Eglwys ydoedd taenelliad, eithr trochiad, yn ganlynol i 'ysturiaeth y gair bedydd, ynghyd a gorchymyn ac Esampl 'ein Achubwr bendigedig.

Ma-

Mae *Salmasius* yn eu amrw *Nodiadau* ar *Sulpitius Severus* yn dywedyd fod y gair βαπτίζειν, yn arwyddoccau trochi, ac nid i daenellu: ni fedyddiodd yr henafiaid yn Eglwys y Groegiaid hyd y dydd hwn (eb efe) mewn vn ffordd amgen na thrwy drochi vn waith neu deirgwaith ac y mae 'r hwn a fedyddir, yn cael ei soddi tros y pen ar clustiau: yr vn peth hefyd mae *Peter Avetabolis* yn ei dystiolaethu am y Christnogion o *Acea* y rhai a Wersyllasant *Iberia a Colchi*.

Mae Saint *Ambros* yn dywedyd, 'Mae dwfr ydyw 'r hwn, 'ac y trochir y corph ynddo, i olchi ymaeth bob pechod, a 'claddu llygredigaeth.

Mewn Llyfr a enwyd, *Diwigiad o'r cyfreithiau Eglwysig* Printiedig yn *Llundain* 1641. Mae ef yn cael eu draethu yn y geiriau hyn, pan yr ydym yn cael ein trochi yn y dwfr, y mae marwolaeth, a claddedigaeth Crist yn cael ei hatgofio ini: ac yr ydym yn tystio yngwydd y byd fod pechod wedi ei farwhau, ai gladdu ynom.

Mae 'r *Drefn Rhufeinig* (yr hon a osodowyd allan gan ei Scrifenwyr ynghylch y Defodau Eglwysig) yn dywedyd fod yr Henuriaid yn myned ir Fynnon oddifewn at y dwfr ac yno mae'r gwrywiaid yn cael eu bedyddio yn gyntaf ac ar ôl hynny y rhai benywiaid.

'*Luther* a ddyweid, Enw bedydd sydd yn air Groeg ac se 'a ellir ei gyfieuthu yn drochiad, pan yr ydym yn trochi 'rhyw beth mewn dwfr i mae'n cael ei lwyr guddio gan 'ddwfr, ac er bod (eb efe) yr arferiad o hynny y nawr yn 'cael eu gwbl fwrw ymaith, gan y rhan fwyaf o ddynion, 'canys nid ydynt yn trochi mo'r plant yn gwbl, eithr yn 'vnig eu taenellu hwynt âg ychydig ddwfr, hwy a ddylent 'er hynny gael eu trochi, ac yn fuan eu tynnu allan dra'chefn.

Mae'r *Siarmaniaid* yn galw bedydd yn eu Jaith hwy yn *Tauff* oddiwrth *ddyfynder*, yr hwn â alwant hwy'n *Teiff*, megis pet fae addas (medd fy Awdr) i fod y rheini ac sy'n cael eu bedyddio, eu dwfn drochi.

*John Bugenhagius Pomeranus* (cyfaill a dilynwr i *Luther* yn y weinidogaeth yn *Wittenburgh*, am yr hwn, y mae, *Thuanus* a *Zanchius* yn dwyn tystiolaeth, ei fod ef yn wr cymhedrol, duwiol, a dysgedig jawn) sy'n siccrhau iddo gael eu ddymuno i fod yn dyst yn *Hamburg* yn y flwyddyn 1529. pan welodd efe y gweinidog yn vnig yn taenellu'r plentyn (yr hwn a lwymwyd mewn cadachau) ar goryn y pen, efe â ryfeddodd

ryfeddodd, canys ni welsei ac ni chlywsei mo'r cyfriw beth, nai ddarllen chwaith yn vnrhyw hystori; oddieithr mewn achos o anghenrheidrwydd, ar ddynion y sae yn cadw eu claf welyau.

Yn ol hynny, pan oedd mewn cynylleidfa gyhoeddus a llawer o weinidogion wedi dysod ynghyd, efe ofynnodd i ryw weinidog (wrth ei enw *John Frize* yr hwn weithiau oedd weinidog yn *Lubec*) pa fodd yr oedd y Sacrament o fedydd yn cael ei weinidogaethu yn *Lubec?* Yr hwn, o herwydd ei dduwioldeb, ai hynawsedd a attebodd, fod plant yn cael eu bedyddio yn noeth yn *Lubec* yn gwbl yr vn modd, ac yr oeddent yn *Germany*, eithr o ba le, neu pa fodd yr ymlysgodd yr arfer neillduol hynny o sedyddio yn *Hamburg* yr oedd efe yn anwybodol o honaw, hwy a gyttunassant o'r diwedd ynddynt eu hunain i ofyn barn *Luther* ar Difeinwyr yn *Wittenburg*, ynghylch y pwnc hwn; wedi iddynt wneuthur hyn, efe ysgrifennod *Luther* ynol i *Hamburg*, gan ddywedyd fod taenelliad yn gamarferiad, ac y dylent ei symmud helbio, fal hyn yr adferwyd trochiad yn *Hamburg*, ac etto oerach yw ei gwlad hwynt, nac ydyw ein gwlad ni.

Mr. *Joseph Mede* y ddyweid nad oedd mo'r cyfriw beth acydyw taenelliad [ noda ] yn cael eu arferyd mewn bedydd yn nyddiau yr Apostolion, nac mewn llawer oes ar ol hynny; efe ddywedasei 'n brydferthach, pe dywedasei nad oedd dim taenelliad yn cael mô 'i harferyd yn nyddiau'r Apostolion, ond bedydd, gan ei fod ef yn gwybod yn dda, eu bod hwynt yn ddwy weithred neillduol a gwahanol: ni all mewn modd yn y byd i fod yn fedydd os ni bydd ond taenelliad neu dywalltiad dwfr yn vnig; gosod tan y dwfr, neu drochiad, ydyw'r jawn, ar vnig beth, mal y crybwyllais o'r blaen, nid peth damwainol, eithr peth sylweddol ydyw ac yn llwyr anghenrheidiol, fel nas gall hi fod y weithred neu'r ordinhâd hebddaw.

Os gorchymynaf i fy morwyn; drochi fy llaw-liain mewn dwfr, a bod hithau yn cymeryd yn vnig ychydig ddwfr yn ei llaw, a thaenellu ychydig ddiferion arno, ai ydyw hi yn gwneuthur y peth a orchymynais i ol blegid, neu onid yw hi'n weithred arall, felly yma nid ydych chwi 'n gwneuthur mô'r peth. Yr ydych chwi 'n *taenellu*, ac nid yn bedyddio neb, oddieithr i chwi eu trochi hwynt yn y dwfr.

*Chamier.* Sydd yn dywedyd hefyd, mae'r hen arfer o fedyddio oedd i drochi 'r holl gorph yn yr Elfen, am hynny bedyddiodd Joan Mewn afon.

Dr. *Hammond* yn eu Nodiadau ar *Joan*. 13. 10. Sy'n dywedydd fod *βαπτισμος*, yn arwyddoccau trochiad neu olchiad or holl gorph, yr hwn Sydd yn cyfatteb ir gair Hebraeg טבל ac yn cael eu harferyd am drochiad yn yr hen Destament, fe a ddywaid gan hynny wrthym ar *Mat.* 3. i *Joan* fedyddio mewn afon, sef yn yr *Jordonnen*, *Mar.* 1. 5. mewn lle ac yr ydoedd dyfroedd lawer yn ymgyfarfod ai gilydd, *Joan* 3. 23. canys dyfroedd lawer oedd yno, yr hyn a alwodd y Groegiaid, yn Lynnodd, lle'r oeddent yn arferol o olchi; ac hefyd (eb efe) yr Henafiaid a alwassant eu *bedydd-fannau*, neu'r *llestri*, ac oedd yn cynwys eu *dwfr-fedydd* ynddynt, yn *Columbethras* sef lle i nofio, neu ymdrochi ynddo yr hwn oedd yn dra ehang, ac ynddo gonglau i wyr a gwragedd.

Mae Mr. *Pool ddysgedig* (neu 'r *deifeinwyr dysgedig a pharchedig* hynny fu ynghylch perffeithio, neu ddwyn i ben eu Nodiadau godidoccaf, ar y Bibl Sanctaidd) yn dywedyd fal hyn; rhan fawr or rheini â aeth allan i wrando *Joan*, *a gawsant eu bedyddio, hynny yw eu trochi yn yr Jorddonen*, ar *Joan*. 3. 6. ac ar *Mat.* 28. 20. Meddant hwy, y bedydd cyntaf ac ydym ni'n eu ddarllen yn yr ysgrythurau sanctaidd, ydoedd trwy drochi yr hwn a fedyddiwyd.

Mae 'r *Dwtch Gyfieuthiad* ynol eu jaith hwy yn ddarllen y gair i drochi.

Mat. 3. 16. *Ende Jesus Gedoopt Zijn de is terstont op geklumen, uit hit wter. Ar Jesu wedi ei drochi a aeth yn y fan i fynu or dwfr.* Ac anod y 6. *Ende wierden van hemge doopt in de Jordan. A hwy a drochwyd ganddo ef yn yr Jordonnen.* Oddiyma y galwasant Joan fedyddiwr, *Joan y trocwr* yn yr adnod 1. *Ende in die dayen quam Joannes de dooper predikenn in de woestijue, van Judea.* Yn Gymraeg fal hyn, *Yn y dyddiau hynny y daeth Joan y trochwr, gan bregethu yn niffaethwch Judea.* Pe buasei ein cyfieuthwyr ni, yn cyfieuthu'r gair Groeg ir jaith *Gymraeg*, fal y gwnaeth y *Dwtch* iw jaith hwynt, Fe fuasyt yn ei ddarllen yn ein Biblau ni, *Joan y* trocwr, ac yn lle i bedyddio hwy yn enw'r tâd, &c. efe ai darllennasyt gan eu trochi hwy yn enw 'r tâd ar mâb, ar yspryd glân, ac yno ni fuasei mô'r bibl yn cael eu twyllo ddim.

Mr.

*Mr. Ball* yn eu Catechism, sydd nid yn vnig yn dywedyd eu bod yn gofyn ffydd, gan y cyfriw a ddymunent gael eu bedyddio, eithr hefyd yr oeddent yn cael eu golchi trwy eu trochi hwynt. Ond i ddibennu hyn mi a ymresymaf yn llyn. Sef yn gymmaint ac ein jachawdr Christ anfon, eu ddiscyblion (i bregethu ac i fedyddio, neu i drochi, yn enw 'r tâd, &c.) yr holl genhedloedd, sef yn gystal gwledydd oeron, a thwymion, a chan weled i fod plant ai cyrph yn dyner, yn gallu dioddef dim mô' i trochi heb fod mewn perigl oi bywyd, mae'n eglur ganlyn oddiwrth hyn, nad ydynt hwy mo'r cyfriw ac a orchymynwyd gan Christ i trochi yn enw yr tâd ar mâb, ar yspryd glân.

Y ddibennu â hyn, cymerwch vn rheffwm, sef os y llythrennol, naturiol ar priodol, arwyddoccâd o'r gair Groeg *baptizo*, yw trochiad, neu i drochi, yna i daenellu, nid yw i fedyddio, ond y llythrennol, naturiol, ar priodol arwyddoccad o'r gair Groeg *baptizo* ydyw trochiad, neu i drochi. Am hynny i daenellu, nid yw i fedyddio.

---

# PEN. IV.

## *Yn profi mae bedydd, yw trochiad oddiwrth arferiad Joan fedyddiwr, Crist ai Apostolion.*

ODdiwrth arferiad y prif amseroedd myfi a ddangosais eisoes i Joan fedyddiwr, fedyddio yn Afon yr Jordonnen; yr hwn ydoedd y cyntaf, ac a dderbiniodd Gommisfiwn i fedyddio. Ac y mae *Diodate* ar *Mat*. 3. yn drywedyd iddo efe eu trochi hwynt mewn dwfr.

Mae *Piscator* yn dywedyd hefyd; mae 'r hen arfer o fedyddio ydoedd i drochi 'r holl gorph mewn dwfr.

Mae 'r Gymanfa yn eu Nodiadau, yn dywedyd yr vn peth.

Nage meddafi, peth ofer, ac afreidiol jawn ydoedd, iddynt hwy fyned i gael eu bedyddio mewn afonydd; pet fuasei vn vnig ond i daenellu ychydig ddwfr ar yr wyneb, canys

Gwart o ddwfr a waſanaethaſei i daenellu llaweroedd, a phe buaſei daenelliad, neu dywalltiad dwfr yr ordinhâd, ni byddei vn rheſſwm wedi eu adel iw hyſturiaid mwyach, pa ham yr aent i afonydd, ac ni roddaſei yſpryd Duw mô hynny megis y rheſſwm, pa ham y bedyddiodd Joan yn Enon, yn agos i Salim: ſef o herwydd bod dyfroedd lawer *Joan.* 3. 23.

Eithr ymdrech rhai ydyw: i wrthwynebu yr yſpryd glân, trwy wneuthur i ddynion gredu, nad oedd lawer o ddwfr yn y lle hwnnw.

'Oblegid nad yw'r jaith dechreuol yn darllen πόλυ 'ὕδωρ, dwfr lawer, ond πολλὰ ὕδατα, dyfroedd lawer, ' hynny yw meddant hwy llawer o ffrydiau neu gornentydd.

*Atteb.* Pa wahaniaeth y ſydd rhwng dwfr lawer, a dyfroedd lawer, os oeddent ffrydiau, a chornentydd er nad yn ddwfn, etto pet fuaſent onid ychydig amſer yn cael eu cronni âg argae, hwy fuaſent yn y fan yn digon dwfn i noſio ynddynt megis ac i mae profiad yn dangos, eithr digonol ydyw iddo ſedyddio yno. Medde'r yſpryd glân, canys dwfr lawer, neu ddyfroedd lawer oedd yno, [canys neu o herwydd] gan fwrw ini amnaid eglur nas gellyr gweinidogaethu mo'r ordinhâd, âg ychydig ddwfr: eithr ei bod hi yn gofyn dyfroedd lawer, neu ddwfr lawer, mwy ymhell nae allaſei cawg eu ddala, neu ellwch chwi eu ddal yn eich llaw.

2. Ond fe wrthddadleuir ymhellach, gan ddywedyd i fod *Sandys* yn ei ymdaith yn dywedyd wrthym eu bod hwy mo'r faaſſed, fal na chyrhaeddent uwchlaw 'r bigwrnau.

*Atteb.* 1. Pa vn y gredwn ni, ai gair duw, ai ynte ymdeithydd celwyddog? mae'r Scrythur yn dywedyd i fod dyfroedd lawer vno, ac i mae fe yn dywedyd nad oedd ond ychydig.

2. Yr ydym ni yn gweled yn feunyddiol mewn rhai cornentydd beiſion, bod rhai mannau dyfnion, ac oni allaſei fod felly yma? ac efe allei yr ymdeithydd hwn i fod heb chwilio, neu holi'r matter mor fanawl.

3. Neu oni allaſei y pryd hynny i fod llawer o ddwfr yn ymgyfarfod yno, (megis mae'r Dr. *Hammond* yn nodi) a etto onid dwfr bâs neu ychydig yr awrhon, neu'r pryd y bu *Sandys* yno? Mae amſer yn gwneuthur afonydd i fod yn anwadal megis pethau eraill: ond i fod rhai dynion yn y modd yma yn ceiſio gwrthwynebu 'r teſtun Sanctaidd, i

amddiffin

amddiffin eu harferiad babanaidd o daenelliad, hwy a haeddent yn fawr eu ceryddu.

Cymerwch y rhesswm ymâ.

Os ydyw 'r yspryd glân yn eu roddi megis y rhesswm, pa ham i bedyddiodd Joan yn Enon, yn agos i Salim, sef o herwydd bod dyfroedd lawer yno; ychydig ynte o ddwfr ni wasanaetha i fedyddio ynddo.

Ond y mae'r yspryd glân yn ei roddi megis rhesswm, pa ham y bedyddiodd Joan yn Enon, yn agos i Salim: sef o herwydd bod dyfroedd lawer yno. Am hynny ychydig ddwfr ni wasanaetha i fedyddio ynddo.

2. Ond i fyned yn y blaen, fe ddywedir yn *Mar.* 1. 9. Ir Jesu gael eu fedyddio gan *Joan* yn yr *Jordonnen*, ynawr ebe gwr dysgedig ar y lle, fe fuasei 'n beth anghymwys i Saint *Marc* ddywedyd, ir Jesu gael eu fedyddio yn yr *Forddonen*, pet fuasei yn daenelliad; oblegid y mae'r Groeg yn eu ddarllen εἰς τὸν Ἰορδάνην, i'r *Jordonen*: a allesit dywedyd i Grist gael eu daenellu yn afon yr *Jordonen*, y mae yn beth cymwys iw ddywedyd, iddo gael eu drochi i'r *Jordonen*, bydd siccr mae hynny ydyw ac ydoedd y weithred, ac nid yn arall.

3. Hwy aethant i wared ill dau ir dwfr, *Philip* ar Efnuch, *Act*. 8. 38. Pa raid oedd iddynt hwy wneuthur felly, pet fuasei bedydd yn daenelliad? yn ddiau ni osodasei *Philip* mo'r bonhedd hwnnw, (ac oedd wr galluog dan *Candace* brenhines yr Ethiopiaid) i gymaint a hyn o flinder, ac i ddyfod allan oi gerbyd (pet fuasei i daenellu ychydig ddwfr ar ei wyneb yn gwneuthur) ac i fyned i wared ir dwfr ai drochi; mae'n ddiau y buasei *Philip* ar y achos yma yn gadel heibio drochiad, ac a roddasei le i daenelliad, neu dywalltiad dwfr pet fuasei 'n gallel gwasanaethu: gan ystyriaid i fod ef yn wr mawr, ac ar eu daith; fe allasei gyrhaeddyd ychydig ddwfr yn eu law, neu ryw ffordd arall, ac a fuasei 'n eu daenellu yn eu gerbyd, fal y gwna rhai gweinidogion y dydd heddiw, yn eu lleoedd o addoliad cyhoeddys ac fal hyn y mae dynion yn diddymmu gorchymyn Christ trwy eu traddodiad o gamarferiad or bedydd Christnogawl, a chan ein gwradwyddo ninnau sy'n cadw ynol ei drefniad Sanctaidd.

Mr. *Daniel Rogers*, 'yr hwn oedd yscrifennydd godidawg 'mewn Traethawd oi eiddaw a ddywed, y dylei fod yn 'rhan yr Eglwysydd i lynu wrth yr ordinhâd yr hon ydyw 'trochiad,

'trochiad, yn gymaint ac nad yw wedi eu adel gan ein
'heglwys ni i farnu mô honaw ynol doethineb y gweinidog,
'eithr yn gofyn i drochi, neu i daro tan y dwfr, ai godi
'fynu drachefn: fe ddywaid ymhellach, i fod y gweinidog
'yn bradychu 'r Eglwys i gyfeiliornad anhrefnus, os ni ly-
'nuff wrth yr ordinhad.

Och! Pa amledd o fradychwyr y gwirionedd ac o Eglwy-
fydd hefyd, fydd gennym ni'n y dyddiau hyn mal yn y dyddi-
au gynt gynt: pa mo'r fychaned i mae ordinhâd Chrift, neu
arferiad y prif amferoedd yn cael eu yftyriaid, gan lawer o
wyr da? Pa le mae'r yfpryd ô ddiwigiad? diammeu ydyw bod
yr Awdr enwog, ar bernydd dyfgedig yn y jaith Groeg fef
*Gafaubon* yn yr vnion, cymerwch ei eiriau.

'Nid wyf yn ammeu (eb efe) nad yn wrthwyneb i feddwl
'ein heglwys ni yr ymlyfgodd y cyfeiliornad hwn vnwaith
'i mewn, yr hwn fydd etto yn cael eu amddiffin gan ef-
'mwythdra cnawdol y cyfriw ac ydynt yn edrych yn fwy
'attynt eu hunain nac at Dduw, gan ledanu rhydd-did i'r
'Eglwys yn yr achos hwn yn ddwfnach, neu ymhellach,
'nag y buafei 'r Eglwys eu hunan yn gwneuthur, na fan-
'cteiddrwydd y Sacrament hon yn ddiberigl yn gallel dio-
'ddef, ar ol hynny mae efe yn dywedyd, yr wi'n cyfaddef
'mod i fu hynan yn ddiargyhoeddiad, gan refymmau yf-
'crythuraidd am daenelliad plant.

Y gwirionedd ydyw, fe roddodd yr Eglwys ormodedd o
rydd-did; nid oedd ganthi awdurdod i newid yn y matter
lleiaf, ond y lynwn fanwl wrth yr ordinhâd, mae hi yn
dywedyd trochiad, [neu daenelliad] hwn fy'n nafu 'r cwbl,
y chwanegiad hwnnw fy'n rhoi 'r annogaeth; pwy a dro-
chyff yr hwn a fedyddir âg a allo gredu yr Eglwys i fod
taenelliad yn gallel gwafanaethu.

Ac och mor anhawdd ydyw i alw yn ôl gyfeilliornad yr
hwn a dderbyniwyd cyhyd ac mor gyffredinol, yn enwedig
pan ydyw'r efmwythdra cnawdol ar elw amferol yn gwa-
fanaethu iw gadw i fynu, ac hefyd pan ydyw 'r wir ffordd
o fedydd yn cael eu gwradwyddo, ac edrych arni yn ymar-
feriad dirmygus ar rheini fy'n eu harddel hi, ac ni feiddi-
ant weithredu yn amgenach, maent yn cael eu diyftyru ai
gwaedio (gan laweroedd) ar yr enw Duftaidd hynny o
Ail-fedydd, &c. Er ein bod ni gymmaint yn erbyn Ail-fe-
dyddio ac all neb pobl yn y byd i fod.

*Cajetan dyfgedig* ar *Mat.* 3. 5. y ddywed i Grift fyned i
fynu o'r dwfr, am hynny bedyddiwyd Crift gan Joan,
nid

nid trwy daenellu, neu dywallt dwfr arno, ond trwy eu drochi, neu osod tan y dwfr.

Heb law hyn, y mae *Musculus* ar *Matt.* 3. yn galw bedydd yn drochiad ac y ddywaid i rheini ac a fedyddiwyd gael eu trochi, ac nid eu taenellu. i gloi ar hyn cymerwch vn rhesswm.

Os oedd y bedyddiwr, ar vn oedd yn cael eu fedyddio yn nyddiau Christ a'r Apostolion, yn myned i wared ill dau ir dwfr, ar hwn y fedyddiwyd yn cael eu drochi, yna bedydd nid yw daenelliad eithr trochiad.

Ond y bedyddiwr ar vn oedd yn cael eu fedyddio yn nyddiau Christ a'r Apostolion oeddynt yn myned i wared ill dau ir dwfr, ar hwn y fedyddiwyd oedd yn cael eu drochi.

*Bedydd gan hynny nid yw daenelliad, eithr trochiad.*

---

# PEN. V.

*Yn profi bedydd i fod yn drochiad, neu'n gladdedigaeth or holl gorph mewn dwfr. Yn enwyr tâd, ar mâb, ar yspryd glan. Ymha vn y mae rhessymmau Mr.* Owens *dros taenelliad ai wrthddadleuon yn erbyn soddiad, neu drochiad yn cael eu cwbl atteb.*

DArllenydd, di elli weled, er y gall yr ystyriaeth bellenig o'r cyffredin air βαπτίζω *Baptizo* i gyfeirio at daenellu dwfr, etto yr naturiol, ar priodol ysturiaeth o'r gair hwnnw yw i drochi, neu'r cyfriw olchiad ac sy'n cael eu wneuthur trwy drochi, yr hyn y brofwyd yn helaeth tal i clywsoch, oddiwrth yr yscrythurau, ac oddiwrth gidsynniaid cwmmwl mawr o dystion, ymhlith y dysgedig henafiaid a diweddar. Gan hynny yr hyn y ddywaid Mr. *Owen* yn nechreuad eu *drydydd* bennod sef mae peth anhyspys yn y Testament newydd ydyw, pa fod yr oedd yr Apostolion yn bedyddio ai gan drochi, ai ynteu gan daenellu nid yw'n wirionedd ; i mae yn eglur mae trwy drochi yr oeddent, ac nid vn ffordd arall, canys pa le bennag y mae'r gair

bedydd yn cael eu harferyd, (meddaf drachefn) yn y Testament newydd, pan y bo yn cyfeirio neu'n perthin at ordinhâd Christ o fedydd, y mae'n arwyddoccau soddiad neu drochiad yn y dwfr; ac ni ddichon efe brofi i'r Iddewon olchi mô i dwylo, ai cwppanau yn vnig trwy dywallt dwfr arnynt er y gallesei *Elias* gael tywallt dwfr ar ei ddwylo; nyni 'n gyffredinol ydym yn golchi ein dwylo a'n cwppanau, gan eu trochi hwynt yn y dwfr, ac felly gwnaeth yr Iddewon fal tystia Mr. *Ainsworth*.

2. Sr, Yr hyn ag ydych chwi'n eu ddywedyd oblegid y bedydd cyscodawl hwnnw yn y cwmmwl ac yn y môr, chwi a glwysoch hefyd eu gwbl attebiad, ac nid yw hwnnw yn gwneuthur na thros daenelliad, na thywalltiad chwaith; ond ychwaneg am hynny ar ol hyn.

3. Yr hyn âg ydych chwi 'n ei ddywedyd am arwyddoccâd bedydd i fod ef yn dal allan ddau beth, sef.

1. Yn gyntaf, Gwaed Christ.

2. Yn ail. Yspryd Christ, sy'n cael eu hôl o bell. Canys y mae Swpper yr arglwydd yn dal' allan waed Christ, a nid oes gennym ni vn ordinhâd wedi hordeinio gan Grist i ddal' allan mewn cyffelybiaeth, daenelliad neu dywalltiad or yspryd, os dychymygodd dyn y cyfriw beth bydded felly.

Y Papistiaid a gawsant allan saith Sacrament ynghyd ai harwyddion harwyddoccaol, megis i' dywedant wrthych, ac y mae ganthynt hwy yr vn gyffelib rhesswm i amddiffin eu Sacramentau, heb vn dystiolaeth o air duw, megis ag y mae ein Pædobaptistiaid ninnau, dros fedyddio neu'n hytrach daenellu eu babanod. Gwir yw, y mae 'r Apostol yn dywedyd am daenellu gwaed Crist, eithr bedydd nid yw gyffelybiaeth o hynny, megis y clywsoch: ond yn bendifaddeu o farwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Jesu Grist.

'Sr, Chwychwi a ddywedwch i fod taenelliad yn gyfreithlon o herwydd fod yn debygol jawn ir Apostolion fedyddio, trwy dywalltu neu daenellu dwfr. *Act*. 2.41. Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd; a chwanegwyd attynt y dwthwn hwnnw, ynghylch tair mil o eneidiau, nid yw debygol (meddwch chwi) drochi 'r tair mil hyn tros eu pennau mewn dwfr; pa fodd y gallei Pedr ar Apostolion eraill, sef deuddeg gwr, fedyddio tair mil mewn vn diwarnod? je mewn hanner diwrnod, ple ceid cyfnewid dillad i gynifer o bobl, mewn amser mo'r fyr?

*Atteb.* 1.

*Atteb.* 1. *Yr wyf yn Atteb.* Na ryfeddwch mwyach pa fodd y gallei tair mil o ddynion gael eu bedyddio, yn yr amser byr hynny. Mae 'n ddigonol i bobrhyw Christion eu gredu ef, am fod yr yspryd glân wedi ddywedyd ef.

2. Ond yn gymmaint ac bod chwi'n dywedyd nad oedd onid deuddeg gwr yn gweinidogaethu 'r ordinhâd: nid yw wirionedd, yn ddiammeu bod gyda hwynt y deg disgybl a thrivgain, y rhai oeddent yn weinidogion ag fe allei bod llawer mwy.

3. Pa fod bynnac, gan fod bedydd yn foddiad, hynny yw, trochiad ar Testun y ddywaid, iddynt hwy gael eu bedyddio, fe ganlyn iddynt gael eu trochi, yn y dwfr: yr hyn ac ydychi yn eu ddywedyd ynghylch *Ananias* yn bedyddio *Paul*, ac o fod *Paul* yn bedyddio ceidwad y carchar, ni thâl ddim, nid yw ond defnydd nas haeddei mô i atteb.

Bedyddiwyd *Paul* (ebe chwi) yn ei dy llettu, pan oedd yn glaf.

*Atteb.* Ni ddywedir ei fod yn glaf, na chwaith ei fedyddio yn eu dy lletu, darllenwch y Testun drachefn, gwir ydyw fe ddywedir yn ol eu fedyddio iddo ef gryhau, myfi adnabum laweroedd o ddynion gweinion a gafas ei bedyddio gan eu trochi hwynt yn amser rhew yn y wlad oer yma ag ni dderbyniasant niwed oddiwrtho. Yr ydym yn dywedyd i fod bedydd yn drochiad ac ymysc llawer o rhessymau eraill, yr ydym ni 'n profi y dylyt eu weinidogaethu felly, o herwydd i Joan fedyddiwr, fedyddio yn yr *Jordonen*, ac vn *Enon* yn agos i *Salim*, o herwydd bod dyfroedd lawer yno, *Mat.* 3. 13. *Joan.* 3. 23.

'Chwi attebwch. Os bedyddiwyd rhai trwy drochi, 'bedyddiwyd eraill trwy dywallt dwfr arnynt, fel y pro- 'fasom o'r blaen (ebe chwi) Am hynny mae'r ddwy ffordd 'yn gyfreithlon.

*Yr wyf yn atteb.* Y mae 'n wych fod ein ffordd ni o drochi yn cael ei harddel gennych megis ffordd vnion a chyfreithlon, bydded i chwi ynteu a phawb eraill, i fod yn wagelog, rhag dywedyd o honoch yn ein herbyn; gan ein bod yn gweinidogaethu yr ordinhâd sanctaidd o fedydd yn y ffordd honno, fe ymddengys nad ydym yn cyfeiliorni wrth wneuthur felly oddiwrth eich caniatâd eich hunan.

2. Ond yn gymaint ach bod yn dywedyd i chwi brofi i fedyddio rhai yn y prif amseroedd trwy dywallt dwfr arnynt: nyni a ddangosassom i fod eich profiadau yn rhy fyr ac yn egwan iawn.

3. Y ffordd o weinidogaethu 'r ordinhâd sanctaidd o eiddo Christ, nid oedd ond vn, ar vn, yn holl Eglwysi 'r Saint, as os bedyddiwyd rhai trwy drochi, ac eraill trwy daenellu, neu dywallt dwfr arnynt, yna y mae 'r ordinhâd a gwahanol arwyddoccâd iddi: yr hwn ni ellyt atteb mô honaw, ar rai dynion; oddieithr iddynt gael eu trochi, ai taenellu neu dywallt dwfr arnynt: yr hyn sy'n anhrefnus jawn i ddychymmig yr cyfriw ac a drochyd, neu a gladdwyd tan y dwfr, a wnaethpwyd trwy hynny mewn arwydd ac arwyddoccâd; yn vn ddull a marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ: yr hyn a brofasom mor helaeth i fod yn vn o fawr ddibennion bedydd, fal nas gellyr gwadu mô honaw: ac y cyfriw ag y daenellswyd yn vnig a ddysgasant wrth hynny daenelliad o waed Christ, ac or yspryd glân, megis y mynnwch chwi i'r ordinhâd i arwyddoccau, heb vn sail oddiwrth air duw am dano, yn awr, pa mo'r anhebig ydyw o fod y ddwy ffordd yma yn cael eu harferyd, mysi ai gadawaf i ystyriaeth y doeth ar dysgedig dywiol iw farnu.

'Chwi a ddywedwch yn y lle nessaf nad ydyw 'r Scythur mewn vn lle yn dywedyd i trochi hwynt wrth ei be-'dyddio, os (ebe chwi) dywed y rhai sydd yn erbyn tae-'nellu, i bod yn casglu hynny trwy ganlyniad oddiwrth yr 'Scrythurau a enwyd; hwy a ddylent gofio eu bod yn 'gwrthod canlyniadau scrythurol pan yr ydym ni 'n eu har-'feru i brofi bedydd plant, &c.

*Atteb.* Pe ni fuasei gennyf wr dysgedig i ymddiddan ag ef ni fuaswn i'n rhyfeddu cymmaint. Sr, onid yw bedydd yn tarddu allan or gair Groeg βαπτίζω a βάπτω, ac onid ydyw yn y Cymraeg yn arwydddoccau i drochi? Pa raid yw wrth ganlyniaethau yma? pet fuasei 'n cyfieuthwyr ni yn ffyddlon gyfieuthu 'r gair hwnnw: hwy ai darllenasant ef; mal i mae 'r *Dwtch* yn gwneuthur, megis y crybwyllais i or blaen, sef. *Ende Jesus gedoopt Zijn de is terstont opgeklamen vit bit wter. Ar Jesu wedi ei drochi a aeth yn y fan i* fynu o'r dwfr, *Mat.* 3.6. ac adnod y 6. *Ende wierden van bemge doopt in de Jordan.* A hwy a drochwyd ganddo ef yn yr *Jordonnen*, oddiymma y mae 'r *Dwtch* yn galw Joan fedyddiwr Joan y Trocwr, ac oblegid eich canlyniadau chwi yr ydym ni'n gwadu yn wastodol ei bod hwynt wedy ei tynny 'n briodol neu 'n naturiol, oddiwrth yr yscrythurau hyn, ac ydych chwi yn ei cyfeirio attynt; eithr yn gymmaint ach bod chwi 'n dywedyd nad oes gennym ni ddim

am

am drochi, yr hyn ſydd o ſylwedd bedydd megis yr ydym yn ſiccrhau eu ſod, ond canlyniadau, ſydd haeriad rhyſugus, yr hyn nid yw wirionedd, megis y pryd hyn y gall ſynghydwladwyr goneſt iw weleid os ydynt ddynion didueddol.

'Maent hwy'n tybied (meddwch chwi) i *Joan* drochi y 'rhai a fedyddiodd ef, o herwydd iddo fedyddio yn yr *Jordonen*, ni allant byth brofi mae hynny oedd yr achos, canys 'nid yw'r ſcrythur yn dywedyd beth oedd yr achos pa ham 'y bedyddiodd yn yr Jordonen.

*Atteb.* Sr. Edrychwch yn eich Groeg Teſtun vnwaith drachefn a ddarllenwch, *Mar.* 1. 9. εἰς τὸν Ἰορδάνην I'r Jordonen, a byddei yn beth cymwys i ddywedid iddo ei taenellu hwynt neu dywallt dwfr arnynt yn yr Jordonen? mae'n beth cymwys i ddywedid iddo i trochi hwynt i'r Jorddonen, ac hyn ſydd ſedydd ac nid dim amgen, mal y mae 'n cyfeirio at ordeinhad Chriſt ſef golchiad trwy drochi neu ſoddi i'r Jorddonen neu i'r dwfr.

Er nad ydyw 'r ſcrythur mewn cynifer o eiriau 'n dywedyd, mae hynny oedd yr achos o fod Joan yn bedyddio yn yr Jordonen, etto Sr, cofiwch a dychrynwch wrth y Teſtun hwnnw yn Joan. 3. 23. canys y mae'n cael eu roddi yno gan yr yſpryd glan megis y rheſſwm pa ham y bedyddiodd Joan yn Enon yn agos i Salim ſef, *o herwydd bod dyfroedd lawer yno.* Gan yſpyſſu'n amlwg i nyni na waſanaetha ychydig o ddwfr i weinidogaethu y bedydd ſanctaidd, eithr cymmaint ac y guddio neu y gladdo'r holl gorph ynddo.

'Chwi chanegwch, gan ddywedyd i bod hi'n amheuol 'jawn a ddarſu iddo drochi 'r holl bobl a ddaeth atto, canys 'aeth allan atto ef Jeruſalem a holl Judea, ar holl wlad 'o amgylch yr Jorddonen a hwy a ſedyddiwyd ganddo 'ef, *Matt.* 3. 5, 6. ni allwn farnu (ebe chwi) iddo fe'dyddio llai na chan mil o wyr a gwragedd, *&c.* Mae'n 'ſiccr (ebe chwi) fod llawer mwy o bobl yn yr holl wlad, 'ond yr oedd yn amhoſſibl iddo allel trochi cynnifer o 'ddynion yn amſer byr eu weinidogaeth yr hon ni pharhaodd ond tair blynedd, ac or tair hynny gorweddodd 'yngharchar hanner blwyddyn, fel na bu iddo bregethu a bedyddio ond tros ddwy flynedd a hanner, *Vide Light. Vol.* 1. *Page* 234.

*Atteb.* Mi debygwn fod yr hyn ac ydych chwi 'n eu ddywedyd yma, yn beth dieithrol jawn ych bod chwi gymaint ac vnwaith yn dychymmig i Joan fedyddio yr holl bobl yn gyffredinol yn Jeruſalem, a Judea yn ddilyſiant, pa ham

na

na offodasech i mewn yr holl blant hefyd yn gystal a gwyr a gwragedd? mi a ymddiddenais yn ddiweddar ag vn *Mr. Excel*, yr hwn mewn traethawd oi eiddaw, a haerod hynny hefyd yr hwn a ddarfu imi atteb, ynghyd a llawer o gwilydd iddo, y mae 'n ofid arnaf nad oes gennych well gwybodaeth mewn scrythur Rhetoric, ple yn fynych per Synechdochen, *vel totius, vel partis*, mae y rhan yn cael eu gosod yn lle'r cwbl, neu'r cwbl yn lle 'rhan. Megis i dywedyr y mynnei Duw i fod pawb yn gadwedig, sef, rhai o bob mâth a graddau o ddynion, megis brenhinoedd pendefigion, hen, jefaingc, cyfoethog a thlawd, *&c.* Felly dywedir *am Grist pan ddercbefyt i fynu oddiar y ddaiar y tynnei efe bawb atto ei hun* πάντας ἑλκύσω πρὸς ἐμαυτόν, Joan. 12. 32. ai ydyw efe 'n meddwl pob dyn yn ddiwahan, ai ynteu rhai o bob mâth sef o Iddewon a chenhedloedd? felly mae *Paul* yn dywedyd, *pawb a geisiant yr eiddynt eu bunain*, &c. *Vide Glassicum Illericum Philolog. Sacr.* Ac hefyd ein Nodadwyr diweddar, y rhai a ddywedant wrthych; fod y gair neu'r term [ holl ] yn cael eu ddywedyd yma ddwywaith, *Mat.* 3. 5. καὶ πᾶσα ἡ Ἰουδαία καὶ πᾶσα, *&c.* Mae'n ddigonol ini wybod i fod yn arwyddoccau yn yr yscrythur ddim pellach na llawer, canys (ebe nhwy) ni ellyr tybied i bob dyn yn ddiwahan, ac oedd yr Jerusalem, ar holl wledydd oddiamgylch yr Jordonnen, fyned allan i wrando Joan fedyddiwr.

2. *Yr ydych yn angbofio'r testun hwnnw yn* Joan. 3. 16. *Am yr hwn y tystiolaethais di wele mae hwnnw yn bedyddio a phawb yn dyfod atto ef* καὶ πάντες ἔρχονται πρὸς αὐτόν, *i. e.* at Jesu Christ fe ddywedyr hefyd yn Joan. 4. 1. 2. fod yr Jesus yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddiscyblion nag Joan. os bedyddiodd Joan hwynt i gid, ar Jesu eu bedyddio hwynt i gid, yna hwy a fedyddiwyd ddwywaith neu a ailfedyddiwyd i gid ac os felly yr oeddent yn gymwys yn *Anabaptistiaid* y gid.

Sr, Yn y ddau leoedd hyn, nid yw yn meddwl onid rhai.

Chwychwi Fritaniaid mwynion a charedig, cymerwch ofal pa fodd yr ydych yn cael eich tywys gan wr sydd mo'r anhrefnus ei ymresymau: nid wyf yn ammeu nas gall ef i fod yn wr da, eithr dan gwmmwl o dywyllwch.

2. Nid wyf i'n dirnod pa fodd y gallei *Dr. Lighfoot* neu chwithau i brofi na phregethodd Joan onid dwy flynedd a hanner eithr pet fuasei iddo fedyddio cant o ddynion

bob

bob dydd efe allasei 'n hawdd eu wneuthur mewn yspaid 4 awr a amser, neu o amgylch hynny. Ond och ? Nid oedd ganddo efe na'n hiachawdr gymmaint o ddisgyblion, ac yr ydych chwi'n eu ddychymmygu o fod : nifer y discyblion yn ol adgyfodiad Christ, Megis yr ydym yn darllen yn yr Actau, oedd onid vgain a chant ac oeddent yn yr vn man, ysgatfudd y gallei ryw ychydig yn ychwaneg, i fod mewn rhai lleoedd eraill.

4. Ond yr ydych mi welaf yn gwrthnebu 'r yspryd glân trwy ddywedyd i Joan dywallt dwfr arnynt, sef i taenellu hwynt, oblegid taenellu a thywallu sydd vn peth, a bedyddio sydd beth arall, ac yn weithred lwyr wahanol. Sr, yr wyf i'n appelio i'ch cidwybod pa vn ai bod felly ai peidio, ac yn siccrhau nad yw taenelliad yn fedydd, dywedwch yr hyn a fynnoch.

Yr ydych chwi'n Crybwyll yn y lle nessaf yr hyn ac ydym ni'n eu wrthddadlau oblegid *Philip* ar Eunuch, iddynt fyned i wared ill dau ir dwfr pan fedyddiwyd yr Eunuch, y hyn yr ydych yn Atteb. 'Gan ddywedyd, pa fodd y mae 'hynny 'n canlyn ? oni allent hwy fyned ir dwfr heb ym-'drochi ynddo ? yr ydym yn *Gen.* 24. 45. Yn darllen (ebe 'chwi ) i *Rebecca* fyned i wared i'r ffynnon, a ydyw yn 'canlyn iddi ymdrochi yno ? chwi ddywedwch am eich 'morwyn pan el i hôl dwfr, hi aeth i wared i'r afon, nid 'ydych yn meddwl ei bod yn ymdrochi yno ?

Yr wyf yn Atteb. Fe allesyt dywedyd yn gymwys am *Rebecca* iddi fyned i wared ir ffynnon o herwydd mewn rhai ffynhonnau y mae amriw, o gamrau neu raddau cyn dyfod o honom at y dwfr. Ni ddywedir iddi fyned ir dwfr, ac hefyd pwy o honom ni a ddywaid pan el ein morwyn i-dynnu dwfr neu hôl ddwfr o afon, iddi fyned ir afon os dywaid neb felly, ni ddywedant y gwirionedd, eithr yn siccr gelwydd.

Sr, Cymerwch ofal am yr hyn ac ydych chwi 'n eu ddywedyd, nid yw'r yspryd glân yn dywedyd iddynt fyned i wared at y dwfr eithr εἰς τὸ ὕδωρ aethant i wared ill dau ir dwfr, ac ai bedyddiodd ef, sef, ai trochodd ef nid eu daenellu ef.

'Chwi a ddygwch i mewn ein gwrthressymmiad ni 'yn erbyn eich taenelliad chwi o'r *Rhuf.* 6. 3. 4. *Col.* 2. '12. 13. Fe ddywedir ein claddu ni gyda Ghrist trwy fe-'dydd i farwolaeth yr hyn yr ydych chwi yn Atteb. I'n bod 'ni yn claddu trwy daflu pridd a'r y corph ac y mae ty-

'walltiad

'walltiad dwfr (ebe chwi) yn arwyddoccau hynny ni 'ellyr dywedyd fod vn wedi gladdu a syrthio dan ddwfr 'neu ddaiar oddieithr iddo aros yno tros amser. Yr hwn a ddescyn i bwll glô mae tan y ddaiar eithr nid yw wedi 'gladdu, o herwydd i fod yn dyfod allan yn yman, am 'hynny nid yw trochi yn arwyddoccau claddu, oddieithr ir 'hwn a drochir aros tros amser tan y dwfr.

Yr wyf yn Atteb. Gwir ydyw yr ydym yn claddu trwy daflu pridd ar y corph marw eithr cymaint o bridd ydyw ac sydd yn cudio yr holl gorph drosto. Os amgen nid yw wedy gladdu: os bydd i chwithau dywalltu dwfr ar blentyn hyd oni fytho wedi ei guddio yn gwbl drosto mewn dwfr fe a ellyr dywedyd yn wir ir plentyn hwnnw gael ei gladdu mewn dwfr. Er nad yw'r claddedigaeth mewn bedydd trwy dywallt amlder dwfr, hyd oni bo wedi eu guddio, eithr trwy fyned ir dwfr a chael eu drochi yno neu gael eu soddi yn y dwfr hyd oni fytho 'n gwbl drosto. Fel y gallo pawb i weled fod y corph yn cael eu gladdu tan y dwfr mo'r gyfattebol ac mo'r gymwys a phe byddynt yn eu gladdu yn y ddaiar.

3. Er bod dyn yn cael eu ossod yn y bedd ai gwbl guddio gan bridd er na bo hynny onid dwy fynudun, fe ellyr dywedyd am dano mor siccr, ac mo'r gymwys iddo gael eu gladdu, ar hwn y fytho yn gorwedd yno er ys tri diwrnod neu 100 o flynyddoedd, ond ni fynnwch chwi fod bedydd yn vn arwyddoccâd cymwys o gladdedigaeth, oddieithr yr hwn a fedyddir aros cyhyd yno nes bo efe wedi foddi.

Sr, Mae bedydd yn arwyddoccau, marwolaeth Christ ac o'r hen ddyn neu gorph pechod yr hyn sydd mo'r rhagorawl yn cael eu ddal' allan, gan fynydun neu ddwy, a chan lawer o ddyddiau.

Ac yn awr i roddi cwbl distawrwydd ich gwrthddadleuon ofer, mysi a roddâf i chwi ystyrio cwmwl mawr o dystion ynghylch y gwir esponiad o'r testun hwnnw yn *Rhuf.* 6. 3, 4. ar *Col.* 2. 12, 13. A hynny yn ddiaetreg, ond os ydyw fynghidwladwyr gonest yn tybied i chwi roddi gwell esponiad or geiriau, nae y roddyff y gwyr dysgedig hyn, ni ddywedaf 'i ddim ymhellach (ebe chwi) nid yw'r 'gyffelybiaeth ynteu rhwng bedydd a marwolaeth yn sefyll 'mewn trochi 'r corph yn gymaint, ac yn niben yr ordinhâd in gwneuthur yn gyfrannogion oi farwolaeth, oi fywyd 'oi escyniad ai eisteddiad ar deheulaw duw.

'Mae bedydd yn ein gwneuthur yn gydblanhigion i gyffe'
'lybiaeth ei farwolaeth ef, etto nid oes neb (meddwch
'chwi) yn plannu cyrph mewn dwfr wrth ei bedyddio,
'*Rhuf.* 6. 5.

*Att.* Nyni a gawn yn y bennod nessaf lwyr ddibennu y pwngc mawr yma, gan ddangos i chwi trwy eglur rhesymmau ynghyd a chyssondeb lliaws o Wyr dysgedig y rhai oeddent ac ydynt *Paedobaptistiaid* i fod y cyffelybiaeth rhwng marwolaeth claddedigaeth, ac adgyfodiad a bedydd yn sefyll yn yr arwydd oddiallan o drochi yn gystal an bod ninnau 'n gyfrannogion o fendithion marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ: Mae pawb yn gwybod am yr ordinhâd o Swpper yr arglwydd i fod yr arwyddion yn arwyddocâol, ac ni bydd vn *Protestant* cywyr ganiattau mo'r cyfriw weinidogaeth o honi; ymha vn ni fyddo torriad o gorph Christ na thywalltiad oi waed ef yn cael eu eglur arwyddoccau o flaen ein llygaid, pa ham y mae 'r ffordd Pabaidd o weinidogaethu yn cael eu gwrthod, y rhai ydynt yn gommedd y Cwppan ir bobl gyffredin, os ni dddylit cadw yn berffaith gwbl at yr vnjawn arwyddion yn gystal ac i gadw yn y meddwl y petha a arwyddocceir trwyddynt? Nage Sr, yr wyf i yn eich cael chwi yn eich trydydd bennod yn cyfiawnhau ych taenelliad yn ystyfnig jawn; gan haeru am gyssondeb rhwng yr arwydd ar peth y arwyddocceir ac nad ordeinwyd bedydd i fod yn arwydd neu 'n gyffelybiaeth o daenelliad gwaed Christ eithr oi farwolaeth, claddedigaeth ai adgyfodiad, yr hyn (trwy gymorth dwy) a geiff eu heglurhau ymhellach.

Ynawr ystyriwch, mae megis ac y mae yn Swpper yr arglwydd y cyfriw faentiolaeth o fara a gwin yn cael eu harferyd ac y fyddo i arwyddoccau torriad eu gorph a thywalltiad ei waed, ac fal yr ydoedd y Sacrament hwnnw wedi ei appwintio i'r vnig ddiben a'r perwyl hynny, felly yn yr vn modd yr ydym yn dywedyd hefyd mae cymaint o ddwfr y ddylit eu arferyd ac allo arwyddoccau claddedigaeth ac adgyfodiad ein achybwr bendigedig: eithr vn Mr. *Burckit* ac ydoedd yn dala bedydd plant mewn traethawd oi eiddaw a ddywaid mae yn y Sacramentau nid y maintiolaeth o'r Elfannau y ddylit eu hystyriaid, ond yr arwyddoccâd o honynt: Enwaediad (eb efe) nid ydoedd gymmaint o ran y maentiolaeth o dorriad ymaith y cnawd, ac ydoedd yr arwyddoccâd o honaw, &c. ac y mae 'n debygol eich bod chwithau hefyd yn dywedyd ir vn perwl i ba vn myfi

a roddais

a roddais iddo'r attebiad yma, sef y dylei fod cymmaint o fara a gwin yn y Sacrament o Swpper yr Arglwydd ac a fyddo i arwyddoccau torriad o gorph Christ, a chymaint o win ac a fyddo mewn arwydd yn gystal ac mewn arwyddoccâd i ddal' allan Dywalltiad o waed Christ, os amgen nid yw mo ddiben Christ yn cael ei atteb yn y Sacrament honno, ac felly hefyd y mae'n rhaid i gladdedigaeth ac adgyfodiad Christ fod mewn arwydd, yn gystal a marwolaeth i bechod a'n adgyfodiad drachefn i newydd-deb buchedd i gael eu harwyddoccau yn y bedydd santaidd, pe buasei bobl Israel wrth Enwaedu yn torri ymaith dammaid bychan oi blaen-grwyn yn vnig ac nid yn llwyr oddiamgylch neu pe buasent yn unig yn torri hewinnedd eu plant ynghyd âg ychydig o groen, a fuasei hynny yn atteb meddwl Duw yn y *ddefod* honno, neu a gid-ddygasit a hwynt yn ymddadleu y gallei mo'r gystal atteb ir Enwaediad mewn arwyddoccâd, eithr y gwagedd ar pechadyrus haeriad hyn och eiddo chwi a *Mr. Burckit* a geiff eu osod allan etto yn y bennod hon, cyn myned rhagom yn y blaen, mi a gaf chwanegu gair neu ddau mewn perthynas yr hyn ac ydych chwi'n eu ddywedyd, oblegid y golchiadau rheini ac oeddent yn eu harferyd tan y gyfraith, y rhai sydd yn cael eu galw yn fedyddiadau, yr rhai oeddent (ebe chwi) yn cael eu gwneuthur trwy daenelliad, yr hyn nid yw wirionedd, yr ydym ni yn gwadu o fod neb or golchiadau rheini ac a alwyd yn fedyddiadau yn cael gwneuthur mo honynt na thrwy daenelliad na thrwy dywalltiad dwfr arnynt, ond trwy gwbl drochi eu holl gyrph yn y dwfr ac felly mae'r parchedig;

*Mr. Ainsworth* gwr dysgedig jawn yn holl ddefodau a ceremoniau yr Iddewon yn siccrhau ar *Levit.* 11. 31. gwel eu *nodiad* ar y Testun; eu eiriau ef ydynt y rhai hyn sef *pawb ac ydynt aflan, pa vn bynnag ai dynion, ai llestri nid ydynt wedi eu glanhau onid trwy drochi neu bedyddio mewn dwfr, a pha le bynnag y mae'r gyfraith yn dywedyd am olchi cnawd dyn neu olchi dillad o berwydd aflendid, nid yw amgen onid trwy drochi'r holl gorph ynddo: a pha vn syddont ai dynion ai llestri ni all dim i fod rhyngddynt hwy ar dwfr i cadw or neilldu, megis llaid, pyg neu 'r cyfriw ac y fo i lynu wrth y corph neu 'n llestr os byd* ( eb efe ) *i maent yn aflan, ai golchiad ni lessa iddynt; dros hyn y mae efe yn nodi Maim Miknaoth*, c. 1. § 12.

Sr,

Sr, Pa beth a ddaeth och taenellîad chwi o'r *gwppanau, ystenau* ac *esyddynnau* ymhlith yr Iddewon pan yn dywedyr iddynt eu golchi neu bedyddio hwynt ; efe ymddengys mae eu ffordd hwynt o olchi ydoedd cwbl drochiad, os amgen nid oeddent wedi eu glanhau, ac y nawr i fyned rhagom yn y blaen i brofi mae bedydd ydyw soddiad neu drochiad yn gyfattebol mewn arwydd i farwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ, ac mewn arwyddoccad i ddal' allan ein marwolaeth ninnau i bechod an hadgyfodiad drachefn i rodio mewn newydddeb buchedd sef y cyfriw ac a fedyddir, mysi a brofaf hynny 'n nessaf, *yn gyntaf oddiwrth yr ysgrythur, yn ail trwy rhessymmau cwmwl mawr o dystion, yn gystal yr hen dadau, diseinwyr diweddar ar ysgrifenwyr Protestanaidd parchedig.*

(1.) Y scrythur gyntaf yw *Rhuf. 6. 3, 4, 5, 6. Claddwyd ni gan hynny gyda ef trwy fedydd, &c.* Y seintiau neu holl eglwys y Rhufeiniaid oeddent yn cyfri eu hunain yn feirw i bechod ac yn rhwym nid i fyw ymhellach ynddo, a hynny oblegid iddynt hwy trwy fedydd (megis mewn dull fywiol) ddal allan yr vn peth, fel ymddengys wrth hyn fod dau fath o arwyddoccad mewn bedydd.

1. Y mae ynddo pan'r ydys 'n ei wir ai jawn weinidogaethu, nid yn vnig arwyddoccad o gladdedigaeth ac adgyfodiad Christ eithr hefyd y mae'n arwyddoccau ein marwolaeth i bechod a'n adgyfodiad drachefn i rodio mewn newyddeb bychedd ; ag yn siccr' y mae'r Apostol 'n arferyd hyn megis Rhesswm, i gymmell newyddeb bychedd arnynt oll, trwy'r peth y arwyddocceir mewn bedydd ; *megis pe dywedasei* cynifer o honom ni ac ydym wedi ein bedyddio, a ddylau wybod hyn, sef ein bod ni wedi ein bedyddio i farwolaeth Crist ac am hynny ni a ddylein farw i bechod a byw bywyd newydd ; ond yr ydym ni oll wedi ein bedyddio neu ein claddu gydag ef trwy fedydd: am hynny rhaid i ni oll farw i bechod a byw bywyd newydd.

Ein Esponwyr diweddar ar y lle y ddywedent fel hyn, i fod ef yn golygu ar y modd o fedyddio 'n y gwledydd twymion hynny, yr hyn oed, ebe nhwy, trwy drochi neu i soddi yr hwn a fedyddiwyd ag megis pe byddit 'n eu gladdu ef dros amser tan y dwfr.

*Cajetan* ar yr vn testun y ddyweid, ' Claddwyd ni gyda ' Christ trwy fedydd i farwolaeth trwy ein claddedigaeth

 ' y mae

a roddais iddo'r attebiad yma, sef y dylei fod cymmaint o fara a gwin yn y Sacrament o Swpper yr Arglwydd ac a fyddo i arwyddoccau torriad o gorph Christ, a chymaint o win ac a fyddo mewn arwydd yn gystal ac mewn arwyddoccâd i ddal allan Dywalltiad o waed Christ, os amgen nid yw mo ddiben Christ yn cael ei atteb yn y Sacrament honno, ac felly hefyd y mae'n rhaid i gladdedigaeth ac adgyfodiad Christ fod mewn arwydd, yn gystal a marwolaeth i bechod a'n adgyfodiad drachefn i newydd-deb buchedd i gael eu harwyddoccau yn y bedydd santaidd, pe buasei bobl Israel wrth Enwaedu yn torri ymaith dammaid bychan oi blaen-grwyn yn vnig ac nid yn llwyr oddiamgylch neu pe buasent yn unig yn torri hewinnedd eu plant ynghyd âg ychydig o groen, a fuasei hynny yn atteb meddwl Duw yn y *ddefod* honno, neu a gid-ddygasit a hwynt yn ymddadleu y gallei mo'r gystal atteb ir Enwaediad mewn arwyddoccâd, eithr y gwagedd ar pechadyrus haeriad hyn och eiddo chwi a *Mr. Burckit* a geiff eu ossod allan etto yn y bennod hon, cyn myned rhagom yn y blaen, mi a gaf chwanegu gair neu ddau mewn perthynas yr hyn ac ydych chwi'n eu ddywedyd, oblegid y golchiadau rheini ac oeddent yn eu harferyd tan y gyfraith, y rhai sydd yn cael eu galw yn fedyddiadau, yr rhai oeddent (ebe chwi) yn cael eu gwneuthur trwy daenelliad, yr hyn nid yw wirionedd, yr ydym ni yn gwadu o fod neb or golchiadau rheini ac a alwyd yn fedyddiadau yn cael gwneuthur mo honynt na thrwy daenelliad na thrwy dywalltiad dwfr arnynt, ond trwy gwbl drochi eu holl gyrph yn y dwfr ac felly mae'r parchedig;

*Mr. Ainsworth* gwr dysgedig jawn yn holl ddefodau a ceremoniau yr Iddewon yn siccrhau ar *Levit*. 11. 31. gwel eu *nodiad* ar y Testun; eu eiriau ef ydynt y rhai hyn sef *pawb ac ydynt aflan, pa vn bynnag ai dynion, ai llestri nid ydynt wedi eu glanhau onid trwy drochi neu bedyddio mewn dwfr, a pha le bynnag y mae'r gyfraith yn dywedyd am olchi cnawd dyn neu olchi dillad o herwydd aflendid, nid yw amgen onid trwy drochi'r holl gorph ynddo: a pha vn fyddont ai dynion ai llestri ni all dim i fod rhyngddynt hwy ar dwfr i cadw or neilldu, megis llaid, pyg neu 'r cyfriw ac y so i lynu wrth y corph neu'n llestr os byd* (eb efe) *i maent yn aflan, ai golchiad ni lessa iddynt; dros hyny mae efe yn nodi Maim Miknaoth*, c. 1. § 12.

Sr,

Sr, Pa beth a ddaeth och taenellìad chwi o'r *gwppanau, ystenau* ac *esyddynnau* ymhlith yr Iddewon pan yn dywedyr iddynt eu golchi neu bedyddio hwynt; efe ymddengys mae eu ffordd hwynt o olchi ydoedd cwbl drochiad, os amgen nid oeddent wedi eu glanhau, ac y nawr i fyned rhagom yn y blaen i brofi mae bedydd ydyw soddiad neu drochiad yn gyfattebol mewn arwydd i farwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ, ac mewn arwyddoccad i ddal' allan ein marwolaeth ninnau i bechod an hadgyfodiad drachefn i rodio mewn newydddeb buchedd sef y cyfriw ac a fedyddir, mysi a brofaf hynny 'n nessaf, *yn gyntaf oddiwrth yr yscrythur, yn ail trwy rhessymmau cwmwl mawr o dystion, yn gystal yr hen dadau, diseinwyr diweddar ar yscrifenwyr Protestanaidd parchedig.*

(1.) Y scrythur gyntaf yw *Rhuf.* 6. 3, 4, 5, 6. *Claddwyd ni gan hynny gyda ef trwy fedydd, &c.* Y seintiau neu holl eglwys y Rhufeiniaid oeddent yn cyfri eu hunain yn feirw i bechod ac yn rhwym nid i fyw ymhellach ynddo, a hynny oblegid iddynt hwy trwy fedydd (megis mewn dull fywiol) ddal allan yr vn peth, fel ymddengys wrth hyn fod dau fath o arwyddoccad mewn bedydd.

1. Y mae ynddo pan'r ydys 'n ei wir ai jawn weinidogaethu, nid yn vnig arwyddoccad o gladdedigaeth ac adgyfodiad Christ eithr hefyd y mae'n arwyddoccau ein marwolaeth i bechod a'n adgyfodiad drachefn i rodio mewn newyddeb bychedd; ag yn siccr' y mae'r Apostol 'n arferyd hyn megis Rhesswm, i gymmell newyddeb bychedd arnynt oll, trwy'r peth y arwyddocceir mewn bedydd; *megis pe dywedasei* cynifer o honom ni ac ydym wedi ein bedyddio, a ddylau wybod hyn, sef ein bod ni wedi ein bedyddio i farwolaeth Crist ac am hynny ni a ddylein farw i bechod a byw bywyd newydd; ond yr ydym ni oll wedi ein bedyddio neu ein claddu gydag ef trwy fedydd: am hynny rhaid i ni oll farw i bechod a byw bywyd newydd.

Ein Esponwyr diweddar ar y lle y ddywedent fel hyn, i fod ef yn golygu ar y modd o fedyddio 'n y gwledydd twymion hynny, yr hyn oed, ebe nhwy, trwy drochi neu i soddi yr hwn a fedyddiwyd ag megis pe byddit 'n eu gladdu ef dros amser tan y dwfr.

*Cajetan* ar yr vn testun y ddyweid, ' Claddwyd ni gyda ' Christ trwy fedydd i farwolaeth trwy ein claddedigaeth

 ' y mae

‘ y mae ’n dangos ein marwolaeth trwy ’r ddefod neu ’r
‘ ceremoni o fedydd oblegid i fod ’r hwn a fedyddir ’n cael ei osfod tan y dwfr, a thrwy hyn yn dangos cyffly-brwydd o’r hwn a gladdwyd, yr hwn a osfodwyd tan y ddaiar, y nawr oblegid na chladdir neb ond dynnion meirwon—— oddiwrth yr vnig beth yma o’n bod ni yn cael ein claddu mewn bedydd, yr ydym ni’n tebygu claddedigaeth Crist, neu pan y claddwyd.

Y mae’r Gymanfa ’n ei Nodiadau ar y testun hwn o’r Scrythur ’n dywedyd yn ’r vn modd fel hyn, sef yn ’r hwn destun y mae’r Apostol ’n golygu ar ’r hen arfer o fedyddio, yr hwn ydoedd trwy drochi ’r rheini a fedyddiwyd ac megis pe byddit yn eu claddu hwynt dan ddwfr dros ychydig amser ac yno ei cyfodi hwy fynu drachefn, i arwyddoccau claddedigaeth yr hen ddyn ar adgyfodiad i newyddeb bychedd.

Yr vn peth y mae *Diodate* ’n ei ddywedyd.

*Tilenus yscryfenydd protestanaidd* mawr sydd yn dywedyd ’n helaeth ’n yr achos hyn, Bedydd (eb efe) yw’r, Sacrament cyntaf o’r Testament Newydd, a ordeiniwydd gan Grist yn yr rwn y mae perffaith gyffondeb rhwng ’r arwydd ar hyn a arwyddocceir: y mae ’r drefn oddiallan ’n dair rhan.

*Yn gyntaf, ein soddiad i’r dwfr.*
*Yn ail, ein arhosiad tan y dwfr.*
*Yn drydydd, ein adgysodiad or dwfr.*

Y ffurf sylweddol oddiallan o fedydd nid yw amgen na chidsyniol gyfattebolrwydd yr hyn y mae ’r arwyddion yn eu gadw ac yr hyn a arwyddocceir trwyddynt, canis naturiaeth y dwfr yw i olchi ymmaith fydreddi ’r corph, yr hyn sy’n gossod allan (mewn cyfflybiaeth mwya cyfaddas) effeithiolaeth gwaed Crist yn dileu ymaith bechod, felly trochiad ir dwfr mewn cyfflybiaeth mwya bywiol sy’n gossod allan farwhaâd ’r hen ddyn, ar adgyfodiad o’r dwfr fywhaâd y dyn newydd, yr vn soddiad i’r dwfr (eb efe) sy’n dala allan i nyni y trasiwngc ofnadwy hynny o gysiawnder Duw, ymha vn er ein mwyn ni dros ychydig y llyngcwyd Crist i fynni; ein arhossiad (pa leied bynag o amser) sy’n hyspyssu eu ddescyniad i vffern yr disywiolaeth mwya, yr hwn gan orwedd yn ei fedd feliedig

mewn

mewn diogelwch a gyfriwyd fel vn marw ; ein adgyfodiad o'r dwfr fydd'n dal allan i ni y cyfflybrwydd bywiol o'r fyddugoliaeth honno a enillodd y gwr marw yma oddiar angeu, yn yr vn modd (eb efe) mae 'n addas gan hynny fod i ni gael ein bedyddio iw farwolaeth ef, an claddu gydag ef; ni a ddylem gyfodi gyda ag ef hefyd i fyned rhagom 'n y blaen mewn bywyd newydd, hyd yma *Tilenus*.

Bydded i bod crifton myfyriol a dyfrifol yftyried yn fanol yn gymaint a bod 'r ordinhâad fanctaidd wedi ei appwintio i arwyddoccau fel hyn, megis y mae 'r gwr hwn ag amriw eraill o wyr dyfcedig 'n yftyried, pa mor drift a galarus yw? fod y wir ffordd o fedyddio 'n cael ei newid o drochi i daenellu, yr hwn nid yw ac ni all dal allan y digeledigaethau mawrion i'r perwyl hynny ac yr ordeinhwyd bedydd gan ein jachawdr Chrift, canys eglur ydyw 'nas geill taenelliad ddwyn dim cyfattebolrwydd ir dirgeledigaethau hyn, ac nis gellyr mo 'i harwyddoccau trwyddo, pa ddull o gladdedigaeth Chrift neu o'r hen ddyn fydd i weled, wrth daenellu ychydig ddiferion o ddwfr ar ei wyneb, neu pa arwyddoccâd fydd yn y weithred honno o'r adgyfodiad? Och, y modd y mae bedydd fanctaidd Chrift yn cael eu wradwyddo gan y taenelliad dychmygawl hyn, a'r arwyddoccâd o honaw yn cael eu ddiniftrio! yr arglwydd agoro eich llygaid chwi, neu lygaid fy 'narllennydd duwiol a didueddol: hyn a ddengys yn eglur i chwi, beth ydyw gwir fedydd Chrift, ar cyfriw ac y mae 'n perthin iddynt. Ond i fyned rhagom yn y blaen *Saint Ambrofe* y ddywaid, Mae dwfr ydyw'r hwn ymha vn y mae 'r corph yn cael eu drochi: i olchi ymaith yr holl bechodau. Yno mae'r holl bechodau (eb efe) yn cael ei claddu; ond yr ydym ni yn tybied i fod ef yn meddwl mae arwydd o hyn ydyw, fef i fod pob pechod yn cael eu gladdu; heb law hynny mae *Chryfoftom* yn dywedyd i fod yr hen ddyn yn cael eu gladdu ai foddi yn y foddiad tan y dwfr, a phan y mae 'r hwn a fedyddir yn cyfodi allan drachefn o'r dwfr y mae 'n arwyddoccau, adgyfodiad y dyn newydd i newydd-deb buchedd, ac felly yn dibennu ar yr ymarferiad gwrthnebol yr hwn fydd nid yn vnig yn erbyn y gyfraith eglwyfig eithr yn erbyn cyfattebolrwydd ar dirgel arwyddoccâd y Sacrament yr hyn beth nis gellir mo'i vno ag ef.

 Efe

Efe a fu yn rhy hir mal y nodais o'r blaen, Duw a ganiattao i ddynion fwy goleini i weled eu cyfeiliornad a ffieiddio mwyach rhag gwneuthur felly.

'*Keckerman* y ddywaid, mae trochiad ac nid taenelliad 'oedd yr ordinhâd gyntaf o fedydd megis yr ymddengys '(eb efe) yn eglur oddiwrth, *Rhuf*, 6. 3. Ac meddafi pa le y darfu Chrift ynol yr ordinhâd gyntaf, ordeinio tywalltiad neu daenelliad yn lle soddiad neu drochiad. Neu roddi awdyrdod i newid yr arwydd pwysfawr hynny ir coegbeth diarwydd o daenelliad? oni ddylem ni gadw'r ordinhadau megis yr hordeinwyd ar y cyntaf ac y rhoddwyd hwynt ir feintiau? onid yw gair Duw i fod yn rheol ini, yn holl byngciau ac ymarferiad hyd ddiwedd y byd; a roddodd Chrift ganiattâd i neb rhyw ddynion neu Eglwys i newid ei gyfreithiau ai ordinhadau, neu gwneuthur hwynt yn ddiddim trwy eu traddodiadd neu offed i fynu ei pyft wrth eu boft ef.

Y mae Duw yn cwyn trwy'r Prophwydi yn erbyn eu bobl gynt am ryfygu o honynt i newid ei gyfreithiau, *Deut*. 12. 13. Duw a roddodd orchymyn neillduol i wneuthur allor aur i arogldarthu, *Exod*. 40. 5. ac ef orchymynodd yn *Exod*, 20. 14. 15. y byddei allor ef i gael eu gwneuthur o bridd, neu o gerig geirwon. Eithr yn *Esa*. 65. 3. Y mae efe yn ceryddu eu hanwireddau ofnadwy ai hanufuddod yn gweithredu yn wrthwyneb iw eglur ordinhâd. *Pobl* (medd Duw) *y rhai am llidient i yn waftod yn fy wyneb. yn aberthu mewn gerddi ac yn arogldarthu ar allorau prif feini*: chwi ellwch dybied nad ydoedd hynny yn gyfeiliornad mawr yn lle aur neu gerig i wneuthur allorau o bridd-feini: Eithr beth y ddywaid Duw, y rhai am llidient am hyn, &c. Yn waftadol yn fy wyneb; ô arfwydwch chwi y rhai ydych yn anturio i drofeddu gorchymyn Duw, mewn cynddrwg modd neu'n hytrach yn waeth! Yr hwn a orchymynodd i chwi fedyddio neu drochi 'r credadwy *yn enw yr tâd*, &c. a chwithau ydych yn taenellu plant bach: ôch ni wyddoch pa fodd yr ydych yn llidio Duw yn y peth hwn! er eu fod etto yn ddiftaw, ac nid yw'n amlygu mo'i anfodlonrwydd; etto gwybyddwch mae Duw eiddigus yw efe, a chanddo yr vn zêl am eu ordinhadau efangylaidd ac oedd ganddo efe erioed am y rhai hynny tan y gyfraith ac a all eu heglurhau yn eu amfer ei hunan; ond i fyned rhagom yn y blaen. I alw am ychwaneg o dyftion yn erbyn eich arferiad chwi.

Daill:

*Daille* ar y tadau a ddywaid mae harferiad yr hen Eglwys gynt oedd i foddi y rheini a fedyddiwyd tros y pen ar clustiau mewn dwfr,ac (eb efe) *Tertullian* yn eu drydydd lyfr *De cor. mil.* a *Cyprian* yn eu ddeg llythyr a thrivgain tu dalen 211, *&c.* ac eraill sy'n tystiolaethu yr vn peth.

Dr. *Cave* y ddywaid fod yr hwn a fedyddiwyd yn cael eu gwbl foddi neu ossod tan y dwfr,yr hyn ydoedd yr arferiad gwastadol a chyffredinol 'r amseroedd hynny trwy yr hwn yr oeddent yn arwyddoccau ac yn eglurhau y mawr ddibenion ac effeithiau bedydd, yn dra rhagorol megis ac mewn trochiad.

Y mae tair gweithred gwahanredol, Gossodiad y person ir dwfr, ei harossiad tan y dwfr ai gyfodiad i fynu drachefn; wrth hyn yn arwyddoccau marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ ac yn ein cydffurfiad iddo,ein marw i bechod, dinistriaeth o'r awdyrdod, an hadgyfodiad i fywyd newydd, megis ac wrth y personau ac oeddent yn cael eu gossod ir dwfr yr oeddent yn fywiol arwyddoccau gossodiad ymaith gorph pechodau 'r cnawd, *&c.* wrth ei fod tano ef, (yr hwn sydd sáth o gladdedigaeth yn y dwfr) ei synediad i ystâd o farwolaeth neu farwhâd,megis yr arhosodd Christ dros ychydig amser dan yr ystâd neu awdyrdod marwolaeth,ac am hynny y dywedyr mae cynnifer ac a fedyddiwyd i Grist a fedyddiwyd iw farwolaeth ef, *&c.* ynol hynny cyfodiad i fynu o'r dwfr sy'n arwyddoccau ei synediad ar fywyd newydd, fel megis ac y cyfodwyd Christ o feirw trwy ogoniant y tâd,felly rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb bychedd fal hyn y Dr. *Cave.*

Fe ddywedyr ein bod ni, medd *Pareus*, i farw ac i gael ein claddu gyda Christ mewn bedydd ac a ddengys ymhellach i fod y weithred oddi allan o gladdedigaeth mewn dwfr yn ymddangossiad bywiol, o'r gwaith oddiallan o'r adenedigaeth.

Saint *Bernard* a ddywaid i fod trochiad yn arwyddoccad o farwolaeth a chladdedigaeth: yn erbyn yr holl dystiolaethau hyn a lliaws yn ychawneg o'r Scrifenwyr goref a mwya dysgedig; mae Mr. *Burcket* yn gwrth-rhessymmu fal y canlyn ac ni debygwn eich bod chwithau hefyd yn ymrhessymmu yn yr vn modd: ei eiriau ef ydynt y rhai hyn, sef, *Os ydyw'r bedydd a weinidogaethir trwy dywalltiad dwfr ar yr wyneb (yr hwn sydd yn dal' allan yr holl ddyn) yn atteb defnydd a diben bedydd yn gystal a phan weinidogaethir trwy foddiad, neu drochiad, Trochiad ynteu nid yw sylweddol a*

 *chwbl*

*chwbl angbenrbeidiol ir weithred o fedyddio ond y mae 'r naill yn atteb defnydd a diben bedydd yn gystal a'r llall. Am hynny ni ddichon y naill fod yn fwy sylweddol na'r llall. Beth ydyw defnydd neu ddiben bedydd ond i arwyddoceau i'n meddyliau tywalltiad o waed Christ, er mwyn tynny ymaith euogrwydd pechod, a thywalltiad o'r yspryd, er mwyn glanbau ymaith y bydredd i o honaw*, ynawr (eb efe) a chwithau hefyd ir vn perwyl *taenelliad o waed Christ a thywalltiad o'r yspryd sanctaidd ar y plentyn syn cael eu barwyddoccau yn fwy eglur a chyflawn trwy 'r bedydd ac a weinidogaethir trwy daenellu na thrwy drochi*, efe ddywed ymhellach mae *os ydyw'r gras ysprydol oddifewn ac sy'n cael eu barwyddoccau mewn bedydd, yn cael eu ddal' allan yn fwy bywiol trwy daenelliad, na thrwy drochiad yn siccr ynteu taenelliad nid yw 'n gyfreithlon yn vnig, eithr yn fwy byddiol nac ydyw trochiad: ond y gras ysprydol oddifewn ac a arwyddocceir mewn bedydd, sef glanbâd yr enaid trwy ras ac yspryd Christ, sy'n fwy bywiol yn cael eu ddal' allan trwy daenelliad, na thrwy drochiad. Am hynny yn fwy buddiol, ac yn yr vn modd yr ydym yn cael yr holl alluog Dduw eu hunan yn gossod allan yn fynych y drugaredd o sancteiddbâd trwy 'r gweithrediad yma yn* Ez. k. 36. 25. *ac mi a daenellaf arnoch ddwfr glân fel y byddoch lân*, &c.

1. Y hyn yr wyf yn atteb, lle nid yw 'r peth a arwyddocceir y mae 'r arwydd yn ddiddim, ond y peth a arwyddocceir gennych chwi wrth daenellu dwfr ar wyneb plentyn bach sef, yr yspryd glan ai rasusau nid yw'n ymddangos yn y plant buchain,rhieni ac ydych chwi fel hynny yn eu taenellu, eich arwydd chwi gan hynny sydd yn ddiddim pe buasei gras ynddynt gymmaint ac yn y greddf o honaw pan i maent wedi tyfu i fynu, ei gweithrediad neu frwythau 'r yspryd a ffydd a ymdddangosei eu hunain, canys gwyddor fywiol a gweithredol hefyd ydyw gras pa le bynnag y mae efe wedi dywallt.

2. Ond yr wyf i yn gwbl wadu o fod diben a defnydd bedydd yn cael neu'n gallu arwyddoccau trwy daenelliad neu dywalltiad dwfr oddiwrth yr hyn a ddywedais ac a ossodwyd allan trwy dystiolaeth yr ysgruthur, a chan mwyaf yr holl wyr dysgedig yn gystal yr hen dadau a'r Dileinwyr diweddar hefyd, y rhai a ddangossasant yn helaeth yn llwyr wrthwyneb ir hyn ac ydych chwi yn eu siccrhau.

3. Mysi

3. *Myfi* a dybiais mae'r Sacrament o Swpper yr arglwydd a ordeinwyd gan Grist i arwyddoccau gollyngiad neu dywalltiad oi waed gwerthfawr, ac nid bedydd; a gymysgwch chwi ddefnydd a diben y naill Sacrament ynghyd ar llall i faintainio eich opiniwn newydd ac i wiadwyddo sanctaidd fedydd Christ ?

4. Oni allasei 'r Iddewon yn le gwneuthur allorau o aur neu garreg, wneuthur iddynt allorau o bridd-faen i ddywedyd y gallei 'r allorau o bridd-faen wasanaethu yn gystal i atteb y defnydd a'r diben o arogldarthu ? nage fe allei y gallesent ddywedyd nad oed y llall ganddynt i wneuthur mo honi, ac am hynny adeiladu eu hallorau o bridd-faen, eithr a fuasei 'r rhith hyn yn gwasanaethu, na fuasei mewn yn modd. Ond beth y ddywaid yr holl alluog Duw? y rhai am llidient i yn wastad yn fy wyneb; ac hefyd oni allei eraill i ymressymmu fal hyn ynghylch y Sacrament o Swpper yr Arglwydd, sef pa raid yw ini wrth win? os arferwn y *mwm* neu ryw nôdd coch arall yn lle ffrwyth y winwydden, canys efe ettyb ddefnydd a diben y Sacrament honno yn gystal a'r gwin coch, i ba le y tywysei hyn nyni ?

5. Yr ydym yn cwbl wadu i fod bedydd wedi ei ordeinio neu appwyntio gan Grist i arwyddoccau tywalltiad ei waed na thywalltiad o'r yspryd sanctaidd chwaith, a rhaid yw dywedyd wrthych eich bod yn haeru yr hyn a fynnoch, heb ddim profiad o air Duw am dano; eithr ar y ffordd bydded i'r darllenydd ystyried y modd yr ydych chwi'n myned oddiwrth daenelliad i dywalltu dwfr a'r wynebau 'r plant buchain. Yr wyf i 'n ammeu pa vn a ydych chwi vn amser yn gwneuthur felly, ai peidio eithr pe buddech ni fyddei hynny ddim rhagorach o fod yn fedydd i Grist nac yw taenelliad, nid ydyw i chwi ddychymmygu arwyddion neu geffelybiaethau newydd o'r dirgeledigaethau ysprydol, am y rhai ni soniodd Duw yn ei air am danynt, na cael erioed eu hordeinio ir cyfriw ddiben: yr wyf 'i yn ficcrhau, nad appwintiodd Christ un ddefod neu ordinhâd yn yr Efengyl i arwyddoccau taenelliad neu dywalltiad yr yspryd sanctaidd; y mae gan y Papistiaid chwi wyddoch saith o Sacramentau ac a ddywedant wrthym eu defnydd ai diben hwynt, a pha mor odiaeth ydynt mewn arwyddoccâd; ac er hyn i gid, ei holl ddefnydd ar arwyddoccâd o honynt oeddent ddychymyglon

 eu

eu calonnau drwgei hunain: a rhaid yw imi ddywedyd wrthych eu bod hwynt yn proff'r hyn y maent yn ei wneuthur ac yn ei ddywedyd am ei Sacramentau hwy; yn gystal a chwithau; yr hyn ac ydych chwi 'n eu ddywedyd am dywalltiad neu daenelliad, cymerwch y peth y ddywedodd *Thomas Aquinas* ar y cyfri hyn yn drarhagorol, y mae 'n perthin i'r arwyddoccawr (eb efe) i ddirnad neu farnu pa arwydd sydd iw harferyd am yr arwyddoccad, eithr Duw ydyw'r hwn ac sydd trwy bethau teimladwy yn arwyddoccau pethau ysprydol; yn y Sacrament Ordeiniodd Christ fedydd i fod yn arwydd, cyffelybiaeth, neu fywiol arwyddoccâd oi farwolaeth, claddedigaeth ai adgyfodiad ei hunan, megis y rhag brofiwyd eisoes gan eu gadarnhau trwy gwmwl mawr o dystion; a fudd i Dduw gid-ddwyn neu oddef dynion (debygwch chwi) i ddychymygu allan oi mynuddiau hunain, arwyddion neu gyfflybiaethau newydd o ddirgeledigaethau Efengyl Duw, ac yn ol hynny yn eu wneuthur ef yn dâd iddynt, a chan ei galw yn ordinhadau iddo efe? nage, mwy bod mo'r hyf ac i ddywedyd i fod y rhai hyn yn fwy byddiol, ac yn atteb diben Duw yn well na'r rheini a ordeiniodd ef ei hunan? canys fel hyn y dywedwch chwi ac eraill syn dala bedydd plant oblegid taenelliad; sef nid yw'n vnig gyfreithlon eithr yn fwy buddiol na throchiad ac wrth hyn y gweddei eich bod chwi yn dysgu doethineb i Dduw neu fawrygu eich hunain vwch ei law ef. O! nefoedd synnwch wrth hyn; a thithau ddaiar ofna yn aruthrol; oedd vn dyn mo'r hyfed a hyn o'r blaen? Yn gyntaf yr ydych chwi'n dychymmygu defod newydd ac arwyddion newydd o honaw, y cyfriw nad appwintiodd Duw erioed i arwyddoccau mo'r fâth bethau, ac ynol hynny chwi a ddywedwch ei bod yn fwy buddiol nag ordinhâd Christ o drochi, yr hon a ordeinwyd ganddo ef er mwyn dibennion ac arwyddoccadau eraill, gan fod yr holl gorph o'r holl wyr dysgedig (gan mwyaf) a christnogion hefyd yn tystiolaethu (fal y clywsoch) ir gwrth-wyneb.

Er dolwyn cymerwch yr hyn y scrifennodd Sr *Norton Knatchball* yn gymwys wrthwyneb yr hyn ac ydych chwi'n eu siccrhau, 'Bedydd (eb efe) i'r hwn sydd yr awrhon 'yn ein hachub ninnau trwy ddwfr (gan ddywedyd am y 'testun hwnnw yn 1 *Pet*. 3. 20.) hynny yw trwy gynnor-'thwy'r dwfr, ac yn gyffelybiaeth gyfattebol o *Arch Noah*

nid

'nid yw'n arwyddoccau bwriad ymaith fudreddi 'r cnawd
'ond y cyfammod o gidwybod dda tu ac at Dduw, pan yr
'ydym yn cael ein trochi yn y dwfr yr hyn sydd dystio-
'laeth i'n ffydd ni o adgyfodiad Jesu Christ, canys y mae
'gwrth ossodiad eglur yn y geiriau hyn, trwy *ddwfr* a
'thryw'r *adgyfodiad* yr harddwch o honaw (eb efe) nid
'yw yn ein hanfodloni chwaith *megis pe dywedasei Arch*
'*Noah* ac nid y diluw oedd yn gyffelybiaeth o fedydd, a
'bedydd oedd yn gyffelybiaeth gyfattebol o'r *Arch*, nid me-
'gis pe byddei bedydd yn olchiad ymaith o fudreddi 'r
'cnawd trwy ddwfr; yn hynny nid ydyw oll yn cyfat-
'teb ir *Arch*, ond megis ac y mae yn y gyfammod o gid-
'wybod dda tu ac at Dduw trwy adgyfodiad Christ a chan
'gredu o honom yn yr adgyfodiad yma, mae ini fod yn
'gadwedig megis ac y cadwyd hwynt gan *Arch Noah*;
'canys yr *Arch* a bedydd oeddent ill dau yn gyffelybiaeth
'ac yn ddull o'r adgyfodiad: megis ac ni ddilyt dirnad
'mo'r priodol [noda] ddiben o fedydd, fal pe byddei 'n
'arwydd o olchiad ymaith pechod (er ei fod yn cael ei
'gymeryd felly 'n drawsenwadawl yn y Testament Newydd
'a chan y Tadau hefyd) eithr arwydd neullduol o'r adgy-
'fodiad trwy ffydd yn adgyfodiad Christ, or hon adgyfo-
'diad y mae bedydd yn ddull fywiol ac eglur jawn, megis
yr oedd yr *Arch* hefyd allan o'r hon y dychwelodd *Noah*,
'megis o'r bedd i fywyd newydd, nid yn anweddaidd gan
'hynny y galwyd ef gan *Philo* Tywysog y creadigaeth
'newydd a bol y morfil allan o'r hon i gollyngwyd Jonas
'yn rhydd ar ol eu gladdedigaeth dri diwrnod; ar cwm-
'mwl, ar môr coch yn yr hwn y dywedir i blant *Israel* ga-
'el eu bedyddio; yr hyn nid oed olchiad [noda] eithr
'claddedigaeth canys yr oeddent oll yn gyscodau neu gy-
'ffelybiaethau o'r vn pethau â bedydd; sef nid i olchi y-
'maith bechod, ond o farwolaeth, ac adgyfodiad Christ, an
'eiddom ninnau hefyd. yn hyn y mae'r Apostolion, y tadau
'yr yscollwyr, [noda] ar holl gyfieuthwyr yn cyttuno, y
'mae'r peth (eb efe) mor oleu ac mor eglur, fel nad yw
'raid wrth dystiolaethau am dano; ond o herwydd nad
'ydynt yn ychydig, sy heb ddysgu yn gyhoeddus yr
'athrawiaeth hon ni bydd hi mwy na digon i mi ossod
'allan rai or aneirif dystiolaeth hynny, fel y gwelyr
'(eb efe) nad wyf i yn dywedyd heb llyfr.

'Yn gyntaf bydded ini ddechreu a St. *Paul, Rhuf. 6.* 3. Onl
'wyddoch chwi am gynnifer o honom ac a fedyddiwyd i

'Christ

'Christ Jesu, ein bedyddio ni iw farwolaeth ef? claddwyd
'ni gan hynny gyd ag ef trwy fedydd i farwolaeth, fel
'megis ac y cyfodwyd Christ o feirw trwy ogoniant y tâd
'felly rhodiom ninnau hefyd mewn newydd-deb buchedd,
'*&c.* Os amgen beth a wna y rhai a fedyddir tros y meirw os
'y meirw ni chyfodir ddim? *Megis pe dywedasei* os ni bydd ad-
'gyfodiad pa ham ein bedyddir ni? Yn ofer y mae 'r ar-
'wydd o fedydd yn cael eu harferyd gan yr Eglwys, os
'ni bydd adgyfodiad; y mae 'r vn fâth dystiolaethau (eb
'ef) yn ymgyfarfod yn fynych ymhlith y tadau, *Ignatius*
'a ddywaid i fod ini gredu yn ei farwolaeth, fel ein gwne-
'lir yn gyfrannogion oi adgyfodiad trwy fedydd: rhodd-
'wyd bedydd ini yn goffadwriaeth o farwolaeth ein har-
'glwydd, yr ydym ni'n cyflawni yr arwyddion oi farwo-
'laeth ef [noda] nid o dywalltiad oi waed ef, neu or yf-
'pryd fanctaidd neu o daenelliad yr yfpryd neu waed
'Christ: Nage, nage, hyn, medde 'r awdr hwnnw, nis ar-
'wyddocceir mewn bedydd, eithr claddedigaeth ac adgy-
'fodiad Christ, yr hyn ni all taenelliad mewn vn modd moi
'arwyddoccau.

'*Justin Martyr* y ddywaid, nid ydym ni yn gwybod onid
'am vn bedydd cadwedigol, o herwydd nad oes, onid vn
'adgyfodiad oddiwrth y meirw, cyffelybiaeth yr hon ydyw
'bedydd.

Ac oddiymma meddafi nid ydym ninnau yn gwybod am daenelliad plant, canys nid yw hwn yn wir fedydd i Grist, bedydd Christ nid yw ond vn a hwnnw i'r credadwy ac nid yw daenelliad, eithr trochiad i arwyddoccau claddedigaeth, ac adgyfodiad Christ; y mae ef yn myned yn y blaen i alw awdwyr eraill i fod yn dystion hefyd.

'Clywch *Paul* yn llefain allan, iddynt fyned trwy 'r môr
'a'u bedyddio hwy oll yn y cwmmwl, ac yn y môr, y mae
''n galw bedydd yn daith o fôr, canys ffoedigaeth o far-
'wolaeth ydoedd a gafas ei beri gan ddwfr. I gael ein
'bedyddio ac felly ein trochi a dychwelyd i fynu a chyfodi
'allan o'r dwfr fydd yn arwydd o'n descyniad ir bedd an
'dychweliad oddiyno.

'Bedydd fydd yn arwydd neu gyffelybiaeth o'r adgyfo-
'diad, bedydd gwystl o'r adgyfodiad ydyw, trochiad, neu
'offod tan y dwfr fydd gyffelybiaeth o farwolaeth a chla-
'ddedigaeth.

'Aneirif

'Anelrif yw 'r tystiolaethau (medd Sr *Norton*) a
' ellyt ei chwanegu yma, ond yr wyf i yn tybied i fod
hyn yn ddigonol i brofi 'r peth yma; fef, i fod beydd
' yn gyffelybiaeth o farwolaeth ac adgyfodiad Christ
' (oddiymma yr ydym ni (eb efe) yn cydnabod dirgelwch
' ein crefydd, Duwdod a dyndod Christ) ac o'r ffyddlonl-
' aid, fef, y cyfriw ac a fedyddir yn eu ffydd ef o farwo-
' laeth mewn pechod i newydd-deb buchedd, yr hwn fy-
' wyd os arweiniant yn y byd yma, y mae ganddynt o-
' baith o'r diogelaf a'r ol marwolaeth y cyfodir hwynt i
' ogoniant gyda Christ. fal hyn y dywedodd Sr *Norton*
' *Knatchbal* Marchog or teilwngaf.

Mr. *Perkins* a ddywaid i fod trochiad y corph yn arwy-
ddoccau marwhâd neu gymdeithias gyda Christ yn ei far-
wolaeth, yr arhofiad tan y dwfr fy'n arwyddoccau cladde-
digaeth pechod, a'r adgyfodiad allan o'r dwfr fy'n arwyddoc-
cau yr adgyfodiad o bechod i newydd-deb buchedd;
ac mewn Traethawd arall oi eiddaw a ddywaid mae'r hen
arferiad o fedyddio oedd i drochi, megis ac pe byddei holl
gorph yr hwn a fedyddiwyd i nofio mewn dwfr *Rhuf.* 6.
ar cyngor o *Laodicea Neo Cesarea.* Ac yma gadewch imi chwa-
negu yr hyn a draethwyd yn ddiwedar gan y Dr. ardder-
thog *Sharp* (y presennol Arch escob o *York*) mewn pre-
geth a bregethodd efe o flaen mawrhydi 'r frenhines ar
ddydd *Pasc. Mawrth.* y. 27. 1692. 'A hyn a ddysgwyd yn
' yr amseroedd gynt (eb efe) i bob Christion yn a thrwy
' eu fedydd, pa bryd bynnag yr oedd i vn gael eu fedyddio,
' nid oedd iddo yn vnig i wneuthur proffes oi ffydd yn
' marwolaeth ac adgyfodiad Christ, ond yr oedd iddo he-
' fyd i edrych arno eu hunan megis yn rhwymedig mewn
' cyfattebiad o honaw i farwhau 'r ferchiadau cnawdol
' gynt, a myned yn y blaen mewn cyflwr o fywyd newydd.
' Ar vnig ffurf o fedydd (eb efe) oedd yn arwyddoccau
' 'r rhwymedigaeth hon iddynt; canys pa beth oedd eu tro-
' chiad tan y dwfr yn arwyddoccau, ond i gymeryd arnynt i
' wneuthur cyffelybiaeth o farwolaeth a chladdedigaeth
' Christ ac i ymwrthod ai holl ffyrdd drygionus? megis
' eu escyniad allan or dwfr oedd yn eu rhwymo hwynt i
' arwain bywyd Sanctaidd ac ysprydol, hyn y mae ein Apo-
' stol, yn fwy nac vnwaith yn ei fynegu ini fal hyn yn
' *Rhuf.* 6. 3. 4. Claddwyd ni (eb efe) gyda Christ trwy fe-
' dydd i farwolaeth, fel megis ac y cyfodwyd Christ trwy
' ogoniant y tâd felly dylem ninnau rodio mewn newydd-
deb

'deb buchedd; hyd yma 'r Dr. *Sharp* yn ei bregethau ar
'y *Phil.* 3. 10.

Dr. *Fowler* (y nawr Arglwydd Escob *Gaer-lloyw*) ar *Rhuf.* 6. 3, 4. y ddywaid. 'Christnogion trwy gael eu soddi i'r
'dwfr sydd yn arwyddoccau eu rhwymedigaeth ei hunain
'mewn ystur ysprydol a chael eu claddu gyda Christ mewn
'llwyr neu gwbl ymadawiad a gwrthodiad o'i holl becho-
'dau, fel megis ac y cyfattebent iw adgyfodiad ef, y byddei
'iddynt fyw bywyd Sanctaidd a duwiol, *Design of Chri-*
'*stianity*.

Mae'r Dr. *Sherlock* (Dean o St. *Paul*) yn dywedyd a'r *Rhuf.* 6. 3. 4. 'Ein adffurfiad i farwolaeth ac adgyfodiad
'ein jachawdr sydd yn gynwysedig yn ein gwaith ni yn
'marw i bechod a rhodio o honom mewn newydd-deb bu-
ched; yr hyn (eb efe) Mae Saint *Paul* yn eu ddywedyd
'wrthym sy'n cael eu arwyddoccau trwy 'r ceremoni oddi-
'allan o fedydd, a chyfodi allan oi fedd dwfr-llud yn grea-
'dur newydd enl. *Charity without Usury*, *page* 1.

Gadewch i mi chwanegu at hyn y peth a ddywaid y Parchedig *Tillotson* (y diweddar Arch-Escob *Canterbury*) gan lefaru am y Testun hwnnw yn *Rhuf.* 6. 3. 4. 'Yn yr
'amseroedd gynt (eb efe,) y cyfrlw ac oeddent i gael eu
'bedyddio a ddiosgent eu dillad yr hyn oedd yn arwydd-
'occau diosg ymaith bechodau 'r cnawd; ac yr oeddent
'yn cael eu trochi, ai claddu yn y dwfr: i arwyddoccâu,
'marwolaeth pechod: ac yn ôl hynny, hwy a gyfodent i
'fynu drachefn o'r dwfr, i arwyddoccau eu mynediad ar
'fywyd newydd. Y mae'r Apostol yn golygu 'r arferion
'hyn, pan yw'n dywedyd; A ninnau wedi meirw i be-
'chod, pa wedd y byddwn fyw etto yntho ef? Oni wydd-
'doch chwi am gynifer o honom ac a fedyddiwyd
'i Grist Jesu ein bedyddio ni iw farwolaeth ef, *&c.*

Peth galarus jawn ydyw, pan ni chredwch mo'r scry-thur sanctaidd, nar hen Dadâu, nar Difeinwyr diweddar, nac eraill o'r Preladiaid Dysgedig o Eglwys *Lloegr* ac ydynt fyw etto; eithr yngwrthwyneb i natur a thueddr-wydd y bedydd Sanctaidd, yr ydych chwi yn dadleu dros daenelliad, ac yn condemnio trochiad; ac yn ei wradwy-ddo, wrth ddywedyd, mae'r peth y arwyddocceir trwyddo, yw *taenelliad o waed Christ*, neu *dywalltiad o'r yspryd* san-ctaidd,

ctaidd, er hyn i gid nyni a brofasom oddiwrth yr yscrythur ynghyd a thystiolaeth yr holl wyr dysgedig yma; fod bedydd yn arwyddoccau, marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Jesu Grist; ac nid neb o'r pethau rheini, ac ydych chwi'n eu siccrhau megis eich tyb, neu'ch dychymmig eich hunan, heb fod gennych vn dystiolaeth o vn rhyw Awdr Dysgedig neu gymeradwy.

Gan hynny, Sr, i fod bedydd yn vn peth arall, heb law trochiad, nen olchiad,yr hyn sy'n cael ei wneuthur trwy drochi, yr ydym ni'n eu lwyr neu gwbl wadu, fel megis ac am dorriad ymaith ychydig o flaen-groen y cnawd, neu nid yr ygeinfed ran oddiamgylch, nid oedd mo hynny 'n Enwaediad; felly i daenellu ychydig ddwfr ar yr wyneb nid yw fedydd.

Gwir yw, chwy-chwi ai galwch yn fedydd ac a wnewch felly, er nad yw mwy na llai ac ydyw taenelliad; nid y peth ydyw,ac nid yw chwaith yn atteb mewn arwyddoccad, mi allawn ddywedyd wrthych drachefn y gallasei 'r Iddewon yn lle enwaedu'r blaen-groen o gnawd ei plant yn gystal rhusygu adel hynny heibio, ac yn vnig i dorri ymaith yr hewinedd oddiar fusedd ei plant gwrywaidd; ac allasent alw hynny yn Enwaediad, megis i gellwch chwithau alw taenelliad, yn fedydd. Ond fe allei y dywedwch, mae mewn enwaediad, yr oeddent i dynny gwaed,felly gallasent meddafi wrth dorri ymaith yr ewinedd oddiar fusedd ei plant; nage, hwy allasent ymbledio 'n well, y gallei'r pethau ac oeddent yn cael eu harwyddoccau mewn enwaediad, ei hatteb yn gystal yn y dychymmigiad newydd hynny o dorriad yr ewinned, canys tan yr ewinedd mae mâth ar fudreddi,ac hwy allasent ddywedyd ei fod hwnnw yn arwyddoccau tynnfad ymaith o fudreddi 'r pechod, neu lygredigaeth nattur, yn well nac y gall y dirgeledigaethau mawrion hyn, ac sy'n cael eu harwyddoccau trwy fedydd neu drochiad, iw dal' allan trwy daenelliad, neu dywalltiad dwfr. heb law hyn, ond odid y gallasent hwy ymbledio 'r vn fâth escusodion a chwithau sef *i fod torriad ymaith o flaen-groen y cnawd*; yn gossod ei plant i fawr boen: Nage, fe allei, y gallasent dybied y byddent hwy drwy hynny mewn perigl oi bywyd, je gan ei alw ef yn fwrdd-drad,ac am hynny adel torriad yr hewinedd wasanaethu megis yr ydych chwi'n ofni o drochi'r plant rhag iddynt fod mewn perigl oi bywyd, ac am hynny chwi a wnewch i daenelliad wasanaethu yn ei le ef: ond i fyned

rhagom

rhagom yn y blaen, yr wyf i'n synny'n ddirfawr wrth weled y gwyr mawrion hyn, sy'n dywedyd mor eglur ac mor gyflawn, ir gwirionedd gogoneddus yma, (sef mae'r diben, yr ordeiniodd Ghrist fedydd fod i arwyddoccau, ei farwolaeth, ei gladdedigaeth, ai adgyfodiad, ac ir cyfriw sy'n cael eu bedyddio, eu marwolaeth i bechod ai hadgyfodiad drachefn, i newydd-deb buchedd) bod y ddau gamarferiad cywilyddys hyn yn eich mysc chwi ac Eglwysi eraill heb eu diwygio; sef,

(1.) Oni ddylei taenelliad yr hwn nid yw ac ni all atteb, neu arwyddoccau, 'r dirgeledigaethau hyn gael ei fwrw heibio.

(2.) Bod plant bach yn cael eu barnu gymmaint ac vnwaith o fod yn bersonâu cymwys i fedydd; gan nad oes dim o farwolaeth i bechod, neu adgyfodiad drachefn, i rodio mewn newydd-deb buchedd, yn ymddangos ynddynt; canys fel y noda'r dysgedig, bedydd sydd yn arwydd, o'r adenedigaeth presenol nid o'r hwn i ddyfod; y mae'n arwydd oddiallan o'r farwolaeth honno oddifewn i bechod, yr hon y mae'r cyfriw, ac sy'n cael ei fedyddio yn myned tani, neu fe ddylei hynny, pan (neu cyn) y bedyddir; y maent yn professu eu hunain ar ôl hynny, eu bod yn feirw i bechod, sef, pan ei claddwyd hwynt gyda Christ, yn eu bedydd; canys rhesswm yr Apostol sydd yn sefyll yn hynny; a ninnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn fyw etto ynddo ef? oni wyddoch am gynifer o honom ni ac a fedyddiwyd i Grist Jesu, ein bedyddio ni iw farwolaeth ef: megis mewn arwydd, felly hefyd mewn arwyddoccâd; ac am hynny fel y dywaid y *Dr. Sherlock*; allan o'r bedd ddwfr-llud honno, yn greadur newydd eni; sy'n yspyssu nid yn vnig yr hyn a ddylent fod yn ôl llaw, eithr yr hyn oeddent yn bresennol y pryd hynny, fel y mae'r Testun hwn ar rhessymmau a ganlyn oddiwrtho, 'n condemnio taenelliad yn gwbl, megis heb fod yn fedydd i Grist; felly hefyd y mae'n cau allan blant o fod yn bersonau cymwys i fedydd; o herwydd nad yw marwolaeth i bechod yn ymddangos ynthynt, ac nis gellir dywedyd chwaith iddynt hwy ddyfod allan o'r bedd ddwfr-llud honno megis creaduriaid newydd eni.

At y tystiolaethau hyn, mi a chwanegaf vn neu ddau yn chwaneg.

Gwelwch yr hyn a ddywedodd *y scrifennydd Dienwog mwya dysgedig ymysc y Francod*; yn eu attebiad i'r *Arddercho*g

*thog Escob o Meur.* 'Y mae yn ficcr jawn (eb efe) na wei-
'nidogaethwyd bedydd hyd yn hyn yn amgenach na thrwy
'daenelliad, gan y rhan fwyaf o'r *Protestaniaid*; ond yn
'wir y mae'r taenelliad hwn yn gamarferiad; canys yr ar-
'feriad hwn heb fanol ymholiad oi blegid a gynhelyr i
'fynu oddiwrth *Eglwys Rhufain*, yn yr vn modd ac y mae
'llawer o bethau eraill yn gwneuthur ei bedydd hwy'n
ddiffygiol jawn; y rhai sy'n llygru ei drefniad, ai hen y-
'marferiad, a'r cyfflybrwydd agos hynny sydd yn anghen-
'rheidiol i fod rhwngtho â ffydd, edifeirwch, a'r adenedi-
'gaeth: fe haeddei 'r neccâd yma o eiddo Mr. *Bossuet*, ga-
'el ei ddwys ystyried, sef, y parhaodd yr arferiad hyn o
'drochi (eb efe) dros yspaid mil, a thri chant o flynydd-
'oedd, oddiymma y gallwn adnabod na ddarfu ini mo'r fanol
'holi (megis yr oedd yn addas ini) yr hyn a dderbynasom,
'oddiwrth yr Eglwys Rhufeinig; *Calvin* a ddywaid, fod be-
dydd yn ffurf o gladdedigaeth, ac nid oes neb ond y cyfriw
ag sy'n barod wedi marw i bechod, neu wedi edifarhau
oddiwrth weithredoedd meirwon i gael eu claddu; oddiwrth
eirlau pa vn yr wyf i yn dal sylw.

(1.) Nad ydyw taenelliad yn ffurf o fedydd, canys nid ffurf o gladdedigaeth ydyw.

(2.) Nad yw plant yn berfonâu cymwys i fedydd, am nad ydynt hwy rai ac sydd wedi marw eisoes i bechod neu wedi edifarhau, oddiwrth weithredoedd meirwon, ac fel yn wir nad ydynt hwy ddigonol, ni ofyn Christ ganthynt i wneuthur felly; yr awdr diwethaf a enwaf yw *Zanchy* ddysgedig, 'Y mae dwy ran (eb efe) mewn adenedigaeth sef
'marwhâd, a bywhâd, y naill a elwyr yn gladdedigaeth
'gyda Christ, ar llall yn adgyfodiad gyda Christ y Sacra-
'ment or ddau beth hyn yw bedydd, ymmha vn, yr ydym
'ni 'n cael ein trochi, neu'n claddu, ac ynol hynny 'n dyfod
'allan, ac yn adgyfodi drachefn, ni ellir dywedyd yn hollawl,
'eithr yn Sacramentaidd am bawb yn gyffredinol, ac sy'n
'cael eu bedyddio, eu bod hwynt yn cael eu claddu gyda
'Christ, ai hadgyfodi gydag ef drachefn eithr am y cyfriw
'yn vnig ac sydd a gwir ffydd ganthynt.

Yn awr, nyni allwn appelio ir holl fyd pa vn a ydyw *Zanchy* ynghyd a phawb eraill yn tystio 'n amlwg, ac yn eglur, yr vn peth ac ydym ni'n ei ficcrhau: sef mae bedydd ydyw ag ni all fod yn vn weithred arall amgen na throchiad; gan gymmaint ac nad yw taenelliad (fel yr addef pawb) yn dal' allan gladdedigaeth, ac adgyfodiad Christ,

Chriſt, mewn dull ſywiol, na'n marwhâd i bechod, a'n bywhâd i newydd-deb buchedd, (eb efe) yn Sacramentaidd, ſef yw hynny yn gyffattebol, mewn perthynas ir cyfflybrwydd agos, ſydd rhwng bedydd a marwolaeth, ac adgyfodiad. Ag hyn yr wyt i 'n ei ddywedyd, nas gellyr tybied am y rhai a daenellir yn vnig; canys mewn perthynas o farwhâd, a bywhâd, i cyfenwyr hwynt wedi claddu, ai hadgyfodi gyda Chriſt; (yr hyn nis gellir ei dywedyd am blant) etto ni ddichon y ddefod neu'r arwydd oddiallan, gymmaint ai cyfenwi hwynt wedi claddu, ai hadgyfodi gyda Chriſt: a hynny mewn modd Sacramentaidd, canys nid oes mo'r cyffelybiaeth leiaf o'r fâth bethau ynddo; ond mewn gwir fedydd, ſef, cwbl drochiad o'r corph mewn dwfr, ai adgyfodi drachefn, y mae'r holl bethau hyn yn cael ei dal' allan yn eglur, o flaen ein llygaid, ac fel y dywaid *Zanchy*; ni 'ellir dywedyd am bawb, nag yn ſiccr am neb eu bod hwy 'fel hyn, wedi marw, ai hadgyfodi gyda Chriſt mewn modd 'Sacramentaidd, ond am y cyfriw yn vnig ſydd a gwir ffydd ganthynt, am hynny plant buchain a guaer allan wrth ei ymreſſymiad ei hunan. Yr hyn ac ydych chwi'n ei ddywedyd, *Nad oes neb yn plannu cyrph mewn dwfr wrth eu bedyddio*; ſy'n beth diethriol jawn, ac nid geiriau gwr dyſgedig; o herwydd fod trochiad yn gyffelybiaeth o'n plannu ni ynghriſt mewn modd yſprydol ac yn gyffelybiaeth o farwolaeth ac adgyfodiad Chriſt, a ydyw yn anghenrheidiol i gorph dyn fod yn bren? nid oes neb yn himpio cyrph i'r winwydden, etto mae himpiad dynion i Griſt yn cael ei ddal' allan *trwy'r gyffelybiaeth neu'r *traws-ymadrodd hwnnw.* A ydyw'n rhaid ir arwydd, ar peth a arwyddocceir fod yn gwbl yr vn peth? fal hyn y gwelwn yn wrthwyneb, ir peth ac ydych chwin ei ddywedyd, yn niwedd eich trydydd bennod; mae eglur ac amlwg ydyw, fod trochiad yn llwyr anghenrheidiol, ac o ſylwedd bedydd, mae ef τὸ εἶναι; je, Sr yn yr holl Deſtament Newydd, lle yr ydym yn darllen am daenelliad, mae'r Groeg (megis y rhag-ddywedais eiſoes) yn ei droi i daenellu, ac nid i fedyddio: os ordeiniodd Chriſt daenelliad, i ddal' allan, neu arwyddoccau taenelliad oi waed, neu daenelliad oi yſpryd, rhaid i chwi brofi hynny, yr ydym ni'n ei wadu, ac a brofaſom yn helaeth, iddo appwintio bedydd i ddal' allan, ei farwolaeth, claddedigaeth ai adgyfodiad; ac nid yw taenelliad yn fedydd, ond er mwyn ychwaneg a fodlonrwydd ir darllenydd dibartiol, cymerwch rai rheſſymmau 'n ychwaneg.

*Rheſſ.* 1. Os ordeiniwydd bedydd i ddal' allan, marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Chriſt, mewn dull fywiol: yna taenelliad, ni all fod yn wir fedydd i Griſt, ond bedydd a ordeiniwyd i ddal' allan marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Chriſt, mewn dull fywiol; Am hynny Taenelliad ni all' fod yn wir fedydd i Griſt.

Yr rheſſwn hwn a brofaſom i fod yn wir ymhob rhan o honaw.

*Rheſſ.* 2. Os appwintiwyd bedydd i ddal' allan neu arwyddoccau mewn dull fuwiol, marwolaeth y cyfriw a fedyddir i bechod, neu adenedigaeth preſennol, ac nid i ddyfod, ai hadgyfodiad drachefn i rodio mewn newydd-deb buchedd; yna plant bach nis gallant fod y deiliaid o honaw; ond bedydd a ordeiniwyd i ddal' allan, neu arwyddoccau mewn dull fywiol, marwolaeth y cyfriw ac a fedyddir i bechod, neu adenedigaeth preſennol ac nid i ddyfod, ai adgyfodiad drachefn, i rodio mewn newydd-deb buchedd. Am hynny nid ydynt ddeiliaid o honaw.

4. Mae yn profiad ymhellach etto, i wneuthur ef yn amlwyach, ſef; mae goſſodiad tan y dwfr, neu drochiad yw bedydd, ac nid dim amgen; a hynny a gymmerir oddiwrth y bedyddiadau cyſcodawl, neu gyffelybiaethawl hynny a grybwyllir am danynt yn yr yſcrythurau ſanctaidd. Yn gyntaf oblegid y môr coch, yn yr hwn y claddwyd y tadau i Moſes yn y môr, a than y cwmmwl: gwel Nodiadau *Pool* ar y lle.

'Eraill a dybiant, yn fwy cwmwys (eb eſe) bod yr Apo-'ſtol yn arferyd yr ymadrodd hwn, o herwydd y cyfatteb-'olrwydd mawr ſydd rhyngtho ef a bedydd (fel yr oedd-'yt yn ei harferyd) megis ac yr oedd y perſonau yn my-'ned i wared i'r dyfroedd, a chael eu trochi ynddynt, felly 'hefyd yr aeth yr Iſraeliaid, i wared i'r môr er bod y dwfr 'ar y pryd hwnnw yn ſefyll fel pentwr ar y tu arall iddynt, 'etto hwy a gladdwyd yn y dwfr, fel perſonau a gladd-'wyd yn y ddaiar, yn yr oes honno, ar yr amſer y claddwyd 'hwynt.

2. Yr ail bedydd cyſcodawl, neu gyffylybiaethawl yw hwnnw o *Arch Noah*, gwel Sr *Norton Knatchbul*, yr hwn a ehwaiſ o'r blaen.

'*Arch Noah* (eb eſe) a bedydd, oeddent ill dau yn gyffe-'lybiaeth ac yn ddull o'r adgyfodiad nid yn arwydd o olchi 'ymaith pechod, er ei fod mewn ffordd o drawſenwad yn

E cael

'cael ei gymeryd felly, eithr arwydd neillduol o adgyfo-
'diad Christ ydyw, o'r hon y mae bedydd yn ddull fuwiol
'ac eglur jawn, megis yr oedd yr *Arch* hefyd allan o'r
'hon y dychwelodd *Noah* megis o'r bedd i fywyd newydd.

Oddiyma y cymeraf y rheſſwm hyn a ganlyn.

*Rheſſ.* 3. Os ydyw'r bedyddiadau cyffelybiaethawl hynny, ac y grybwyllir am dannynt yn yr yſcrythurau, yn arwyddoccau, ſoddiad, gorchguddiad, neu gladdedigaeth; yna taenelliad nid yw 'n wir fedydd.

Ond y mae'r bedyddiadau cyffelybiaethawl rheini ac y grybwyllir am danynt yn yr yſcrythurau yn arrwydoccau ſoddiad, gorchguddiad, neu gladdedigaeth: Am hynny taenelliad nid yw 'n wir fedydd.

A thrachefn, fod bedydd yn drochiad, ſoddiad, neu gladdedigaeth mewn dwfr, ymddengys oddiwrth y bedyddiadau trawſddwynawl rheini, ac y ddarllenwn yn y ſcrythurau oi plegid: y rhai ydynt o ddau fath.

Yn gyntaf bedydd yr yſpryd ſanctaidd. Yn ail bedydd cyſtuddiau. Yn gyntaf, ebe Joan fedyddiwr, myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio â dwfr, eithr efe a'ch bedyddia chwi a'r yſpryd glân ac â thân. Yr owan nid doniau ſanctеiddiedig yr yſpryd y rhai y mae pob dyn duwiol yn eu derbyn ydyw bedydd yr yſpryd, ond fel y noda yr dyſgedig y rhyfeddol dywalltiad o'r yſpryd ſanctaidd, yn gyffelyb i hwnnw a'r ddydd y Pentecoſt, *Acts* 1. 4, 5.

Y gair Groeg βαπτίζειν medd *Cauſabon*, yw i drochi neu
'orchguddio, &c. yn yr yſtyriaeth yma (eb efe) y gellyt
'dywedyd yn ddilys i'r Apoſtolion, gael eu bedyddio, canys y
'ty yn yr hwn y gwnaethpwyd hyn, a lenwyd o'r yſpryd
'glân, fel y gellyt tebig i'r Apoſtolion gael eu trochi
'ynddo megis ac mewn pyſgod-lyn Ehang; nid taenelliad yr yſpryd yw bedydd yr yſpryd: canys yn ddiammeu hwy a gawſant rai taenelliadau o'r yſpryd, cyn iddynt gael eu bedyddio ag ef.

'Mae *Oecumenius* a'r yr all bennod o'r Actau yn dywedyd,
'bod yr holl dy wedi ei lenwi gan wynt megis yr ymddan-
'goſodd yn debig i byſcodlyn; canys yr oedd yr addewid
'i'r Apoſtolion y caent hwy eu bedyddio a'r yſpryd glân.

2. Yr ydym yn darllen am fedydd cyſtuddiau, eithr y mae gennyf fedydd i'm bedyddio ag ef, ac mo'r gyfyng yw arnaf, hyd oni orphenner: oddiwrth y llythrennol arwyddoccâd o'r gair βαπτίζω *immergo* (megis y rhag-ddangoſais

eiſoes)

eisoes) gosod tano, gorchguddio, cystuddiau mawrion a elwir yn fedydd, ac a arwyddoccânt fel y mae *Vossius* yn dangos, nid pôb ysgafn gystuddiau, eithr yn gyffelyb i'r hwn y mae *Dafydd* yn dywedyd am dano, *Psalm* 32. 6. Oddiyma y gelwyr cystuddiau mawrion yn donnau. Dy holl donnau a'th lyfeiriant, a aethant drosofi. 42. 7. Yr hyn sy'n cael eu ddywedyd am ddioddefiadau Christ, yr hwn megis a foddwyd, neu a orchguddiwyd, mewn cystuddiau, a dioddefiadau; pôb ysgafn gystudd, nid yw fedydd cystuddiedig, eithr mawr a dwfn gystuddiau; gan ddioddef hyd at waed, a marwolaeth.

*Pool* yn ei Nodiadau sydd yn dywedyd: mae i fedyddio yw i drochi mewn dwfr, mewn ffordd o gyffelybiaeth, i orchguddio mewn cystuddiau: mi ddibennaf hwn hefyd ag vn rheffwm arall.

*Rhess*. 4. Os yw 'r *bedyddiadau cyffelybiaethawl* hyn, am y rhai y darllenwn ni yngair Duw, (megis bedydd yr yspryd ac o gystuddiau) gwedi eu cymeryd oddiwrth y llythrennol, ar naturiol arwyddoccâd o'r gair Groeg βαπτίζω *immergo*; yr hwn sydd yn arwyddoccau i drochi; yna i daenellu nid yw i fedyddio; ond y cyntaf sydd wir: Am hynny taenelliad nid yw fedydd.

---

# PEN. VI.

## *Ymha vn y mae Rhessiwm Mr.* Owens *dros fedydd plant, y gymerodd efe oddiwrth y gyfammod a wnaeth Duw âg Abraham, gwedy ei holi, ai gwbl ddisbrofi hefyd.*

Sr,

YR ydych chwi yn eich pedwaredd bennod yn dyfod i ystyried, ac i ymmofyn, pwy ydyw rheini a ddylei gael eu bedyddio; ac yn gyntaf chwi a ddywedwch nad yw bedydd yn perthyn i bawb ond ir ffyddloniaid ai hâd,

*y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig*, *Mar.* 16. 16. Pan ofynnodd yr Eunuch i *Philip*. *Wele yma ddwfr beth sydd yn lluddias fy medyddio*; attebod ynteu; *Os wyti 'n credu â'th holl galon fe a ellir*, *Act* 8. 36. 37. Mae'n eglur (meddwch chwi) fod bedydd yn perthyn ir rhai sy'n credu, eithr (ebe chwi) pa fod y dengys i fod yn perthyn i hâd y cyfriw? fe ymddengys meddwch chwi.

(1.) *Oddiwrth gyfammod Duw.*
(2.) *Oddiwrth Enwaediad tan y gyfraith.*
(3.) *Oddiwrth orchymyn Christ i fedyddio yr holl gen' elloedd.*
(4.) *O herwydd eu bod yn Sanctaidd.*
(5.) *O herwydd i Grist eu bendithio.*
(6.) *O herwydd impio'r cenhedloedd i ragorfreintiau 'r Iddewon.*
(7.) *O herwydd y gallant fod yn gyfrannogion, o'r hyn a arwyddoccejr mewn bedydd.*
(8.) *Oddiwrth ffurf bedydd tan y gyfraith.*
(9.) *O herwydd i Joan fedyddio plant ynol arferiad eglwys yr Iddewon.*
(10.) *O herwydd i'r Apostolion fedyddio teuluoedd cyfain.*
(11.) *O herwydd ir Eglwys gristnogol ymhob oes fedyddio plant.*
(12.) *O herwydd i fod yn fodd rhinweddol i blannu 'r grefydd gristnogol.*

---

Sr, Mi a holaf eich feiliau, gan atteb eich holl reffymmau mewn trefn. Yn gyntaf am y cyfammod hwnnw a wnaethpwyd âg *Abraham*, yr ydych yn ymreffymmu yn llyn. 'Sef yr oedd *Abraham* ai hâd tan gyfammod o ras, yr ydym ' ni'r cenhedloedd yn hâd i *Abraham*, ac y mae y cyfammod ' gras yn perthyn i ni yn yr vn helaethdrwydd, ac yr oedd i ' *Abraham*, fef *i ni ac i'n hâd*; ac os ydyw plant neu hâd y ffyddloniaid yn y cyfammod gras, a all neb luddiais fêl y ' cyfammod iddynt, fef bedydd?

*Atteb.* Yr wyf yn atteb mae'n dda, na ellwch 'i wadu fod bedydd yn perthyn ir Fyddloniaid, fef i'r Credadwy, yr ydym ni gan hynny yn gymwys y rhai ydym yn bedyddio 'r cyfriw: ac os oedd ffydd yn rhagflaenu bedydd, yn gystal mewn trefn ô eiriau, ag mewn trefn o ymarferiad, yn nyddiau 'r Apostolion; ni ddylau neb ynteu gael ei bedyddio, ond y credadwy: Eithr oddiwrth eich cyfaddefiad eich hunan yr oedd ffydd yn rhagflaenu bedydd, yn gystal

mewn

mewn trefn o eiriau, ac ymarferiad, yn nyddiau 'r Apostolion nid yr hwn a fedyddier, ag a gred gwedin; eithr yn y gwrthwyneb, y neb sydd yn credu, ac a fedyddier; ffydd a ofynnir fel rhagflaenor ir bedydd, yn yr holl rai hynny ac i mae Christ yn gorchymyn iw bedyddio, yr hyn nid yw plant yn gallel mô honaw.

Oblegid eich rhesswm cyntaf, fod hâd y crediniol gael ef bedyddio. Oddiwrth y cyfammod a wnaed âg *Abraham*, mi gaf ddangos eu fod yn ddirym; ac ni wneiff i chwi ddim gwasanaeth yn yr achos yma, canys;

Yn gyntaf, o herwydd bod dau fâth o gyfammod wedi eu wneuthur âg *Abraham*, vn a'i hâd naturiol megis y cyfriw, ar llall ai wir hâd ysprydol, megis y cyfriw, ac oblegid yr hyn a ddywedasoch i fod *Abraham* a'i hâd yn y cyfammod o ras, sef eu hâd ysprydol; nid ydym ni yn ei wadu: eithr fod eu hôll hâd naturiol, yn y cyfammod o ras; mae'r Apostol yn eu neccau, gan ddywedyd i'r gwrthwyneb, *Rhuf.* 9. 6. 7. 8.

Yn awr os profaf i wneuthur dau gyfammod âg *Abraham* beth y dal y cwbl ac y ddywedasoch chwi yn yr achos hwn? ac i fod y peth felly ystyriwch yr hyn a ganlyn.

(1.) Yr ydym yn dywedyd mae nid yr vn cyfammod yn gwbl ydyw'r cyfammod o ras, ac oedd y cyfammod o enwaediad a wnaeth Duw âg *Abraham*.

(2.) Nyni ystyriwn a ydyw'r vn Rhesswm am yr Enwaediad, ac sydd am y bedydd.

*Yn gyntaf* yr ydym yn dywedyd, fod cyfammod o ras neu gyfammod Efangylaidd gwedu ei wneuthur âg *Abraham*, a'r holl gredadwy ynddo ef, neu holl wir hâd ysprydol.

*Yn ail*. Eithr y cyfammod o enwaediad neu'r cyfammod a wnaeth Duw ai hâd naturiol ef; fel y cyfriw, oedd gyfammod gwahanol oddiwrth y cyfammod o ras; y ddau gyfammod hyn a amlygwyd i *Abraham* trwy *Sarah* ac *Hagar*, fel y mae'r Apostol yn dangos yn eglur, *Gal.* 2. 24. *Yr hyn bethau ydynt mewn alegori neu gyffelybiaeth, canys y rhai hyn yw y ddau Destament, &c.* Ac yn awr i gwbl brofi 'r gwirionedd mawr hyn, sef; bod dau gyfammod gwedi wneuthur âg *Abraham*.

## Cymerwch y rhesswm hyn.

Os ydyw'r cyfammodau yn cymeryd eu henwau oddiwrth yr addewidion, a'r addewidion yn wahanredol, sef; rhai yn Efangylaidd yn perthyn i'r rhai hynny, y mae yr Efengyl yn perthyn iddynt, ac eraill yn addewidion Teuluaidd, neu foesawl, gan eu bod yn neilltuoll ac yn llwyr gwbl berthyn i'r ty, a hâd naturiol *Abraham* a *Llywodraeth Israel.*

Yna fe wnaed dau gyfammod âg *Abraham*, ond hyn sydd felly, *Ergo*, *&c.*

Er mwyn eu wneuthur yn eglur, a'u siccrhau, mae'n amlwg fod yr addewid Efangylaidd honno, yn perthyn i'r cyfammod Efangylaidd a wnaethpwyd âg *Abraham*, *Gen.* 17. 5. *Canys yn dâd llawer o genhedloedd 'ith wneuthum*; ac felly mae'r addewid hynny, *Gen.* 15. 5. *Felly y bydd dy hâd di*, Yn y lle yma yr âddewir y bydd llawer neu nifer fawr o'r cenhedloedd yn hâd ysprydol i *Abraham* a hynny trwy grediniaeth, *Rhuf.* 4. 17, 18. Yr oedd honno hefyd yn Efangylaidd y gawn 'i yn, *Gen.* 12. 3. a holl deuluoedd y ddaiar a fendithir ynot ti, mae'n amlwg fod y rhai'n yn perthyn i'r holl rai credadwy tan yr Efengyl; Y cyfriw ydynt hâd ysprydol *Abraham*; gwelwch, *Gal.* 3. 8. Ar scrythur yn rhag-weled mae trwy ffydd y mae Duw yn cyfiawnhau y cenhedloedd, a râg-efangylôdd i *Abraham*, gan ddywedyd, ynot ti y bendithir yr holl genhedloedd, ac yn fwy cymwys i Grist yr hwn yw hâd *Abraham*, *Gal.* 3. 16. i *Abraham* y gwnaethpwyd yr addewidion ac iw hâd ef, nid yw yn dywedyd ac iw hadau megis am lawer; ond megis am un, ac i'th hâd ti; yr hwn yw Christ, hynny yw i Grist megis y pen, ac meichnydd o'r cyfammod gras, ac felly yn bennaf ac yn fwyaf neilltuol iddo efe; ac ynddo efe, iw holl eiddo, yn ol y lle hwnnw, yn *Gal.* 3. 29. Ac os eiddo Christ ydych, yna hâd *Abraham* ydych ac etifeddion ynol yr addewid; gwelwch hefyd, *Actau* 3. 25.

2. Ymhellach fod llawer o addewidion teuluaidd, a *Moesawl*, sydd amlwg; megis yn 1. Oblegid amlhaâd o hâd *Abraham.* Yn 2. Genedigaeth *Isaac.* Yn 3. Am barhaâd y cyfammod âg *Isaac.* Yn 4. Am adgyfodiad Christ o *Isaac.* Yn 5. Am gaethiwed i'r *Israeliaid*, yn yr *Aipht* ai gwaredigaeth oddiyno, ai meddiant o wlâd *Canaan*, *Gen.* 15. 18. *Gen.* 17. 8. Ac mi a roddaf iti ac i'th hâd ar dy oll di, wlâd dy

ymdaith,

ymdaith, fef holl wlâd *Canaan* yn etifeddiaeth dragwyddol, ac mi a fyddaf yn Dduw iddynt, felly *Gen.* 15. 18. Yn y dydd hwnnw y gwnaeth yr Arglwydd gyfammod ag *Abram*, gan ddywedyd; i'th hâd di y rhoddais y wlâd hon, o afon yr *Aipht*, hyd yr afon fawr *Euphrates*, a ellwch chwi fod mo'r anwybodus a dywedyd, fod y Cyfammod a wnaeth Duw ag *Abraham*, gwedi eu wneuthur â hâd naturiol y cynhedloedd crediniol? neu a wnaed ef i hâd ysprydol *Abraham*; cydmharwch y scrythurau hyn ynghyd a'r *Act.* 7. 5, 6, 7, 8. ac fel hyn yr ymddengys, fod y cyfammod a wnaethpwyd ag *Abraham*, yn gyfammod cymmylgedig neu gyfammod dau ddyblig, yn gwedi ei wneuthur a'i hâd naturiol, a'r llall a'i hâd ysprydol, a hyn a gyflawn arwyddocceir trwy *Sarah* ac *Hagar* gwragedd rhyddion a gwragedd caethion ai meibion, *Isaac* ac *Ishmael*, *Gal.* 4. 22.

Yn ail, hâd *Abraham* a elwyr felly mewn amriw o ffyrdd (1.) mae Christ yn cael ei alw yn hâd i *Abraham* fel y dywedais o'r blaen, o'r *Gal.* 3.16. Trwy ffordd o ragoriaeth, fel y mae yn ben, ac yn feichnydd o'r cyfammod Efangylaidd.

(2.) Yr holl Etholedigion, *Rhuf.* 9. 7. yr holl gredadwy *Rhuf.* 4. 11, 12, 16, 17, 18. *Gal.* 3. 29. Ac os eiddo Christ ydych, yna hâd *Abraham* ydych, ac etifeddion yn ol yr addewid.

(3.) Yr oedd hâd naturiol i *Abraham*, i rhai yr oedd yr Etifeddiaeth yn perthyn: hwn oedd *Isaac*, *Gen.* 21. 22. Ny-ni ddarllenwn am hâd arall naturiol i *Abraham*, am ba rai y dywedir yn amlwg, nad oedd yr Etifeddiaeth yn perthyn iddynt, megis *Ishmael* a meibion *Ceturah*, *Gen.* 15. 5. Eithr yn awr a ddichon hâd y Credadwy, megis y cyfriw gael eu galw yn hâd i *Abraham* yn vn o'r peder ffordd yma, chwanegwch os gellwch bummed.

(1.) Yn gyntaf, fel yr oedd yr addewid yn cyfeirio at Grist, (ni allant fod yn gynhwysedig felly) yr hwn sydd eiddo *Abraham*, mewn modd neilltuol, i hwn yr addawodd Duw, fod yn Dduw iddo, ac y gyfrannu holl fendithion y gyfammod iddo; ynol y fargein, neu'r Cyfammod gogoneddus o brynedigaeth, a wnaethpwyd rhwngddo efe ar tâd cyn dechreuad y byd, a'r gyfri ei feichniad, ai gyfryngdod fendigedig; fel y gallei felly gyfrannu, holl fendithion, a rhagor-freintiau ei brynedigaeth, i bawb ac

 sydd

ſydd yn credu ynddo, neu a roddwyd iddo gan y tâd.

(2.) Fel y mae'r addewid yn perthyn i'r had etholedig megis y cyfriw, y rhai oedd a Ffydd *Abraham* ganddynt, ac yn rhodio yn eu lwybrau ef, ni ddichon gynnwys mô hâd y Cenhedloedd crediniol, megis y cyfriw.

(3.) Fel y mae'r addewid yn perthyn i *Iſaac* yr hwn oedd fâb naturiol i *Abraham* yn ol y cnawd, yn gyſtal ac yn ol yr addewid, nid ydynt hwy yn hâd i *Abraham*.

(4.) Fel yr oedd *Iſhmael* a meibion *Ceturah* yn had i *Abraham*; plant buchain y cenhedloedd crediniol, nid ydynt felly yn had i *Abraham*, os gellwch 'i chwanegu 'r pummed mâth o had i *Abraham* (yr wyf i yn meddwl y cyfriw ac a elwyr felly yn yr yſcrythur) Dymunaf arnoch wneuthur pan ſcrifennoch drachefn.

Oddiyma y Rheſſymmaf yn llyn.

Os nid yw plant y cenhedloedd crediniol, megis y cyfriw, yn hâd naturiol, nag yn hâd yſprydol i *Abraham*, yna nid allant gael dim hawl i fedydd, neu gymmundeb eglwyſig; trwy rinwedd vnrhiw gyfammod, a wnaeth Duw ag *Abraham*.

Ond plant y cenhedloedd crediniol, megis y cyfriw, nid ydynt had naturiol, na had yſprydol i *Abraham*; Am hynny ni allant gael dim hawl i fedydd na chymundeb Eglwyſig trwy rinwedd vnrhiw gyfammod a wnaeth Duw ag *Abraham*.

Rhai a ddywedant fod plant y credadwy yn had yſprydol i *Abraham*; hyd oni thorrant eu hunain ymaith trwy bechod gweithredol diedifeiriol.

I hyn yr attebaf, wrth hynny fe all rhai o wir had yſprydol *Abraham*, drengu yn dragwyddol; ac nid yw'r addewid yn ſiccr iw holl had yſprydol. Mae 'n llwyr wrth-wyneb yr peth y mae Saint *Paul* yn eu ddywedyd yn *Rhuf*. 4. 16. Am hynny o Ffydd y mae, fel y byddei yn ol gras, fel y byddei yr addewid yn ſiccr', i'r holl had nid yn vnig i'r hwn ſydd o'r deddf, onid hefyd i'r hwn ſydd o Ffydd *Abraham*, yr hwn yw ein tad ni oll.

Oddiwrth hyn yr ymreſſymmaf.

*Rheſſ.* 2. Y rhai hynny oll ac ydynt yn y cyfammod Efangylaidd a wnaeth Duw ag *Abraham* neu y rhai ydynt eu wir

wir had yſprydol; ſydd ganddynt addewid o fywyd tragwyddol gwedi wneuthur yn ſiccr iddynt.

Ond holl had y crediniol megis y cyfriw nid oes ganddynt addewid ſiccr o fywyd tragwyddol; am hynny nid yw had y crediniol, megis y cyfriw, yn y cyfammod Efangylaidd hwnnw, a wnaeth Duw ag *Abraham*; ac nid yddynt ei wir had yſprydol.

Cymerwch vn arall.

*Rheſſ.* 3. Os ydyw Ffydd *Abraham*, gan holl wir had yſprydol *Abraham*, ac yn rhodio yn llwybrau *Abraham*; ſef y Ffydd honno ac oedd gan *Abraham*, cyn ei enwaedu; yna had y credadwy megis y cyfriw nid ydynt had yſprydol *Abraham*.

Ond gwir had yſprydol *Abraham*, ſydd a Ffydd *Abraham* ganddynt, ac yn rhodio yn llwybrau *Abraham*, ſef y Fydd honno ac oedd gan *Abraham* cyn ei enwaedu.

Am hynny, had y credadwy, megis y cyfriw, nid ydynt wir had yſprydol i *Abraham*.

Ni ddywed neb yn eu jawn ſynwyr, fod plant bach y credadwy, megis y cyfriw, a'r Fydd honno ganddynt ac oedd gan *Abraham* cyn ei enwaedu, ac nid ydyw llawer o honynt hwy, ac nis gallant, rodio yn llwybrau *Abraham*, gan nad yw ei Fydd ef ganddynt.

Os gwrthddadleuff neb a dywedyd, os nid yw plant y credadwy, yn y cyfammod hwnnw, a wnaed ag *Abraham* pa fodd y gall neb o honynt a fo marw yn eu mebyd fod yn gadwedig?

(1.) Yr wyf yn atteb. Oni ddichon Duw gadw plant bach er na chynhwyſir mo honynt yn y cyfammod a wnaethpwyd ag *Abraham*; pa fodd ynteu y gallei plant bach y Duwiolion gael ei cadw y rhai oeddent yn buw, cyn gwneuthur y cyfammod hwnnw ag *Abraham*; mae gan Dduw lawer o ffyrdd trwy Griſt i gadw plant bach a fo marw, fel y mae'r Dr. *Taylor* yn nodi: y rhai nid ydym ni yn gwybod oddiwrthynt; pethau dirgel ſydd yn perthyn i Dduw, a phethau amlwg i ninnau.

(2.) Pe buaſſent hwy mewn vn yſtyr yn gynhwyſedig yn y cyfammod a wnaethpwyd ag *Abraham*; er na chyfrifaſſud mo honynt yn had naturiol, nag yn had yſprydol iddo? etto ni chanlynau oddiwrth hynny y dylent hwy gael eu bedyddio, o herwydd y mynywaid y rhai oeddent

wir

wir had naturiol i *Abraham*, ac fe allei rhai o honynt fod yn had ysprydol iddo hefyd; etto ni enwaedwyd mo' honynt mwy nag y gwnaethpwyd a phlant gwrywaid y duwiol cyn amser *Abraham*.

(3.) A ydynt hwy mewn cyfammod, fel y maent yn hâd naturiol i'r Credadwy? nid yw bedydd ynteu yn dwyn mo honynt i'r Cyfammod, ac os felly mae ei cyflwr yn dda, er na chaffont mô 'i bedyddio; ac os ydyw bedydd, yn rhoddi hawl iddynt o'r cyfammod o râs, ac yn gwneuthur y cyfammod yn ficcr iddynt; fe ganlynau oddiwrth hynny fod gallu gan ddynion, naill ai dyfod ai plant i'r cyfammod o râs, neu cadw hwynt allant, yn gymmaint a phe dywedasyd; fod gallu gan rieni i gadw, neu ddestriwio eu plant, a pha mo'r anrhesnus ydyw hyn i ddychymmig: myfi ai gadawaf i bob dyn call a dibartiol iw farnu.

Myfi a gaf brofi yn y lle neslaf; mae nid cyfammod o ras, neu ffydd, oedd cyfammod yr Enwaediad, nid yw gan hynny yn perthyn i hâd y cenhedloedd crediniol.

Fal hyn y rhesymmaf.

(1.) Y cyfammod hwnnw a wnaed i neillduo hâd naturiol *Abraham*, oddiwrth bob cenhedl arall yn y byd, ac y ficcrhaodd iddynt yr addewid demhoraidd o feddiannu gwlâd *Canaan*: Am hynny nid allau 'r cyfammod o Enwaediad, fod yn gyfammod o ras; ac yn perthyn i hâd y credadwy tan i'r Efengyl.

Y rhan gyntaf o'r rhesswm ni ellyr mo' 'i wadu, Am nad yw'r Efengyl na'r ail gyfammod gwedi eu gadarnhau ar y cyfriw addewidion daiarol, fal yr oedd y cyfammod o enwaediad; nid i fod ini feddiant o deyrnas ddaiarol, neu feddiant o wlâd *Canaan*; eithr fe gadarnhawyd a'r addewidion gwell na rhai hyn; megis yn *Heb.* 8. 6. ac hefyd os oedd y cyfammod hwnnw yn perthyn i nyni, ac i'n plant ni y cenhedloedd, yna yr oedd i'r cenhedloedd gystal hawl i'r etifeddiaeth ddaiarol honno, ac felly ni neillduwyd mô hâd naturiol *Abraham*, oddiwrth bôb dynion eraill, a'r gyfri'r fendith ddaiarol, megis etifeddiaeth iddynt hwy yn vnig.

Mewn perthynas i'r ail ran o honaw, gwel *Gen.* 17. Mi a gadarnhaf fynghyfammod, rhwngo fi a thi, adnod 7. ac mi a roddaf i ti ac i'th hâd ar dy ol di wlad dy ymdaith, sef holl wlâd *Canaan*, yn etifeddiaeth dragwyddol, ac mi a

fyddaf yn Dduw iddynt, adnod 8. Dymma fynghyfammod a gedwch rhwngo ffi â chwi a'th hâd a'r dy ôl di: enwaedir pôb gwryw o honoch chwi adnod 10.

(1.) Fe gafod rhai'r enwaediad, ac nid oedd yr addewid o'r cyfammod Efangylaidd, a wnaeth Duw ag *Abraham*, yn perthyn iddynt, megis *Ishmael*, *Esau*, &c.

Duw a ddywedodd yn blaen, nad oedd eu gyfammod, fef; y cyfammod o ras, gwedi ei gadarnhau ag *Ishmael*, eithr ag *Isaac*, er hynny yr oedd y cyfammod o Enwaediad yn perthyn i *Ishmael* yn gyftal ac i *Isaac*; gwel, *Gen*.17. 20,21. Am *Ishmael* hefyd i'th wrandewais, wele mi ai bendithiais ef, &c. eithr fynghyfammod a gadarnhaf ag *Isaac*, yr hwn a ymddwg *Sarah* i ti y pryd hwn: cydmarwch hyn ar, *Rhuf*. 9. 7, 8, 9. Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn had *Abraham*, i gyd yn blant; eithr yn *Isaac* y gelwir i ti had, hynny yw plant y cyfammod o ras neu blant Duw, eithr plant yr addewid a gyfrifir yn had; gwel, *Gal*. 4. 29, 30. Pawb ac oedd yn nhy *Abraham*, y rhai a aneffid yno; neu ddieithriaid neu'r cyfriw a brynaffit ai arian ef, y gawfant eu henwaedeu: eithr a ddywedwch 'i fod y rhai hyn eu gyd yn y cyfammod Efangylaidd a wnaeth Duw ag *Abraham*? heb law hynny, yr oedd eraill o dy *Abraham*, a rhai o honynt yn ddiameu allafei fod yn y cyfammod o ras, ac addewidion yn perthin iddynt; er hynny ni enwaedwyd mô honynt; yn enwog y mynywed; ac hefyd y plant gwrywed ac oedd yn marw cyn wyth diwarnod oed, yn dyfod o *Abraham*. Ymhellach, dynion duwiol eraill, nad oedd o deulu *Abraham* etto yn buw yn ei amfer ef, megis *Melchisedec*, *Lot*, *Job*, &c. Nid oedd gan neb o'r rhai hyn hawl i'r Enwaediad: Ond os gwrthddadlyff neb a dywedyd, i fod y mynywaid yn cael eu henwaedu yn y gwrywaid, mi attebaf gyda Mr. *Tombs*, i fod hynny heb vn Scrythur am dano; ac y mae cymmaint, nage yfgatfydd, mwy o reffwm i ddywedyd fod plant y credadwy yn cael eu bedyddio ymherfonau eu rhieni, ac am hynny nid rhaid iw bedyddio yn ei perfonau eu hunain: Mae'n amlwg hefyd am yr *Iddewon* a gynhwyfwyd yn y cyfammod hwnnw, a wnaethpwyd ag *Abraham*, ac a enwaedwyd felly; etto ni chaniattawyd iddynt gael mô'i bedyddio, ar y cyfri hwnnw. A phe buaffei 'r cyfammod o Enwaediad yn gyfammod Efangylaidd, fef, o'r vn nattur, ni welai vn rheffwm, pa ham y gwrthwynebau *Joan* Fedyddiwr eu dadl hwynt; fef, Yr ydym ni yn hâd i *Abraham*, &c. Oddiymma yr ymddengys

gys yn eglur, mae nid yr addewidion gwbl Efangylaidd, oedd y rheſſwm cryfaf dros yr Enwaediad.

Eithr fel y rhag-ddywedais, gorchymyn eglur Duw i *Abraham*. Ac oddi-yma y cymeraf y tryddydd Rheſſwm hwn.

*Rheſſ*. 3. Y cyfammod hwnnw a wnaethpwyd, neu oedd yn perthyn i had cnawdol *Abraham*, i rai anuwiol yn gyſtal ac i rai duwiol, nid oedd yn gyfammod o ras, neu gyfammod Efangylaidd.

Ond y cyfammod o Enwaediad a wnaethpwyd, neu oedd yn perthyn i had cnawdol *Abraham*, megis *Iſhmael*, *Eſau*, a holl garennydd *Abraham* y rhai oeddent annuwiol yn gyſtal a duwiol.

Am hynny nid oedd y cyfammod o Enwaediad yn gyfammod o ras, neu yn gyfammod Efangylaidd.

*Rheſſ*. 4. Os yw pawb ac ſydd yn y cyfammod o ras, neu'r cyfammod Efangylaidd, yn adnabod yr Arglwydd o'r mwya hyd y lleia o honynt; yna yr gyfammod o enwaediad nid allei fod yn gyfammod o ras neu gyfammod Efangylaidd.

Ond pawb ac ſydd yn y cyfammod o ras, neu'r cyfammod Efangylaidd, ydynt yn adnabod yr arglwydd o'r mwya hyd y lleia o honynt.

Am hynny cyfammod yr Enwaediad, nid oedd gyfammod o ras.

Y rheſſwm hyn a broſir yn helaeth oddiwrth y lle hwnnw yn *Jer*. 31. 32, 33, 34. gan ddywedyd am y cyfammod newydd a wnai Duw, a thy *Iſrael* yr hwn ni chai ſod ynol yr hen gyfammod, mae ef yn myned rhagddo, gan ddywedyd yr hyn y wnai Duw yn nydd yr Efengyl, ſef;

Y goſſodei Duw ei gyffraith oddi mewn hwynt ac ai ſcrifennei yn ei calonnau hwynt; ac ni ddyſcant mwyach bob vn ei gymydog, a phob vn ei frawd, gan ddywedyd adnabyddwch yr arglwydd, o herwydd hwynt hwy oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt, a'm hadnabyddant medd yr arglwydd, *&c.*

Ac yn wir yn yr yſtyriaeth yma yn vnig, nid yw'r cyfammod Efangylaidd, yn ôl yr hen, fel y dywedodd yr arglwydd na byddei, yn gyſtal ac mewn amriw o achoſion eraill, canys llawer o rhai oedd yn yr hen gyfammod (yr rheini ac yr oedd yr Enwaediad yn perthyn) oeddynt fabanod

banod er nas derbyniwyd hwynt ei gid i mewn trwy'r Enwaedsad, canys plant mynywaid a dderbyniwyd i'r hen Gyfammod hebdo: ynawr y plant hyn ac a dderbynwyd i'r cyfammod hwnnw oeddent heb adnabod yr Arglwydd: babanod ydynt heb ddealltwriaeth, nid adwaenant y llaw ddehau oddiwrth yr Aſſwy; mae gan hynny yn amhoſſibl iddynt adnabod yr Arglwydd, ac hefyd yr oedd angenrheidrwydd ynol iddynt fod yn y cyfammod hynny gael eu dyſcu, i adnabod yr Arglwydd, yn gyntaf i fod Duw, a pha ſath Dduw ydyw ef, ac felly ei adnabod ef fel yr hofnent, ac ai gwaſanaethant ef mewn purdeb.

Ond yn y cyfammod Efangylaidd, fe addawodd Duw y byddei yn amgenach, pawb ac y dderbynnit i mewn i'r cyfammod hwnnw, gaent fod o oedran, neu 'r cyfriw ac a adnabyddent yr Arglwydd, yr hyn ſydd yn yſpyſſu yn eglur na chai vn baban anwybodus ei dderbyn i'r cyfammod hwnnw, ac i fod yn aelod o'r Eglwys honno, canys os felly, yna y canlynai y byddei anghenrheidrwydd i'r cyfriw gael ei dyſcu i adnabod yr Arglwydd megis ac yr oedd yn yr hen gyfammod Eglwyſaidd: ac y mae'r Teſtun hwn yn yſpyſſu, neu'n rhoddi amnaid rhagorol, y dylau pawb o'r rhai a dderbynnit i'r cyfammod Efangylaidd, neu'r Eglwys Efangylaidd i gael eu gwneuthur yn ddiſcyblion neu i dyſcu; yn gyntaf i adnabod Duw, i gael eu dyſcu neu gwneuthur hwynt yn ddiſgyblion ydyw yr vn peth; yr hwn ſydd yn cyttuno a chommiſſiwn mawr ein achubwr bendigedig, *Mat.* 28. 19, 20. Lle rhows efe gyfarwydydd, pwy neu pa fath rai, y ddylent hwy fod, a fynnau efe iw Apoſtolion dderbyn i'r Eglwys Efangylaidd, ſef, y dulau pawb o honynt fod gwedi eu dyſcu yn gyntaf, neu gwneuthur yn ddiſgyblion, a'r cyfriw hynny gael eu bedyddio a fynegwyd yn eglur. Nawr fod y lle hwn yn *Jer.* 31. Yn perthyn i'r cyfammod Efangylaidd ſydd yn amlwg ddigon. gwel, *Heb.* 8. 7, 8, 9, 10.

*Rheſſ.* (5.) Y cyfammod hwnnw ac oedd ran neu gangen o'r hen gyfammod, neu'r cyfammod o weithredoedd, nid oedd gyfammod o ras, neu gyfammod Efangylaidd.

Ond y cyfammod o Enwaediad, oedd ran neu gangen o'r hen gyfammod, neu'r cyfammod o weithredoedd, Am hynny y cyfammod o Enwaediad nid oedd yn gyfammod o ras, neu gyfammod Efangylaidd.

Yr

Yr hwn a rwymodd, ac a glymmod y rhai oll ac oedd tano, neu ai gwnaeth ef i gadw yr holl ddeddf ac a ddeleuwyd hefyd, ac a gymerwyd ymaith, gan Grist ynghyd a'r holl ddefodau a chyscodau eraill o'r hen gysammod, oedd ran neu gangen o'r hen gysammod hwnnw. Ond yr Enwaediad a glymmodd ac a rwymodd, bawb o'r rhai a Enwaedwyd arnynt, i gadw 'r holl ddedf, ac hefyd yr vn hawl o'r Enwaediad a ddeleuwyd ymaith gan Grist ynghyd a'r holl ddefodau, a chuscodau eraill o'r hen gysammod, Am hynny yr oedd yr Enwaediad yn ran neu gangen o'r hen gysammod; gwel *Gal.* 5. 3. Yr wyf yn tystiolaethu drachefn i bôb dyn ag a Enwaedir, ei fod efe yn ddyledwr i gadw 'r holl ddeddf.

*Rhess.* (6.) Y cysammod ac oedd yn ei nattur ai ddull yn gymmaint yn gysammod o weithredoedd, ac yr oedd y cysammod a wnaethpwyd ag Adda, neu'r cysammod a'r fynydd *Sinai*; nid oedd yn gysammod o ras, neu gysammod Efangylaidd, i'r hwn y mae Christ yn gyfryngwr. Ond y cysammod o Enwaediad oedd yn ei nattur ai ddull yn gymmaint yn gysammod o weithredoedd a'r cysammod hwnnw a wnaethpwyd ac *Adda* neu 'r *Sinai* gysammod: Am hynny, y cysammod o Enwaediad, nid oedd gysammod o ras neu gysammod Efangylaidd. Darllenwch amddiffin a Phrofiad y Parchedig Mr. *Cary* am sylwedd y Rhesswm hwn, yn ei gysiawn atteb i Mr. *John Flavel*, *tu dal.* 59. 60. Fal hyn y mae yn dywedyd ac yn ddiammeu fe ddywaid y gwir fef.

'Mae cysammod o weithredoedd oedd cysammod *Adda*, 'nis gellir gyda rhesswm, Mo'i wadu, yn gymmaint a bod 'bywyd gwedi addo, yn o dywyll iddo ef a'r ei vfydd- 'dod, a marwolaeth gwedi ei fygwyth yn amlwg, yn achos 'ai anufydd-dod; a'r yr ammodau hyn yr oedd efe i sefyll 'neu syrthio, ac i fod cysammod *Sinai*, o'r vn nattur, fe ddarfu iddo yn ei Traethawd enwog ei brofi yn amlwg: y ddau yn gofyn perffaith vfydd-dod, heb yr vn o honynt yn caniattau ffydd yn y pryniawdr, Cysammod *Sinai* oedd yn gorchymyn perffaith vfydd-dod tan boen o ffelldith: melldigedig yw pob vn nid yw yn aros yn y pethau, a Scryfennir yn llyfr y ddeddf, yw gwneuthur hwynt, *Gal.* 3. 10.

Ni dderbynie (fel y dengys) ychydig o ymegniad, nid oedd efe yn rhoddi dim nerth, ac fe a elwir yn weinidogaeth angeu a damnedigaeth, 2 *Cor.* 3. Ac heb law hynny,

y mae'n cael ei alw yn eglur, yr hen gyfammod a wnaeth Duw a Plant *Israel*, pan ddygodd efe hwynt allan o wlâd yr *Aipht*, *Heb*. 8. 9. Fe ddywedyr hefyd fod y cyfammod newydd yn gymwys neu'n llwyr wrthwyneb, ac nid yn gyffelyb iddo ac nid oedd dim cyfiawnhâd, na bywyd trwyddo. Fel y dengys yr Apostol, pe buasei; yn ofer y bu Christ farw, ac heb law hynny fe ddywed yr Apostol, i fod ef gwedi ddiddymmu: ynawr os ystyriwn yr holl bethau hyn, nyni allwn weled yn eglur, nad yw Mr. *Flavel* onid curo'r awyr a thywyllu cyngor, a'r cwbl a ddywedodd efe yn ei lyfr yn Attebiad i'r gweddol bonheddig Mr. *Cary*, ni haeddei mo 'i atteb ym hellach.

'Yn awr (eb efe) mae'n amlwg ddigon, fod y cyfam-'mod o Enwaediad o'r vn rhôd, canys er i Dduw addo bod 'yn Dduw i *Abraham*, ac iw hâd, *Gen*. 17. 7, 8. Fel y 'gwnaeth hefyd yn y *Sinai* gyfammod, i'r vn bobl yn yr 'anialwch, er hynny fyth yr oedd ef ar yr ammod o vfyd-'dod ynghyd a bygythiad cyfattebol mewn achos o anu-'fydd-dod, *adnod*, 9. 10. *Cadw ditheu fynghyfammod i ti a'th 'hâd a'r dy ôl trwy eu hoesoedd, dymma fynghyfammod a ge-'dwch, rhyngofi a chwi, a'th hâd a'r dy ôl di: enwaedir pôb 'gwryw o honoch chwi*, adnod 14. *Ar gwryw dienwadedig yr 'hwn ni enwaeder cnawd ei ddienwaediad, torrir ymaith yr 'enaid hwnnw o fysc ei bobl, oblegid efe a dorrodd fynghyfam-'mod i:* Yr oedd hwn (eb efe) a'r vn ammodau, ac oedd 'y cyntaf, heb law hyn, amlwg ydyw, fod yr enwaediad 'yn rhwymo heb gennad, pawb ac oedd tano i berffaith 'ufydd-dod i holl datcyddiedig ewyllys Duw; fel y crybwyl-'lais o'r blaen, *Gal*. 5. 3.

Ac fel yr oedd yr ammodau i'r vn, felly hefyd yr oedd yr addewidion; yr addewid fawr o'r cyfammod o Enwaediad, oedd gwlâd *Canaan*, a Duw fod yn Dduw iddynt hwy; yn cyflawn i'r addewid ddaiarol i hâd naturiol *Abraham*, ar yr ammod o gadw'r cyfammod hwnnw oi rhan hwynt; yr hyn a ddywedodd Mr. *Flavel* yn ei attebiad diweddaf i Mr. *Cary*, sydd bennaf yn profi nad oedd onid vn cyfammod o weithredoedd.

*Yn ei Lyfr, a elwir*, A Succinct and Seasonable Discourse. *p*. 217, 218, *&c*.

I'r hyn, yr wyf yn atteb; trwy ffordd o ganiataâd, etto rhaid yw i chwi ddywedyd, fod i'r cyfammod hwnnw, amriw o weinidogaethau, a chwanegiadau; fel yr oedd

i'r

i'r cyfammod o ras: o herwydd y cyfammod o weithredoedd, a wnaethpwyd ag *Adda*, ynol yr hwn y safod efe yn amser ei ddiniwidrwydd, gwedi ei gyfiawnhau ai dderbyn trwy rinwedd o honaw.

Onid allei Duw roi'r fath ail weinidogaeth, neu scrifen ai gyfraith gyfiawn a sanctaidd nid er cyfiawnhad, eithr er gwneuthur pechod yn dra phecadurus ac iw gyfiawn ddamnedigaeth; ac onid yw Saint *Paul* yn cadarnhau'r vn peth? *Rhuf*. 3. 19, 20. gwedi ei gydmharu a *Rhuf*. 7. 13. *Fel y byddei pechod drwy'r gorchymyn, (neu'r ddeddf) yn dra phechadurus*, fellu *Gal*. 3. 19. Nage, myfi siccrhaf yn wastadol, pan fo scrythurau y Testament Newydd yn dywedyd am yr hen gyfammod o weithredoedd, i mae'n gollwng heibio mewn distawrwydd y cyfammod a wnaethpwyd ag *Adda*, ac yn cael ei gyssylltu yn fwyaf vniawn a digyfrwng at y cyfammod a'r fynydd *Sinai*; ac at y cyfammod o Enwaediad; fel y mae pôb darllenydd gofalus, ac sydd yn darllen y llythyrau at y *Rhufeiniaid*, *Galatiaid*, a'r *Hebreaid* yn ei gael yn amlwg: eithr i fyned rhagom yn y blaen, er ein bod ni yn dywedyd, nad oes onid vn cyfammod o ras; etto amlwg ydyw fod amriw weinidogaethau gwahanol neu chwanegiadau yn perthyn iddo; yr ydym yn dywedyd er hynny mae'r vn oedd addewidion yr Efengyl, neu'r cyfammod Efangylaidd ymhôb oes, mewn perthynas i'r pethau a addawyd, ynghyd ai nattur ai cyneddfau; yr hwn sydd gyfammod rhydd, ac yn llwyr gwbl, heb ddim gweithredoedd, neu vnrhyw ammodau, neu rag-weledig weithredoedd o gyfiawnder, neu ddim ac a wnelir gan y creadur, *Rhuf*. 4. 5. Y sylwedd a'r rhan sylweddol o'r cyfammod hwn, yw Christ, ffydd, a chalon newydd, Adenedigaeth, Maddeuant Pechodau, sancteiddiad, cadwedigaeth a bywyd tragywyddol.

Etto y mae gan y cyfammod Evangylaidd hwn amryw ffurf neu rithiau, pa rai y arwyddoccaent y pethau hynny, ac amriw gyfreithiau, trwy ba rai y rhoddwyd ef allan ac y cadarnhawyd. I *Adda* y gwnaed yr addewid tan enw o had y wraig i yssigo pen y Sarph; i *Enoch*, *Noah*, &c. Mewn ffurfiau eraill; i *Abram* tan enw o'i had, ymmha vn y bendithier holl genhedloedd y ddaiar; i *Moses* tan enw Profwyd mawr o'i bobl yn debig iddo ef, ac a arwyddoccawyd hefyd iddo ef tan gyscodau tywyll ac offrymmau; i *Ddafydd*

tan

tan enw dilynwr yn ei deirnas; yn y Testament Newydd mewn geiriau eglur, nyni oll ag wyneb agored yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megis mewn drych, 2 *Cor*. 3. 18. Eithr ynawr o herwydd bod cyniser angwhanagiadau i'r addewid Efangylaidd, a'r gyfammod newydd, a os gan hynny yr vn nifer o ammodau newydd? os yw hyn yn bod, ni wnaeth Mr. *Flavel* ddim tuag at droi heibio rhessymmau Mr. *Cary*, eithr y maent hwy yn sefyll megis craig, cymmerwch vn arall o honynt.

*Rhess*. 7. Y gyfammod hwnnw ymmha vn ni cyfrifwyd ffydd i *Abraham* er cyfiawnder, nis gallei fod yn gyfammod Efangylaidd neu gyfammod o râs;

Ond y mae 'r yscrythur yn dywedyd yn eglur, na cyfrifwyd ffydd i *Abraham* er cyfiawnder pan enwaedwyd ef, eithr yn ei ddienwaediad, *Rhuf*. 4. 9, 10.

Am hynny nid ydoedd y gyfammod o enwaediad yn gyfammod Efangylaidd neu gyfammod o râs.

*Rhess*. 8. Ni allei 'r gyfraith neu'r cyfammod hwnnw, pa vn a wrthrannwyd neu osodwyd yn erbyn cyfiawnder ffydd, fod yn gyfammod o ffydd, neu gyfammod Efangylaid.

Ond y mae y gyfraith neu'r gyfammod o enwaediad yn eglur ddigon gwedi cael ei gossod yn erbyn, a'i gwrthrannu oddiwrth cyfiawnder ffydd gan yr Apostol, *Rhuf*. 4. 13.

Am hynny, y gyfraith neu'r gyfammod o enwaediad nid ydoedd gyfammod Efangylaidd, ac oddiymma y mae Mr. *Cary* yn ymrhessymmu yn llyn; Ar y ffordd, medd efe, 'dalwch sulw o barthed y ddau rhessymmau o'r blaen, 'pa rai y brofiais i eisioes, am fodd yn angenrheidiol i'r 'gyfammod hwnnw nad ydyw o ffydd, fodd yn gyfammod 'gweithredoedd, yn gymmaint nad os cyfrwng rhwng'ddynt hwy, ac y mae yn canlyn mae'r vn gyfammod 'ydyw o ran sylwedd ag hwnnw a wnaed gydag *Adda*, a 'hwnnw a'r fynydd *Sinai* gydâ phlant *Israel*.

*Rhess*. 9. Ni allei'r gyfammod hwnnw a ossodwyd o'n blaen ni yn y scrythur megis cyfammod caethiwed, trwy ba vn y dodwyd y fath jau a'r wddsau yr Iddewon, yr hon nis gallent hwy yn amser yr Apostolion na'i tadau mo'i dwyn, fodd yn vn gyfammod arall heb law'r gyfammod o weithredoedd, nid o râs.

 Ond

Ond y mae'r yscrythurau yn dangos yn eglur fodd y gyfammod o enwaediad o'r fath natur, *Actau* 15.10. *Gal.* 5.1.2.3. Am hynny, nid ydoedd y gyfammod o enwaediad yn gyfammod Efangylaidd, onid cyfammod gweithredoedd; fel hyn y mae Mr. *Cary*, yn ymresymmu hefyd, ac felly y darfu ini profio oddiwrth air Duw a chryf ressymmau nad ydyw'r gyfammod o enwaediad yn gyfammod Efangylaidd.

*Gwrthdd.* Eithr rhag i neb dybied ein bod ni yn cau allan hôll fabanod y sydd yn marw felly heb iddynt gael dim llesfaâd oddiwrth Grist, yr wyfi yn atteb, nid wyfi yn ammau na allei Duw eu cynnwys hwy yn y gyfammod gogoneddus neu gyngrair a wnaed rhwngddo ef a'n cyfryngwr yn y gyfammod Prynedigaeth, ond fel y dywedais o'r blaen, pethau dirgel a berthynant at Dduw.

Eithr gadewch imi angwanegu gair neu ddau ymmhellach, hynny yw; Enwaediad (meddwch chwy) ydoedd fraint, felly yr ydym ni yn dywedyd hefyd, etto nid y fath fraint ac yr ydych chwy yn bwrIadu.

1. Y mae yn llessau megis braint, oblegid rhoddwyd ef megis arwydd i hâd naturiol *Abram*, y caent hwy wlâd *Canaan* mewn meddiant tragywydd.

2. Megis nôd neu arwydd iddynt hwy o roddiad allan y gyfraith a'r fynydd *Sinai*.

Efe a roddodd ei gyfreithiau ai ddeddfau i *Israel*, eithr nis gwnaeth felli âg vn genedl arall, ni allei am hynny fod y ddefod hon yn ddefod Efangylaidd na'r cyfammod; yr ydoedd yn ddûll o'r gyfammod Efangylaidd, ymmha vn y mae hawl gan y cenhedloedd Cristnogawl, ac fel hyn y mae'r Apostol yn ymressymmu, *Rhuf.* 3.1. Pa ragoriaeth, gan hynny, sydd i'r Iddew? neu pa fûdd sydd o'r enwaediad? *adnod* 2. Llawer yn mhôb rhyw ffordd, yn gyntaf, o herwydd darfod ymddiried iddynt hwy am ymadroddion Duw. Chwi a ellwch yn fuan wybodd natûr y gyfammod hwnnw a wnaethpwyd â hâd naturiol *Abram*, ac o enwaediad, pa vn ydoedd ddull o hono; y braint pennaf a'i canlynodd, ydoedd rhoddi iddynt hwy, sef Pobl *Israel*, y gyfraith a'r dêg gorchymmyn.

Enwaediad yn ôl Athrawiaeth St. *Paul*, oedd fraint, os cadwent hwy y gyfraith, canys enwaediad yn wîr a wna lês os cedwi y ddeddf, eithr os trossedwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad, neu yn ddiddim, ac

ni

ni wna ddim lles iti, hynny yw oni chedwi y gyfraith yn berffaith, ac fel hyn y mae ein nodadwyr diweddar yn dywedyd a'r y lle 'os tydi (*Iddew*) a gedwi y gyfraith yn 'berffaith, i ba vn y mae'r enwaediad yn dy rwymo, *Gal.* '5. 3. Os yn amgen y troseddu di y gyfraith, ni thâl dy 'enwaediad ddim iti, nid yw yn rhoddi dim braint iti 'oddiar y dienwaededig. Beth y ddarfu ynawr (gan fod hyn felly) o'r fraint fawr honno a gafodd hâd *Abram* (megis y cyfriw) trwy enwaediad; os y budd neu'r braint pennaf ydoedd, o herwydd y rhoddyd y wlâd iddynt hwy, yr hon ni allei roddi bywyd, eithr ydoedd gyfammod gweithredoedd? yna y bûdd pennaf ni chafwyd ynddi hi, megis ac yr oedd hi yn ordinhâad tychwyniad i'r Eglwys; yn ddiau pe buasei *Paul* (ch meddwl chwi o ran bedyddio plant fe fuasei yn hytrach yn gadael hebio y fraint honno, pan lefarodd am enwaediad, yr hyn y mae efe yn alw yn Bennaf, ac a ddywedasei, yn bennaf o herwydd ei fod yn fêl o gymundeb eglwysig, ond yn gymmaint ai fod efe yn dywedyd y peth sydd lwyr wrthwynebol, pwy a gredwn ni, pa vn ai chwychwi, ai'r Apostol mawr y cenhedloedd; ac eglur ydyw i fod efe yn cadarnhau 'r vn athrawiaeth yn *Gal.* 5. 3. Oblegid yr wyf yn tystiolaethu i bôb dyn a'r a enwaedir arno, ei fod efe yn dyledwr i gadw yr hôll ddeddf. Ac oddiymma y dywedyr ei fod yn jau caethiwed, yr hon nis gallent hwy na'u tadau mo'i dwyn, *Actau* 15. Oblegid ei bod yn eu rhwymo hwynt i vfudddod hollawl, neu i gadw y gyfraith yn berffaith, ac a ddaeth â hwynt tan felldith onis gwnaent felly, *Gal.* 3. 10.

Os ystyrir y pethau hyn yn gyflawn nhwy a ddangosant o ba ddull neu natur y mae enwaediad ynghyd a'r gyfammod i ba vn y perthynei hi.

Chwychwi a dywedwch fod y gyfammod a wnaethpwyd ag *Abram* yn gwarchae bendithion ysprydol.

Ac yr wyfi yn caniattau fod y gyfammod o ras a waethpwyd ag *Abram* yn gwarchau yn bennaf fendithion ysprydol, megis y dangoswyd o'r blaen, eithr y gyfammod a wnaed â'i had naturiol, megis y cyfriw, nid warchauodd fendithion ysprydol; hôll fendithion ysprydol a wneir ynghrist ac nid i neb arall eithr i'r etholedig yntho ef; ymmhellach nid ydym ni yn naccau na wnaed y gyfammod o enwaediad yn gystal gydag had ysprydol *Abram* y rhai a ddaethant allan o'i lwynau ef, a'i had cnawdol; ac felly

 enwaediad

enwaediad a gwlad *Canaan* oeddynt yn fuddiol iw had yspyrdol, megis yr oedd y naill yn dal' allan enwaediad y galon a'r llall orphwysfdra nefol.

*Atteb.* ' Chwy a dywedwch fod plant yn wastadol oddi-' fewn y gyfammod o ras, ac i brofio hyn chwy a grybwy-' lwch, *Actau* 2. 38, 39. Edifarewch a bedyddier pob vn o ' honoch chwi, *&c.* O herwydd y mae'r addewid i chwi ' ac i'ch plant, *&c.*

A ydym ni yn ammeu fod addewid o faddeuant ac o'r yspryd glan yn perthyn i'n plant neu'n heppil ni; y rhai a gredant neu, a elwir gan yr Arglwydd? yr ydym yn caniattau hyn yn barod, eithr yr ydym yn neccau fod yr addewid hon yn perthyn i'n had ni, megis y cyfriw, Dr. *Taylor* Escob yn ddiwedar o *Ddown* y ddywed ar y testun hwn, *Ac i'ch plant, hynny yw i chwi ac i'ch hiliogaeth, i'ch chwy ac i'ch plant pan fyddont yn yr vn gyflwr ag yr ydych chwy yn derbyn yr addewid yn effeithiawl*; *ond* (medd efe) *os pa bryd bynnag ac yr arferyr y gair* (Plant) *yn y scrythur ni gawn ddeall wrth blant fabanod, y mae'n rhaid ini gredu nad oedd dim gwyr yn holl Israel, eithr babanod oeddynt oll, ac os gwir y fuasei hynny, mwy rhyfeddol y buasei iddynt hwy orchfygu meibion* Anac *a brenin* Moab, *a cherdded cyn belled a chwedleua cystal, oblegid yr oeddent hwy oll yn cael eu galw yn feibion* Israel.

1. *Nid yw'r addewid yn perthyn i blant yn y cyflwr hwnnw, ond vn vnig wrth enw o'i bod yn greaduriaid rhesymmol, a phan delent i weithredu ffydd o ba vn wrth natur y mae ganthynt allu, eithr os pe bai, etto nid yw bedydd* (medd efe) *yn fodd o ymddwyn yr yspryd glân, oblegid pan ddywed Petr. edifarhewch a bedyddier chwi, a chwi a dderbyniwch yr yspryd glân; nid yw yn arwyddocau dim mwy na hyn; yn gyntaf bedyddier chwy, a gwedi hynny trwy ymossodiad dwylaw,* &c. *Yr hyn oedd ddirgelwch arall a desod, chwychwi a dderbyniwch addewid y tadau, ond oddiymma* (medd efe) *i ymresymmu, pa le bynnag ac y mae cyflwr o dderbin yr vn grâs, yna hefyd yr vn arwydd sydd iw gweinidogaethu, ac oddiymma i gasclu bedydd plant, sydd yn rhessswm twyllodrus jawn ar amriw achosion, yn gyntaf oblegid nad yw bedydd yn arwydd o'r yspryd glân, eithr trwy ddirgeledd arall y trosglwyddwyd ef yn arferol ac anarferol* ( *hynny yw trwy ymmosodiad dwylaw*) *megis y crybwyllodd y Doctor o'r blaen.*

2. *Po byddai 'r peth a farnir yn wir, yr ymadrodd a adeiladir*

*ladir arno sydd fradychys*, *oblegid* ( medd efe ) *y rhai oeddynt ehang o'r vn grâs*, *nid ydynt bob amser yn ehang o'r vn arwydd*, *o herwydd benywaid tan gyfraith* Moses, *er yw bod yn ehang o gyfiawnder ffydd*, *etto nid oeddynt ehang o arwydd enwaediad*, *am nad ydyw Duw yn cyfrannu yn wastadol ei rhâs yn yr vn modd*. Felly y scrifennodd y Dr. *Jer. Taylor* Parchedig *Tip o Prophwyd*, *tu dalen*, 234, 235.

Oblegid y peth a ddywedodd yr Escob sydd yn Atteb i'r cwbl yr ydych chwi yn ei haeru a'r y testun hyn tros fedydd plant; addewid yr ysprvd (yr ydym yn caniattau) sydd yn rhedeg i'r credadwy a'i holl hâd a'i heppil y rhai a gredant, pa vn ai *Iddewon* ai cenhedloedd, ac nid yw'r testun hwn yn profio dim ymmhellach, ni pherthynodd i hâd yr *Iddewon*, megis y cyfriw, eithr yn vnig iw plant y rhai a gredent, ac felly y mae ef i'r cenhedloedd pa rai oeddynt vnwaith o hîr bell, os credant, ac iw plant hwy, y rhai a elwir hefyd gan Dduw, megis ag y galwodd ef eu rhieni.

Y peth a debygyr ei haeru gennych chwi oddiwrth y testun hwn, yw hyn, sef bod y fâth gysammod gwedi cael ei gwneuthur gydâ'r credadwy o'r cenhedloedd, yr hwn sydd yn derbyn i mewn pob credadyn neillduol a'i hâd cnawdol, ac y wnaeth Duw âg *Abram*, pa beth sydd Ddifeinlaeth rhyfeddol: fe ddarfu ini brofio wneuthur cysammod neilltuol gydâg *Abram* â i hâd naturiol, i ba vn y perthynei enwaediad, a thrwy rinwedd y gysammod hwnnw megis yn perthyn at y cnawd, yr ydoedd tan y gyfraith *wybodaeth o Ddynion*; yr *Iddewon* yn y gysammod ddeddfol hwnnw oddiallan, a gawsant barch o flaen y cenhedloedd, eithr y gysammod honno a gymerwyd ymmaith, a'r fur honno o wahaniaeth a dynnwyd i lawr, ac ynawr nid oes gan yr *Iddewon* ddim budd o'r achos honno vwchlaw'r cenhedloedd, neu'r cenhedloedd vwchlaw'r *Iddewon*, *hên bethau a osodwyd heibio*; fe ddarfu am 'rhên ffurf eglwysig a'r hên fodd o fod yn aelodau eglwysig, yn gymmaint a bod y cwbl a dywedasoch a'r y scrythur a'r ddadl hyn ni thalant ddim.

Ac addas i ddal sulw arno ydyw hyn, sef fod *Petr* yn dywedyd y geiriau hyn wrth yr Iddewon, *yr addewid sydd i chwi ac i'ch plant*, &c. Eithr i chwi gasclu fod yr addewid yn rhedeg iddynt hwy ac iw plant o ran bedydd a bod yn aelodau o'r eglwys tan y Ddeddf sydd anwir amlwg, nid oeddynt yn canniattau bedydd neu gymeriad o honynt i mewn i'r eglwys tan yr Efengyl, i neb o plant

yr Iddewon, eithr yn vnig i'r rheini a gredent, nac i blant y cenhedloedd chwaith ; pan gredo eu plant, neu yn cael eu galw, yna y gellir eu bedyddio hwynt, ac y mae ganthynt hwy jawn i'r addewid o'r yspryd glân.

Chwi a ddywedwch, fod addewid a bendith *Abram* yn dyfod a'r y cenhedloedd trwy Grist a ffydd, am hynny, meddafi, nid yw mewn llîn cnawdol a braint genedigaeth,

*Chwychwi a ddywedwch nad oedd bendith* Abram *yn bersonol iddo ef a'i hâd, fe ddaeth y fendith hon ar y cenhedloedd credadwy, am hynny,* meddwch chwy, *y mae'n rhaid iddi ddyfod a'r y ffyddlon, a'i hâd, am ni all gael ei galw yn fendith* Abram *os ni ddaw a'r y cenhedloedd mewn modd ysprydol i gyfammod* Abram, *hynny yw, myfi a fyddaf Dduw iti, ac i'th hâd ti, oddieithr i'r fendith hon ddyfod a'r y cenhedloedd yn yr vn modd ac gydâ 'r vn helaethdrwydd, canys fel hyn nid yw fedith* Abram, *eithr rhan o honi, gwedi cael ei thorri yn y canol ; myfi a fyddaf Dduw i chwi Cenhedloedd, eithr nid i'ch hâd, a ydyw hon yn fendith* Abram, *mo'r annhebig ydyw iddi ? y mae llawer o wahaniaeth rhwng y stâd a wnaed i wr neilltuol a honno a wnaed iw blant ef hefyd.*

*Atteb.* Yr ydych chwy yn chwedleua megis pe byddech yn anwybodol beth ydoedd bendith *Abram*, bendith *Abram* nid ydoedd fraintiau tragywyddol y gyfammod o râs ( pa beth, y mae yn debygol, yw'r cwbl yr ydych chwi ynpledio am dano o barthed eich hâd mabanaidd) eithr y rhan ysprydol a bendith y gyfammod, fef cyfiawnhâd, maddeuant pechod, mabwysiad, a bywyd tragywyddol.

2. Oblegid hâd *Abram* onid yw'r Apostol yn dywedyd wrthych, mae i Abram *ac iw hâd ef y gwaed yr addewid, nid yw yn dywedyd iw hadau megis am lawer eithr i'th hâd ti, yr hwn yw Christ*, Gal. 3. 16. Ynawr yr ydych chwi yn ymorchestu tros hadau, megis am lawer, ie, i holl hâd cnawdol *Abram* a hâd cnawdol y credadwy ôll. Sr, Nid oes neb o'r cenhedloedd eithr y cyfriw ac sydd yn perthyn at Grist, yn hâd i *Abram*, nid oes neb, ond y cyfriw, ac sydd yn credu ac y mae ganthynt Ffydd *Abraham*.

Yr etifeddiaeth pa vn ydyw o fod *Duw yn Dduw ini trwy ffordd o fudd neilltuol*, a wnaed i bob credadyn, ac iw plant y rhai sydd ganthynt yr vn Ffydd, nid iw had cnawdol megis y cyfriw, eithr i rhai etholedig yn vnig.

3. Myfi

3. Mysi a brofias (gwir yw) wneuthur cyfammod gyfreithlon oddiallan âg *Abram* a'i hâd cnawdol, ymmha gyfammod y dywedyr fod Duw yn Dduw i holl dy *Israel*, ac a rwymwyd wrthynt hwy, eithr y gyfammod honno a ddiddymwyd, ac nid yw'r gyfammod newydd yn ol honno, eithr yn llwyr wahanawl; nid yw'r hâd cnawdol mewn cyfammod gyfattebol oddiallan: ynawr nid ydyw Eglwys Crist tan yr Efengyl yn cymmeryd i mewn hôll trigolion Gwlâd; os ystyrier hyn, fe ymddengus na thal y peth yr ych yn ddywedyd, oblegid fod *Abram* yn dâd i'r cenhedloedd ddim i'ch perwyl chwi. Am nad ydoedd Dâd i neb o'r cenhedloedd ond i'r cyfriw a credent ynghrist neu rai etholedig, ac hyn yr ych yn tebygu cydnabod yn y geiriau hyn, sef y cenhedloedd credadwy ydynt hâd *Abram*, *Gal.* 3. 29. Eithr, Sr, beth yw hyn at y matter, profiwch os gellwch, fod hâd cnawdol y credadwy immhlith y cenhedloedd, megis y cyfriw, yn hâd i *Abram*, canys y peth hyn yr ydym ni yn llwyr neccau a thymma'r peth a'r ba yn y mae'r holl ymrafael yn descyn.

'Chwychwi a ddywedwch na chyfrifir plant y cnawd 'yn blant Duw pan dorrant eu cyfammod â Duw, ac y 'mae Joan Fedyddiwr yn eu galw hwy'n genhedlaeth 'gwiberod.

*Atteb.* Dymma feddwl yr Apostol; o rhyfedd, a all' y rheini ac yddynt blant y gyfammod o râs ddibennu bod felly a ddichon plant Duw ddirywio, i fod yn gwn, bleiddiaid a gwiberod? Mysi a dybiais na allei y cyfriw ac yddynt yn blant i Dduw, neu etifeddion yn ôl yr addewid o'r gyfammod o râs a wnaethpwyd âg *Abram* beidio byth a bod yn blant i Dduw; pa fodd arall y mae'r addewid yn siccr i holl hâd ysprydol *Abram?* Onid ydyw plant Duw oll yn cyfrannogi o'i natur Dduwiol ef ac onid ydynt hwy oll yn ettifeddion Duw? a ydych chwi yn *Arminian* a blediwch chwi tros gwbl gwympiad oddiwrth gyfammod Duw neu oddiwrth y peth yr ydych yn ddywedyd, ac onide, fe ddarfu am y'ch ymressymmau tros byth.

(2.) Darllennydd, y mae'n eglur na cyfrifwyd *Ismael*, *Esau*, &c. a llaweroedd eraill o hâd naturiol *Abraham*, nage, ei hâd oll, megis y cyfriw, neu megis yr ystyrier hwynt yn vnigol, am eu hâd ysprydol ef neu blant Duw; eithr y cyfriw ac y sydd etholedig gan Dduw, neu'r cyfriw ac sydd yn credu ynghrist, ac y mae yn eglur, na all neb o blant Duw

 ddiry-

ddirywio felly, a darfod iddynt fod yn blant iddo; fy meddwl yw, ni allant lwyr gwympo ymmaith tros byth oddiwrth ystâd o râs, a myned yn wiberod, *&c.* Megis y mae Mr. *Owen* yn cydnabod y darfu i rai o hâd *Abram*, pa beth sydd yn dangos, yn eglur, nad oedd yr Iddewon hynny erioed oddifewn y gyfammod o râs a wnaeth Duw âg *Abram*, eithr meddwch chwi, yr oeddynt er hynny oddifewn garuchwiliaeth oddiallan o gyfammod Duw.

*Atteb.* (1.) Gwir yw, yr oedd braintiau hâd naturiol *Abram*, megis y cyfriw, yn fawr; o ran defodau oddiallan at vchelfraintiau fe berthynei 'r gyfammod attynt hwy; (noda) (cyfammodau) yr ydoedd dau fath o gyfammodau, nis dywedir y gyfammod, 1. Yr ydoedd ganthynt jawn i holl fraintiau y gyfammod ddeddfawl oddiallan, ac i'r garuchwiliaeth oddiallan o'r Efengyl, a mabwysiad trwy Ffydd a gynnigwyd yn gyntaf iddynt hwy, eithr nid oedd ganthynt hwy na'i plant, megis y cyfriw, ddim jawn i gyfiawnhâd, mabwysiad, *&c.* Neu i vn ddefod oddiallan neu Sacrament o'r Efengyl, nag, nag oedd hyd oni chredent ac y caent y pethau a arwyddocceir yn y Sacrament; eithr.

(2.) Y gyfammod a roddodd i hâd naturiol *Abram*, megis y cyfriw, oruchfraint oddiar y cenhedloedd, ydoedd y fûr o wahaniaeth ac y sydd ynawr gedi ei thorri i lawr (megis o'r blaen) hynny yw, fe ddiddymmwyd y gyfammod honno, ac y nawr y mae Iddewon a chenhedloedd yn sefyll a'r yr vn gwaelod; nid oes dim braintiau cnawdol ynawr gan vn yn fwy na'r llall, *Nid oes dim gwybodaeth o ddynion nag o bethau yn ôl y cnawd, neu trwy enedigaeth mewn fford i cnawdol*, neu o achos y gyfammod oddiallan megis tan y Ddeddf; yr ydych chwi yn ymrhesymmu mal llaweroedd a ddalent fedydd plant o'ch blaen chwi, fod plant y credadwy vnwaith oddifewn y gyfammod, a phwy a anturia ddywedyd iddynt hwy gael eu taflu allan?

*Atteb.* Gan fod plant vnwaith yn aelodau o Eglwys yr Iddewon nid yw hyn yn profio i bod hwy erioed yn aelodau o'r eglwys tan yr Efengyl; yr oedd gan blant gwrywaid offeiriaid Duw tan yr hên gyfammod, pan dyfent i fynu, freintiau eraill, os rhaid ini alw enwaediad yn fraint, i ba rai nid oes gan feibion gweinidogion Crist jawn tan yr Efengyl, ac etto nid ydys yn eu cau hwynt allan oddiwrth

oddiwrth y fraint honno mewn vn man trwy eiriau eglur yn y Testament Newydd.

(2.) Eithr mi a brofiais nad ydoedd y gyfammod tan y gyfraith yn cyfammodi tros blant yn gyfammod Efangylaidd, ac felly nid yw yn perthyn at ein plant ni.

(3.) Chwi a wyddoch yn ol yr ymadrodd hwnnw, *omnis privatio intimat habitum*, fod pob anfeddiant yn myneg*l* meddiant; ni ellir am hynny daflu plant allan o'r eglwys Efangylaidd, cyn y gellir profio i bod hwy gwedi cael eu cymeryd i mewn; os gellwch chwi neu yn dyn byw ddywedyd wrthym, ymmhâ weinidogaeth gweledig y derbyniwyd plant i fod yn aelodau o'r eglwys cyn dyddiau *Abram*, y rhai oeddynt vwchlaw dau fil o flynyddoedd, yna chwi a dywedwch rywbeth, pan haerwch chwi eu bod hwy bob amser mewn cyfammod.

Y mae Mr. *Sidnam* yn crybwyllu am ddau fâth o gyfammod 1. Mewn perthynas i etholedigaeth. 2. I fod mewn cyfammod, *in facie visibilis Ecclesiæ.* I ba yn yr wyfi yn Atteb. Fe berthynei'r gyfammod o Enwaediad it blant y cnawd, it *Ismael*, ac *Esau*, yn gystal ac it *Jacob*, parai nid oeddynt oddifewn etholedigaeth grâs, am hynny y rheini oll a Enwaedwyd arnynt, nid oeddynt felly mewn cyfammod; Plant yr anghredadwy a allant yn yr ystyr hynny fod mewn cyfammod, yn gystal, a phlant y credadwy, megis ac y mae llaweroedd o honynt hwy gwedin yn bod, ie, ysgatfydd ychwaneg o honynt hwy nag o blant y credadwy.

Oblegid fod plant mewn cyfammod *in facie visibilis Ecclesiæ*, yn wyneb yr eglwys weledig, yr wyfi'n Atteb, er eu bod nhwy felly yn holl eglwysi'r Iddewon tan yr hên gyfammod, rhai a ddaethpwyd i mewn trwy enwaediad, a rhai hebdo, etto y mae'r gyfammod honnô a'r hâd ammodol (fel y darfu imi eisioes ac y caf brofio ymmhellach) gwedi cael eu taflu allan, pa vn a geiff fod yn atteb dibennol; fel hyn yr wyfi yn ymresymmu.

Os y gyfammod trwy ba vn yr ammodwyd Plant oedd y gyfammod hên a arwyddoccawyd wrth *Hagar*, a bod yr hâd ammodol hynny a arwyddoccawyd wrth *Ismael* gwedi cael eu taflu allan, neu ni ddylent gael eu derbyn i'r eglwys tan yr Efengyl.

Eithr y gyfammod trwy ba vn yr ammodwyd plant oedd yr hên gyfammod a arwyddoccawyd wrth *Hagar*, a'r hâd ammodol hynny a arwyddocawyd wrth *Ismael* a daflwyd allan.

Am hynny fe daflwyd allan hâd naturiol neu gnawdol y credadwy, neu ni ddylent gael eu derbyn i'r eglwys, Gwelwch, *Gal.* 4. 22, 23, 24, 25, 26. Canys y mae yn scrifennedig fod i *Abram* ddau fâb, vn o'r wasanaeth-ferth, ac vn o'r wraig rydd, *adnod* 24. yr hyn bethau ydynt mewn allegori, canis y rhai hyn yw y ddau destament, vn o fynydd *Sinai*, yn cenhedlu i gaethiwed, yr hon yw *Hagar*, &c. *adnod* 30. Ond beth y mae'r scrythur yn ei ddywedyd? Bwrw allan y wasanaeth-ferch, a'i mab; canys ni chaiff mâb y wasanaeth-ferch etifeddu gydâ mab y wraig rydd: wrth *Hagar* yr ydys yn meddwl, y mae pawb yn cytunno, yr hên gyfammod, ac wrth ei thaflu hi allan y dalir i maes ddiddymmiad neu gymeriad ymaith o'r hên gyfammod, *efe a gymerodd ymaith y cyntaf, fel y gallei efe siccrhau 'r ail*, Heb. 10. 9.

(2.) Wrth *Ismael* y bwriadir hâd naturiol *Abram*, ac felly hâd naturiol pob gwyr duwiol o'i eppil a'i canlynodd ef, y rhai oeddynt aelodau o'r eglwys honno; ac fel y mae y nodadwyr diweddar yn nodi; wrth y lle hyn yr arwyddocceir gwbl ddinistr' eglwys yr Iddewon; pa vn a wnaethpwyd i fynu, o rieni a'i plant neu o holl genedl *Israel*; yr eglwys hon a'r hâd eglwysig, a'r modd o fod yn aelodau o'r eglwys a daflwyd ymaith ac a darfu am danynt yn dragywyd.

Nyni a dywedwn fod plant vnwaith yn cael eu derbyn i mewn i fod yn aelodau o eglwys yr Iddewon, ond y mae yn eglur i Dduw ynawr lwyr dynnu i lawr y ty hwnnw oddiwrth ei sail, fy meddwl yw, yr eglwys honno ymmhlith yr Iddewon pa vn oedd yn cynnwys pob Iddew, a rhoi heibio gadw ty, a throi y wasanaeth-ferch a'i mâb, hynny yw, hâd cnawdol, neu eppil naturiol *Abram*, allan tros y drws; fe dorrwyd ymmaith y canghennau naturiol, ac fe adeiladodd Duw ynawr iddo ei hunan dy newydd, mwy rhagorol ac ysprydol tan yr Efengyl; i ba vn nid oes neb yn cael eu cymeryd i mewn gantho ef, megis ei weision-ty i drigo yn ei deulu ysprydol hyn, neu eglwys Efangylaidd, eithr y credadwy yn vnig, neu'r cyfriw ac sydd yn addef eu bod felly, ie, Medd St. *Petr*, megis cerrig bywiol a adeiladwydd yn dy ysprydol, &c. a bod yr hên

dy,

dy, ffurf eglwyfig yr Iddewon gydâ phôb perthynas, defod a braint a honi, gwedi cael ei diddymmu ai thynu i lawr ac i vn newydd gael ei adeiladu ai gosod i fynu, i ba vn nid yw plant iw cymmeryd i mewn, sydd eglur jawn oddiwrth, *Heb.* 7. 12. *Canys wedi newidio yr offeiriadaeth, anghenrhaid yw bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd.* Pa vn sydd yn cynnwys enwaediad gydâ phôb perthynas a braint sydd yn cyrhaeddyd atto; ac am hynny megis y daeth plant i mewn i fod yn aelodau o'r eglwys gydâ chyfraith yr enwaediad, ac mal rhan vniawn o'r hên gyfammod, neu'r hên gyfraith, felly hefyd y mae'n eglur iddynt hwy fyned allan a chael eu diosg o'r fraint honno gyda ef.

Cymerwch drachefn fy nghyfflybiaeth gynt, sef, pa fraint bynnag a roddir i vn Dyn wrth weithred Parlament, pa vn gyfraith oedd i sefyl yn rymmys cyhyd, a dim pellach na therfyn yr amser hwnnw, a Pharliament arall i wneuthur cyfraith newydd, ymmha vn y cynnhwysir llaweroedd o bethau eraill ac oeddynt yn y gyfraith ddiweddaf, eithr yr amrîw fraintiau hyn a roddwyd i'r dynnion hynny ym y gyfraith gyntaf a adawyd allan yn y weithred ddiweddaf hon, oni byddei yn rhan ffolineb i neb rhyw o honynt bledio y braintiau hynny trwy rinwedd cyfraith, yr hon a darfu am dani, ac sydd ynawr yn ddirym?

Ond i ddyfod ychydig yn nes at y matter mewn cyflybiaeth mwy addas, pa beth pe bai gwr gedi cael gadael rhodd iddo trwy ewyllys neu destament ei gâr, ac etto gwedi hynni i gâr weled yn dda wneuthur ewyllys arall, yr hwn ydyw ei ewyllys neu destament diweddaf, ac yn yr ewyllys neu destament diweddaf hwn i adael ef yn llwyr allan, heb grybwyll mo hono, ac heb adael dim sath rodd iddo, oni fyddei yn ffolineb mawr ynddo ef ymgyfreitha am y rhodd honno a adawyd iddo wrth yr ewyllys a'r Testament cyntaf.

Sr, Felly y mae'r peth sydd yn llaw, ni a ddarllenwn am ddau gyfammod neu destament, yr hên a'r newydd, y cyntaf a'r ail; ynawr yn yr hên ewyllys neu'r hên destament, yr oedd plant yn cael eu gwneuthur yn gyfrannogion o'r braint hyn, sef, o fod yn aelodau o'r eglwys, yn yr eglwys ddeddfawl honno o'r Iddewon; eithr y nawr braintiau eglwysig cenedlig a wnaed yn ddiddym ac anfuddiol gan gyfammod yr Efengyl, pa vn ydyw ewyllys a thestament diweddaf Crist, ac ym-

ymmha vn y gadwyd yn llwyr allan fod plant yn aelodau o'r eglwys, yn gymmaint na crybwyllwyd mo'i henwau mewn ffordd o fod ganthynt jawn i vn ordinhaâd Efangylaidd, mal bedydd, Swpper yr Arglwydd, &c.

Os mynnwn ni wybod meddwl Duw yn y peth hyn, y mae'n rhaid ini ddychwelyd at ewyllys a thestament Diweddaf Crist, yn gymmaint a bod yr Efengyl, yn cael ei galw felly, a bod y cyntaf a'r hên gwedi chymerydd ymmaith, ac nid os vn Dyn a all brofio fod vn defod a berthynei i eppil naturiol *Abram* yn parhau iddynt hwy, yr hwn ni chrybwyllwyd yn yr ewyllys neu destament newydd a diweddaf Jesu Grist; y mae'n eglur fod ganthynt (neu o'r lleiaf) rai o honynt fraintiau eraill oddiallan, heblaw hwnnw o Enwaediad, ac etto nid wyfi yn gweled neb yn ymorchestu tros vn ddefod arall, eithr hon yn vnig a elwir ganthynt yn sêl y gyfammod: pa ham na allei gweinidogion bledio tros eu meibion oll fod ganthynt jawn i'r weinidogaeth, o herwydd rhoddwyd y fraint hynny iddynt tan yr hên destament, a bod pob plant gwrywaid sydd yn agoryd y groth yn sanctaidd i'r Arglwydd, pa fendithion a berthynasant iddynt hwy tan y gyfraith, a phledio hefyd tros ddegymmau a blaen-frwythau, &c.

Yr wyfi yn dymuno arnoch chwi a'r cyfriw ac sydd yn dal bedydd plant ddyfal ystyried a phwyso y peth a ddywedais i; myfi a dangosais i chwi a hwyntau, pa fodd y caedd plant, y rhai oeddynt vnwaith mewn cyfammod, hynny yw, mewn y gyfammod hên neu gyfammod y'r Iddewon eu taflu allan; canys yn ddiau, ni chymerwyd erjoed mô honynt hwy i'r Eglwys tan y Testament Newydd; ond yn gymmaint ac na osodwyd o honynt hwy i mewn, a bod yr hên gyfammod, a'r modd o fod yn aelodau o'r hên eglwys gwedi eu taflu allan a darfod am danynt; nid yw ond peth ofer i neb bledio eu jawn trwy y gyfraith a ddiddymmwyd; ymmhellach.

Chwychwi a dywedwch fod enwaediad yn sêl o'r gyfammod honno, trwy rinwedd pa vn, yr oedd gan blant jawn i fod yn aelodau o'r eglwys; os yw felly, y mae yn eglur ddarfod am dan y gyfammod honno, o herwydd i bod gwedi cael ei dileu, oblegid, yr ydym eu gyd yn edrych a'r dorriad ymmaith y sêl fod yn ddiddymmiad o'r gyfammod; mae'n sicer genyf, ac ni ellwch chwi ammeu mô hono, bod enwaediad (y sêl fel yr ydych yn ei alw) gwedi

cael

cael ei dorri ymmaith; Sr, beth am hynny a ddarfû am eich cyfammod chwi, i ammodi plant.

*Gwrthdd.* Ond fe allei y gwrthresſymmwch chwi a dywedyd, nad ydych chwi yn ymdrechu tros y ddefod neu'r ordinhaâd neillduol honno o fod plant yn aelodau o'r eglwys weledig, megis pe byddei i barhau ymhôb oes a bod yn fêl annherfynedig.

*Atteb* (1.) Pa fodd yr ymddengys fod gan blant y duwiol cyn amser *Abram* ddim jawn o fod yn aelodau o'r eglwys weledig, neu pa fâth fêl oedd ganthynt hwy?

(2.) Y fâth ddefod nid yw ond pûr chwedl yn gyffelyb i *Idea Platonica*, pob ordinhadau ac fydd yn wîr bennodol yddynt o'r fâth ddefod mewn modd neillduol, a fêl o gychwyniad fydd wîr bennodol, megis arwyddion nad ydynt naturiol, eithr wrth ewyllys yr ordeiniwr, ac o herwydd hynni nid os vn fêl o gychwyniad yn annherfynedig.

Y nawr Sr, nid os vn ffordd gwedi ei gadael i chwi, eithr i edrych yn gymmaint a bod yr hên gyfammod gwedi cael i dileu, pa vn a'i gellwch gwrdd â bedydd Plant yn y testament newydd, ac yno yn cael ei ddyscu, osſod i lawr a'i flaenfengi atto ef, megis y caedd enwaediad at yr hên gyfammod? Gwnewch hyn, a chwi a wnewch y cwbl, oni ellwch wneuthur hyn, y cwbl a wnewch ni thal ddim.

Chwychwi âg eraill a debygwch ddywedyd fod braintiau 'r Efengyl yn fwy cyfyng na'r rheini o'r gyfraith.

*Atteb.* (2.) Os tybiwch vnwaith fod braintiau 'r Efengyl oddiallan yn fwy helaeth, neu mo'r helaeth a'r rheini tan y gyfraith, yr ydych yn cyfeiliorni yn fawr; yr ydoedd gan yr Iddewon a dyfgawdwyr ac offeiriaid yr Iddewon laweroedd o fraintiau oddiallan, y rhai nid yddynt gan griſtnogion a gweinidogion tan yr Efengyl; fe addawyd iddynt hwy *wlâd odidog yn llifeirio o laeth a mel*, heddwch oddiallan, cyfoeth a chafglu golud oeddynt fraintiau yn perthyn attynt hwy, eithr nid os gennym ni tan yr Efengyl mo'r fath fraintiau, ond y mae'n rhaid ini ddifgwyl am orthrymder, a pheth ni raid, etto y mae'n braintiau ni yn well ac yn fwy, er eu bod yn fwy yfprydol; cyfammod *yw a ſiccrhawyd a'r well addewidion*; ein plant, pan dyfont i fynu, a eiſteddant tan oleu eglurach a mwy gogoneddus yr Efengyl, pa vn a ddaliwyd allan iddynt hwy a'u plant, onid mewn cyfcodau tywyll.

Ymhel

Ymmhellach, y pryd hynny fe glymwyd yſtâd Eglwyſig wrth hâd naturiol *Abram, &c.* Eithr y nawr y mae pawb ymmhôb gwlâd, ac y ſydd yn edifarhau ac yn credu'r Efengyl yn cael eu cymeryd i mewn. Y cenhedloedd tlodion a wneir ynawr yn gydetifeddion yn ddiau; ein braintiau yſprydol ni ſydd yn rhagori yn anfeidrol oddiarnynt hwy, eithr nid mewn pethau oddiallan, y mae mwy tywalltiad o'r yſpryd glan.

Och! Sr, pa fraintiau oedd gan y cenhedloedd a'u plant y pryd hynny? Onid ydyw ein cyflwr ni gwedi gwellhau?

Drachefn fe wrthddadleuir gan rai ſydd yn dala bedydd plant; *Pe buaſei ewyllys Duw i blant tan yr Efengyl gael eu cyfri megis oddifaes ei gyfammod, y rhai oeddynt mewn cyfammod; yna fe ganlyn, meddant hwy, fod ein jachawdr yn anffyddlon neu'n anghofus o'i eglwys, yn gymmaint ac na wnaeth efe y cyfnewidiad hyn yn wybodol iddi; eithr nid ydym yn cwrddyd âg un gair mewn modd o waharddiad yn yr holl deſtament newydd; oddiwrth pa un nyni a allwn gaſclu, yn gymmaint ac nis diddymodd Criſt yr ymarferiad o gychwyn plant, ac na waharddodd eu gollyngiad hwy i'r eglwys trwy fedydd*, &c.

(1.) Yr wyfi'n Atteb, pe buaſei meddwl Duw i blant tan yr Efengyl gael eu cymeryd i mewn i'r eglwys trwy fedydd, fe fuaſei Criſt, chwi a allaſech ddywedyd yn hytrach, yn anghofus neu'n anffyddlon, pan na roddodd y mynegiad lleiaf o'i feddwl a'i ewyllys am dan y peth, yr hwn a hyſpyſſodd bôb peth yn eglur oddiwrth y tad, ac oedd ffyddlon megis mab tros ei dŷ ei hun.

(2.) Y peth ni chynhwyſir yn ei ewyllys a'i deſtament diweddaf am hwn a matterion erail ſydd ddigonol i fynegu ei feddwl a'i ewyllys mewn modd amheuol; ac felly chwi a wyddoch fod y peth ymmhob ewyllyſſiau neu deſtamentau diweddaf ymmhlith Dynnion, oni oſſodir y matter i lawr mewn modd o haeriad, nid os achos i oſſod i lawr mewn modd amheuol. Ac os gellir gwneuthur y peth o herwydd na waharddwyd mo hono, felly y gellir gwneuthur cant o bethau eraill, ie, llaweroedd o ddefodau 'r Iddewon ac adnewyddiadau pabaidd hefyd; canys pa le y gwaharddwyd hwynt, y ſumm gan hynny o fy atteb i'r cwbl ac yr ydych yn ei ddywedyd ar yr achos ymma yw hyn; y braintiau parai yddynt ddefodau, ordinhadau neu Sacramentau nid yddynt cynifer ag yr ydych chwi yn ei feddwl, neu cynifer ac oedd gan yr Iddewon gynt, nag ychwaith

yddynt

yddynt hwy iw gael eu gweinidogaethu, yn y modd y maent hwy yn tybied, neu y sydd gymeradwy ganthynt, neu ar ôl eu ymressymmau hwynt eithr ar ôl eglur ordinhaâd Duw. Vniawn y mae Mr. *Ball* yn ei lysr—— Yn dywedyd *Posit.* 3. 4, *tu dalen* 35. ' Eithr ymmha beth ' bynnag y mae enwaediad a Bedydd yn cyttuno neu'n an- ' ghyttuno, y mae'n rhaid ini edrych at ei chychwyniad, ac ' na'i ymystyn ymhellach, na'i dynu yn gysyngach nag y ' gwnaethpwyd ef gan yr Arglwydd, o herwydd efe yw ' ordeiniwr y Sacramentau yn ol ei ewyllys dda ei hun, ' ac yn gwaith ni ydyw i ddyscu gantho ef; i ba rai, pa fodd ' ac i bwy ddiben y mae y Sacramentau iw cael eu gweini- ' dogaethu, pa fodd y maent hwy yn cyttuno, ac ymmha ' beth y maent yn anghyttuno; yn y cwbl oll nid os ini ' haeru dim heblaw y pethau a ddyscodd Duw ini, ac yn yr vn ' modd ac y dyscodd efe ni.

Oni bai fel hyn, pa fod y gallem ni neccau neu wrthwynebu saith Sacramentau'r *Papistiaid?* Neu farnu arferyd halen, olew, aphoeryn yn y bedydd, yn gymmaint am nad yw'r pethau hyn gwedi gwahardd? Onid da y dywedodd *Tertullian*, a ydyw'r peth yn gyfreithlon o herwydd nis gorchymynnwyd.

Y mae y rheini ac y dalant fedydd plant yn mynegi ymmellach wrth fordd o wrthddadliad fod cynnaliaeth y Bedyddwyr yn gosod tramgwyd ar ffordd dychweliad yr Iddewon at gristnogrwydd; a annoga hyn, meddant hwy, droad Iddew i roesawu cresydd yr Jesu, i ddywedyd wrtho am y braintiau vchel a gogoneddus y ceiff efe ei hun jawn iddynt pan gredo yntho ef, eithr am ei blant ef nhwy a daflir allan?

*Atteb.* A dramgwyddodd hyn hwy yn nyddiau'r Apostolion, pan ddywedwyd wrthynt, na thalei Enwaediad, ddim, na dienwaediad? gwir ydyw os ni thalei enwaediad ddim, eithr ydoedd jau o gaethiwed, yna pa ham y dylei hyn iw tramgwyddo hwynt? fe allasei fod yn fwy tramgwydd yn eu ffordd ddywedyd wrthynt oblegid yflâd eu heglwys a'i holl fraintiau, i bod nhwy ynawr gwedi darfod am danynt, ac y nawr mae'n rhaid iddynt edrych arnynt eu hunain fod dim yn well na'r cenhedloedd, fod dim teyrnwialen mwyach yn *Judah*, dim gwlâd *Canaan*, dim teml, dim Archoffeiriad; na oedd i blant y lefiaid, megis y cyfriw fod mwyach yn weinidogion, na dim dilyniad o'r offeiriadaeth;

daeth; beth am hyn ei gyd, pan glywent am wêll braintiau iddynt hwy, ac y cae eu babanod ac sydd yn marw fyned i'r nefod, er nad enwaedwyd arnynt, na'i bedyddio mo honynt? ac os byddant fyw hyd oni delont yn wyr ac yn wragedd, a chredu (neu hyd oni welo Duw fod yn dda i galw hwynt) addewyd maddeuant pechod ac o'r yspryd glân fydd ran iddynt hwy, a nhwy a fyddant gadwedig, *Actau* 2. 39. Onid dywedyr wrthynt hwy a phawb eraill, fod hên bethau gwedi myned heibio, a phôb peth sydd gwedi wneuthur yn newydd, &c. 2 *Cor.* 5. 16. Am hynny nyni o hyn allan nid adwaenom neb yn ôl y cnawd; y mae yn debyg gan hynny y buasei yngynt wybodaeth o bobl yn ôl y cnawd, ac y mae yn eglur ei bod felly, oblegid yr Iddewon oeddynt o had naturiol neu gnawdol *Abram*, ac a oeddynt oll am hynny yn cael eu derbyn i fod yn gyfrannogion o'r braintiau oddiallan o fod yn aelodau o'r eglwys, pan y cauwyd eraill allan, eithr nyni a welwn fod yr Apostol yn bwriadu o hyn allan ymmwrthod a'r fath brisiad, parch neu wybodaeth o honynt neu neb eraill o achos pûr ddiscynniad cnawdol, ac i'r vnig perwyl ymma y mae efe 'n cyssylltu yn yr adnod sydd yn canlyn *Gan hynny od os neb yn Ghrist y mae efe yn greadur newydd, yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd*; hên eglwys, a'r hên fodd o fod yn aelodau o'r Eglwys, Braintiau, defodau ac ordinhadau: a defodau newydd, had newydd, a ffordd newydd o dywysiad i mewn i fod yn gyfrannogion o fraintiau'r Efengyl, a bod yn aelodau o'r eglwys, ac os byddei hyn yn dramgwydd iddynt, pwy a all' ei rwystro? nyni a wyddom iddynt hwy dramgwyddo a'r greigiau cymddrwg a hon:

Ymmhellach, wrth ballu i blant ddim jawn i ordinhadau'r Efengyl, nis gallwn mlenwi geneuau plant yr Iddewon a llêf a chwynfan gofidiol yn erbyn cristnogrwydd, oblegid na allent weled fod plant yr Iddewon yn cael y fath lessad trwy enwaediad ac yr ydych chwi yn ei ffeddwl; Nage, nage, y mae'n rhaid iddynt hwy roi lle i ewyllys arbennig yr Arglwydd mawr, ac nid ymryson am ddim braintiau ymmhellach, ac nid mewn vn modd arall eithr yr hwn a welodd efe fod yn dda ei appwyntio a'i ordeinio.

Y mae yn siccr gennyfi os gwîr ydyw'r peth yr ydych chwi ac eraill y rhai sydd yn dala bedydd plant yn ddywedyd, mae digon ydyw i lenwi genauau plant truain yr anghredadwy yn ein plith ni, y rhai yddynt Genhedloedd a chwynfannau gofidiol yn erbyn eu rhieni, pe baent yn dal'

sulw

ſulw a'r y peth yr ych yn ddywedyd ; ac yn ddiammeu y mae mwy o honynt(fy meddwl yw) mwy o blant yn cael eu geni i rieni annuwiol, nag y ſydd yn cael eu geni o rieni Duwiol ; a pheth a allant hwy ddywedyd, a pha fodd y gallant hwy ymliwied am ei cyflwr ei hûn? och, och! truan yw ein cyflwr, ein rhieni oeddynt bobl ddrwg ac annuwiol, ac yr ydym ni o ran hynny gwedi 'n gadael gan Dduw, nid os na chyfammod, na Sacramentau, na gobaith o drugaredd yn perthyn ini ; ni chymerodd Duw neb ond plant y rhai Duwiol iw gyfammod! Och! Nyni a fedyddiwyd, eithr nid oedd gennym ddim jawn i fedydd ; y mae'n cyflwr ni cynddrwg ac plant Paganod a Thwrciaid. Sr, pebai pobl yn yſtyried yn jawn ddiben y fath athrawiaeth, fe fyddei'n rhaid iw calonnau gyfodi yn erbyn ei amddiffynwyr ; ie fe allyf pawb neu'r rhan fwyaf o blant fod yn annilys, pa vn ai bod eu rhieni yn wîr dduwiol neu peidio, ac felly bod mewn cyfammod neu heb fod, oblegid os amgen, y mae'n rhaid i chwi redeg at ryw reſſwm arall i brofio eu bedydd a'i braintiau eglwyſig, heblaw hwnnw o'i rhieni fod mewn cyfammod ; gwîr yw, y peth tan y ddeddf nid ydoedd felly, canys os [illegible] rhieni oeddynt Iddewon, neu hâd naturiol *Abram* pa vn ai bod hwy yn Dduwiol neu peidio, etto nhwy a wyddent fod ganthynt jawn i'r braintiau hynny oddiallan.

Myfi a welais rai rheſſymmau a luniwyd gan wr yn dala bedydd-plant yn tueddu i brofio fod y gyfammod a wnaethpwyd ag *Abram* yn gyfammod o râs, ac y mae efe yn ymorcheſtu profio yr vn peth. 1. Oddiwrth y jaith a'r ymadrodd o honi. 2. Oddiwrth ei pharhaad. 3. Oddiwrth y fendith trwyddi.

Ei jaith ai ymadrodd, *Gen.* 17. 7. Ydyw, *myfi fyddaf yn Dduw iti, ac ith hâd ar dy ôl di* ; Ynawr (meddant hwy) onid ydyw hwn yn wîr ymadrodd Efangylaidd, ac yn dangos ei bod hi yn gyfammod gydag *Abram* ynghriſt? Adolwg, pa fodd y daeth Duw hollalluog (yr hwn ar dorriad y gyfammod o weithredoedd a wnaethpwyd gyda ni yn *Adda*, a aeth yn elyn digllon) i fodd yn Dduw i ddyn gwedi ei gwymp, ai trwy vn ffordd arall eithr trwy gyfryngwr.

*Atteb.* (1.) Myfi a brofiais wneuthur dwy fath o gyfammod gydag *Abram*, ac nid wyfi yn ammeu nad addawyd i *Abram* y gyfammod o ras a wnaethpwyd ynghriſt, pa vn ſydd yn vnig yn cymmeryd i mewn yr hâd wîr yſprydol,

prydol, ac i'r holl rai hyn y mae Duw yn myned yn Dduw mewn modd neillduol.

(2.) Y mae'n eglur nag arferodd Duw vn math ffordd o ammodi a dyn yn ôl y cwymp, o ba natur bynnag yr ydoedd eithr trwy gyfryngiad cyfryngwr, megis hwnnw gyda *Noah* ynghylch y dyliw, *Gen.* 9. 8, 9. yn hwnnw yr ymddangosodd Duw ei fod efe yn Dduw i'r hôll fydd, ac felly y mae efe trwy garedigaeth a rhagluniaeth; etto nid yw yn canlyn, mae'r gyfammod o ras, oedd y gyfammod honno, neu i Dduw eu derbyn hwynt i ffafor neillduol gydag ef ei hun; felly pan roddodd allan y gyfraith danllyd honno a'r fynydd *Sinai*, efe a ddywedodd wrthynt, *Exod.* 20. 2. Myfi yw'r Arglwydd eich Duw, *&c.* Hwn ydoedd y cywir raglwybr i'r rhan hynny o'r gyfraith a scrifenwyd ar lechau, pa vn er hynny a elwir yn amlwg gan yr Apostol yn weinidogaeth angeu a damnedigaeth, 2 *Cor.* 3. 7, 8, 9. Ac ei bod hi yn lladd ac na allei roddi bywyd. Y nawr a raid fod hon yn gyfammod o Ffydd neu râs? Pa fodd gan hynny y dywed yr Apostol *Paul*, y gyfraith nid yw o Ffydd, hefyd y mae'r gyfammod o ras, yn rhoddi bywyd? o[illegible] yr wyfi yn ymresymmu yn llyn, ni allei'r gyfraith roddi bywyd am hynny nid ydoedd y gyfraith yn gyfammod o râs. Hyd yn hyn yr af o herwydd y nôd neu'r ystyriaeth cyntaf.

(2.) Yr ail ystyriaeth ydyw, parhâad y gyfammod hon a wnaethpwyd gydag *Abram*, y mae'r Arglwydd yn ei galw yn gyfammod dragywyddol, *&c.*

*Atteb.* Fe allesit gadael hwn allan, y mae yn vnig yn angwanegu y rhifedi, fe attebwyd hwn gan y gwrthddadlwr ei hunan (pwy bynnag ydyw efe) wrth ddywedyd, fod y gair Hebreaeg weithiau'n arwyddoccau dim ymmhellach na hir barhâad amser; nyni a wydom hyn o'r goreu, a'r defodau moesic hynny pa rai a derfynasant ynghrist, a ddywedir fod yn dragywydd.

Eithr pan ddywed Duw y bydd efe yn Dduw i berson yn oes oesodd, neu yn dragywydd, y mae hyn yn hyspyssu y bydd efe felly hyd yn dragwyddoldeb; ond ni ddywedodd Duw vn amser y byddei efe yn Dduw hyd yn dragwyddoldeb, i bawb rhai a berthynent at y gyfammod o enwaediad; ag nid oedd efe yn Dduw i *Ismael* felly, er enwaedu arno; ac oni fwrodd efe ymmaith holl genedl yr Iddewon, gydâ pha vn y gwnaeth efe 'r gyfammod hwnnw,

ac

ac nid yw iddynt hwy yn Dduw feily ynawr, yr wyf yn cyfaddef ei fod yn Dduw hyd tragwyddoldeb i hâd ysprydol *Abram*, fef, i'r holl wir gredadwy yn Ghrist.

(3.) Y rhesswm neu'r nôd trydydd a diweddaf i brofio fod y gyfammod o enwaediad yn gyfammod o râs a gymerir oddiwrth y bûdd a'r bendithion fydd yn dyfod trwyddi, *i fod yn Dduw iddo ef ac iw hâd, a hynny yn dragywydd* fydd yn fendith Efangylaidd cynnhwyfedig jawn, canys yn y modd hyn (meddant hwy) y mae Duw yn rhoddi i bèrson jawn i'r hyn oll ac ydyw efe, ac i'r cwbl ac fydd gantho ef, cynbelled ag y gellir cyfrannu i'r creadur; y fendith hon a addawyd i *Abram*, fydd yn cynnwys Crist. grâs, fancteiddrwydd yma, a gogoniant ac happufrwydd yn ôl llaw ac felly y cawn yr Apostol yn *Heb.* 8. Yn arferyd yr vn ymadrodd a hwn o fod yn Dduw i *Abram*, *Myfi a fyddaf Dduw iddynt hwy, a hwy a fyddant yn bobl i mi.*

*Atteb.* Dymma *Idem & bis idem, culpandum est*, yr vn peth drachefn a attebwyd eisioes; a ydyw Duw yn Dduw yn dragywydd i *Abram*, ac iw holl hâd cnawdol, ac i'r credadwy y rhai ydynt hâd ysprydol *Abram*, ac iw holl hâd cnawdol, ( meddaf fi ) a ydyw hyn felly? a ydyw Duw, yn Dduw yn rhoddi ei hun yn gwbl fel y mae efe, a'r cwbl ac fydd gantho ef i bob credadyn ac iw holl hâd cnawdol? a oes gan eu plant oll, a phôb vn o honynt Grist, Grâs, a Sancteiddrwydd ymma, a gogoniant ac happufrwydd tragywyddol yn ôl hyn? neu oni ddylent hwy gael eu vniawn geryddu am gymmyscu pethau môr annhrefnys ynhyd? gwir yw, trwy'r gyfammod o râs a wnaethpwyd ag *Abram*, y mae gan ei wir hâd ysprydol ef oll (pa rai yddynt yr etholedigion) jawn i'r cwbl ac ydyw Duw, ac y fydd gantho ef, cynbelled ac y gellir cyfrannu i'r creadur; ac nyni a wyddom fod ganthynt Grist ( yn gystal ai bod hwy yn eiddo Crist fel y nododd *Paul*, *Gal.* 4.) a grâs ymma, ac y cânt ogoniant ar ôl hyn; eithr nid oes gan liaws o eppil naturiol *Abram*, ac eppil naturiol y credadwy na Christ na grâs, ac ni byddant fafadwy, eithr collir hwynt yn dragywydd; am hynny fe ddichon hyn wafanaethu yn lle atteb, gydâ'r peth a brofiais i o'r blaen o herwydd natûr y ddaw fath gyfammod a wnaethpwyd âg *Abram.*

I'r peth y fydd yn cael ei haeru ymma hefyd;

Os ydyw'r gyfammod a wnaed ag *Abram* yn vn â'r

gyfammod o ras, yna y mae gan ein hâd babanaidd jawn i fedydd; yr wyfi'n atteb, annogi hyn o'r blaen, ac myfi a'i attebais eisioes yn vnig mi a anghwanega beth neu ddau o *Fartin Luther.*

'*Paul* am hynny sydd yn dibennu gydâ'r ymadrodd hyn; '(medd efe) y rhai sydd o Ffydd, ydynt blant *Abram*; y 'genedigaeth corphorol hynny neu'r hâd cnawdol ni 'wnânt blant *Abram* gerbron Duw; megis pe buasei efe 'yn dywedyd, ni cyfrifir neb gerbron Duw mal plant 'i'r *Abram* hwn (yr hwn ydyw gwâs Duw, pa vn a ddewi'sodd Duw, ac y wnaethpwyd yn gyfiawn trwy Ffydd) 'trwy genhedliad cnawdol, ond y mae'n rhaid rhoddi y 'cyfriw blant ger bron Duw, megis yr ydoedd efe yn 'Dâd, eithr tâd ydoedd efe o Ffydd, ac efe a gyfiawn'hawyd ac a fodlonodd Dduw; nid oblegid y gallei efe 'genhedlu plant yn ôl y cnawd, nid oblegid fod gantho 'Enwaediad tan y ddeddf, eithr o herwydd iddo gredu yn 'Nuw; pwy bynnag gan hynny a fyn fod yn blentyn i'r '*Abram* credadyn, sydd raid iddo hefyd ei hunan gredu, 'ac onide nid ydyw yn blentyn i *Abram* etholedig, creda'dyn ar hwn a gaedd ei gyfiawnhau; eithr yn vnig i *Abram* 'cenhedledig, hynny yw, na dim arall ond dyn gwedi cael ei 'genhedlu, ei eni a'i ymrwymo mewn pechod, heb faddeu'ant pechod, hêb ffydd, heb yr yspryd glân megis dyn 'arall, ac am hynny gwedi farnu: y cyfriw hefyd ydyw'r 'plant a genhedlir gantho ef yn ôl y cnawd, hêb fod dim 'ganthynt hwy yn debyg iw tâd heblaw cîg a gwaed, pe'chod a marwolaeth, am hynny y mae'r rhain hefyd gwedi 'barnu, yna ni thâl y ffrost hyn ein bod ni'n had *Abram*, 'ddim. fel hyn a llawer ychwaneg i'r vn perwyl y mae efe 'yn helaethu arno.

Mr. *Perkins* ar ÿ *Gal.* 'O herwydd y gyfammod a 'wnaethpwyd ag *Abram* a ddywedodd: Hâd *Abram* nid 'ydyw'r hâd yn ol y cnawd, eithr hâd yr addewid; a'r 'hâd ymma ydyw yn gyntaf Crist, ac yno pawb a gre'dant ynghrist, canys y rhai hyn ôll a roddir i *Abram* 'trwy addewid ac etholedigaeth Duw; ymmhellach, yr hâd 'ymma nid yw laweroedd (megis y mae *Paul* yn nodi) 'eithr vn; yr ydys yn gwrthddadlu fod y gair hâd yn 'enw cynullciedig, ac yn arwyddoccau hôll hiliogaeth *A*'*bram*, *Atteb*. Y mae felly weithiau (medd efe) eithr nid 'bôb amser; oblegid fe ddywed *Esa* am *Seth*, fe roddodd

Duw

'Duw imi hâd arall, drachefn (eb efe) yr vn hâd neill-
'tuol hwn o *Abram* ydyw Christ Jesu; yma wrth enw
'Crist, yn gyntaf ac yn enwedigol yr arwyddocceir y cy-
'fryngwr, ac yna yn y lle nessaf yr Iddewon ôll a'r cenhed-
'loedd y rhai a gredant ac a blanwyd ynghrist trwy ffydd;
'y mae St. *Paul* yn dywedyd am blant y cnawd, nad ydynt
'hwy yn blant i Dduw; eithr plant yr addewid ydynt hâd
'*Abram*, Rom. 9. 8.

Y nawr yr ydym ni yn caniattau fod y gyfammod hon a wnaethpwyd fel hyn gydag *Abram* yn vnâ'r gyfammod o râs, eithr beth a dal hyn i blant neu hâd cnawdol y credadwy megis y cyfriw? ac felly yr wyfi'n myned at eich rhesswm nessaf.

Chychwi a ddywedwch fod plant y ffyddloniaid oddifewn cyfammod Duw, o herwydd fod Crist yn gyfryngwr cyfammod gwêll, yr hwn sydd wedi ei osod a'r addewidion gwêll, *Heb.* 8. 6. *&c.* Eithr, meddwch chwi, os cauir allan blant y credadwy oddiwrth y gyfammod, yna y mae'r gyfammod yn waeth, ac nid yn gyfammod gwell; braint mawr plant ydoedd bob mewn cyfammod, *Rhuf.* 9. 4. Oblegid addewidion Duw a berthynent iddynt hwy. Eithr os byrhauir y gyfammod o ran braintiau, pa fodd y gall fod yn gyfammod gwell, *&c.*

*Atteb* (1.) Yr wyfi'n Atteb, ac yr ydym ni yn cyfaddef fod plant yr Iddewon, pa vn ai bod hwy'n Iddewon credadwy neu'n anghredadwy, personau Duwiol, neu bersonau annuwiol yn y gyfammod hwnnw oddiallan a wnaeth Duw ag hâd naturiol *Abram*, megis y cyfriw, neu gyda holl dy *Israel* tan yr hên-Testament neu'r hên gyfammod; eithr yr addewidion a'r gyfammod hwnnw y pryd hynny nid oeddynt yn rhedeg i hâd yr Iddewon credadwy yn vnig; oblegid os oeddynt hâd *Abram*, fy meddwl yw, ei had naturiol ef, pa vn a'i credadwy neu anghredadwy, Enwaediad a berthynei iw plant gwrywaid, megis y cyfriw, a phob math o fraintiau eraill oddiallan; eithr y gyfammod o ras a wnaethpwyd ag *Abram* a redodd yn vnig y pryd hynny, fel y mae hi yn rhedeg y nawr, sef, i'r etholedig yn vnig, nid iw hâd cnawdol hwy megis y cyfriw, eithr iw hâd ysprydol: os ydych chwi yn credu, yr ydych yn y gyfammod o ras, ac os ydyw eich plentyn yn ei fabolaeth yn vn o etholedigion Duw, y mae mewn modd o appwyntiad oddifewn yn y gyfammod o ras, eithr nid mewn gweithred

hyd ni's credo ac y bo gantho wir vndeb a Christ trwy Ffydd, ac y byddo gyfrannog o'r yspryd glân, pa vn ydyw rhwymyn yr vndeb hwnnw a sêl y gyfammod o râs; ni all' vn defod oddiallan fod yn sêl o'r gyfammod ysprydol; os ydoedd gan hynny enwaediad yn sêl o vn cyfammod, yr ydoedd yn sêl o'r gyfammod gyfreithlon ac oddiallan, er i *Abram*, gwi-iw, ei derbyn hi megis sêl o gyfiawnder ei Ffydd, ie, y ffydd honno ydoedd gantho ef yn ei ddienwaediad, ac yn yr ystyr hynny ni allei fod yn sêl i vn person arall eithr i *Abram* yn vnig; canys pwy heblaw *Abram* oedd ganthynt gyfiawnder Ffydd cyn enwaedu arnynt hwy, ac y byddei iddynt hwy gael bod yn dadau i bawb a gredent, nid yn vnig o'r Iddewon credadwy eithr o'r cenhedloedd credadwy hefyd, canys felly yr oedd y gyfammod o gyfiawnder ffydd a wnaeth Duw âg *Abram* yn rhedeg, ac a wnaeth Duw yr fath gyfammod â chwi neu âg vn credadyn arall ynawr? neu a os vn fâth pen-cyfammod tan yr Efengyl heblaw Jesu Grist vn vnig? nid oedd *Abram* ond tâd cyscodawl; y cyfammod a wnaethpwyd âg ef a'i hâd naturiol, megis y cyfriw, oedd ddull o Grist a'i hâd ysprydol oll.

2. Nyni a brofiasom fod yn yr hên gyfammod tan y gyfraith laweroedd o fraintiau eraill oddiallan, heblaw enwaediad a bod yn aelodau gweledig oddiallan o'r eglwys; fe ddarfu ini grybwyll amriw, i ba rai ni a allwn angwanegu fod ganthynt jawn i wlâd *Canaan* ac i lywodraeth moesawl a llywodraethwyr yn eu mysg eu hun, neu wladwriaeth dinasaidd, a jawn hefyd i'r Deml ogoneddus oddiallan: Eithr Sr, a ydyw'r gyfammod Efangylaidd yn waeth na'r gyfammod ddeddfol honno, o herwydd nad os gennym ni na'n plant y fath addewidion, a braintiau oddiallan; yn ddiau, pan welo Duw fod yn dda agoryd eich llygaid, chwi a welwch yn fuan ac a gyfaddefwch eich cyfeiliornad; heblaw hyn yn gymmaint a bod yr Apostol yn ei galw yn gyfammod gwell ac yn addewidion gwell, y mae hynny yn dangos yn eglur nad vddynt hwy yn fraintiau oddiallan, eithr ysprydol, ac felly yn yr ystyr hynny myfi a brofiais fod y braintiau ac addewidion y gyfammod o râs yn rhagori lawer oddiar y braintiau ydoedd gan yr Iddewon y pryd hwnnw; ac y mae braintiau ein plant yn fwy hefyd, er nad yddynt gael eu derbyn megis aelodau i'r eglwys tan yr Efengyl hyd oni chredont.

'Chwy-

'Chwychwi a ddywedwch fod y gyfammod o râs a 'wnaethpwyd âg *Abram* yn gyfammod anghyfnewidiol; fe 'gwnaed hi yn ficcr trwy lw, *Heb.* 6. 13, 17, 18, *&c.* Am 'hynny (meddwch chwi) os cauwyd Plant allan o'r gyfam-'mod, y mae hi yn newidiol, ac os ydyw 'r peth fel hyn 'beth y ddarfu i lw ac addewidion Duw? pa le y mae'r 'diddanwch mawr? Pa le y mae anghyfnewidiolder cyn-'hor Duw? Gan hynny (meddwch chwi) y rhai ac y sydd 'yn taflu plant y ffyddloniaid allan o'r gyfammod o râs, '*&c.* Yddynt yn gwanhau eu diddanwch ac yn diddymmu 'r 'gyfammod tragwyddol, ac yn gwneuthur Duw yn gelwy-'ddog, 1 *Joan.* 5. 10.

*Atteb.* 1. Yma yr ydych yn ein cyhuddo ni hyd adref, ac yn gosod drygioni ffaidd i'n hachos ni, y rhai ydym yn neccau fod plant y credadwy, megis y cyfriw, yn y gyfammod o râs, ond gyda pha camwedd ac anghyfiawnder yr ydych yn ein cyhuddo ni, myfi a dangosaf trwy gymorth Duw.

Sr,

A ydyw holl plant y credadwy oddifewn y gyfammod o râs? yr wyfi yn haeru ac a safa wrth hyn, os felly y mae'r peth, nhwy a fyddant oll cadwedig, canys pob ryw enaid ac a fu neu y sydd yn y gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw âg *Abram* a fydd cadwedig; o herwydd ei bod hi yn gyfammod anghyfnewidiol, ac addewidion Duw a'i lw a roddwyd i ficcrhau iddynt hwy fywydd tragwyddol; Sr, nid oedd erioed gan hâd naturiol *Abram*, megis y cyfriw, ddim sail o ddiddanwch cryf, ni wnaeth Duw yn amser addewidion ac ni's rhwymodd hwynt gydâ llw y byddent oll gadwedig, yr wyf yn dywedyd oblegid hâd cnawdol *Abram*, megis y cyfriw, neu tan yr ystyr hynny; canys pe buasei iddo efe wneuthur y fath gyfammod gydâ nhwy ai ficcrhau hi â'i lw, beth a ddarfu i addewidion ef a'i lw, yn gymmaint ag iddo daflu ymmaith hâd naturiol *Abram*? och môr annhrefnus yr ydych chwi yn ymressymmu, gwelwch *Rhuf.* 9. 6. *unwaith etto; canys nid* Israel *yw pawb ac sydd o* Israel, *ac nid yddynt oblegid eu bod yn hâd* Abram *i gyd yn blant, eithr yn* Isaac *y'i gelwir iti hâd, hynny yw, nid plant y cnawd, hynny yw, megis y cyfriw, y rhai hynny sydd blant i Dduw, eithr plant yr addewid a gyfrifir yn hâd*; Sr, y mae'r testun hwn yn dywedyd cymmaint ac yr ydym ni yn haeru;

 y mae

y mae hâd ysprydol *Abram*, sef, etholedig Duw ôll, neu'r credadwy yn vnig oddifewn y cyfammod anghyfnewidiol, ac y mae ganthynt ddiddanwch mawr eithr pwy a ddichon ddywedyd neu wybod, pa rai yddynt hwy ac y sydd etholedigion Duw, hyd oni chredont ac y byddont tan alwedigaeth effeithiol? ac ni ddywedwch chwi fod etholedigaeth neilltuol, ac y mae llaweroedd o blant y credadwy heb gael eu hethol, o herwydd na chawsant erjoed eu galw.

(2.) Pe buasei yn amcan anghyfnewidiol Duw i alw, mabwysio, cyfiawnhau ac achub yn dragywydd holl blant y credadwy, chwi a dywedasech ryw beth, ac yna fe allasei eu holl hâd naturiol gael diddanwch mawr yn ddiammeu; eithr och, Och! Pa faint sydd o blant pobl dduwiol yn profio yn ddrwg ac yn annuwiol ac yn byw ac yn marw felly; a debygwch chwi fod y rhai hyn erjoed oddifewn y gyfammod o râs, a wnaeth Duw âg *Abram*? a fu ganthynt hwy yn amser ddim achos o ddiddanwch mawr?

Weloch Sr, Y mae'r cywilydd yn cwympo arno chwi, yr wyfi yn ymressymmu yn llyn, os ydyw holl blant y credadwy oddifewn y cyfammod o râs, yr hwn a wnaeth Duw âg *Abram*, ac etto bod llawer o honynt hwy yn golledig yn dragywydd, beth gan hynny a ddarfu am y cyfammod anghyfnewidiol a thragwyddol o râs? ie, pa le y mae'r addewidion a llw Duw? ac hefyd yr athrawiaeth o ddiysgogrwydd hyd y diwedd? Och! Pa gywilydd yr ydych chwi sydd yn dal bedydd plant, yn dynnu arnoch eich hunain wrth ymressymmu yn y modd dall ymma tros eich bedydd babanaidd.

4. Ond fe allei y dywedwch chwi, ych bod yn ymressymmu tros y braintiau oddiallan o'r gyfammod o râs, eu bod yn perthyn i'ch plant, megis y cyfriw, ac nid tros fendithion ysprydol neu neilltuol yr vn gyfammod.

*Atteb.* Os felly y mae'r peth, y mae etto vn waeth, oblegid yna y mae'n canlyn i Dduw yn y cyfammod o râs roddi trwy ei addewid a'i lw, ac anghyfnewidiolder ei bwrpas achos o ddiddanwch mawr i bôb rhai ac sydd ganthynt yn vnig ran yn y defodau oddiallan, 'a pharthau'r gyfammod o râs oddiallan; Sr, ymwaredwch eich hunan y goreu ac y gellwch rhag cael eich llwyr falu rhwng y ddau faen-felyn hyn.

Eithr

Eithr pa ham y mae'n rhaid i'ch plant chwi yn vnig gael onid rhan o'r braintiau oddiallan o'r gyfammod o râs, pa rai a wneir yn gyfranogion yn vnig o fedydd, ac nid o Swpper yr Arglwydd; onid ydys yn disgwyl am ffydd ymmhob rhai a ddylent gael eu bedyddio, megis yr ydys yn disgwyl yn y rhai oll sydd yn cyfrannogi o Swpper yr Arglwydd, i ymholi eu hunain ? ac ni all plant wneuthur vn o'r ddau; hyn yn gyferbyn i'r peth yr ydych chwi yn ei haeru yn tu dalen ——.

Y mae'n eglur nad yw plant y ffyddloniaid, megis y cyfriw, oddifewn y gyfammod o râs a wnaeth Duw âg *Abram*, eithr fe wnaethpwyd dau fath o gyfammod gydâg ef, a bod y gyfammod o râs yn vnig yn perthyn i etholedig Duw, pa vn ai bod nhwy yn blant y credadwy neu blant yr anghredadwy, pa beth nid ydym ni yn adnabod, hyd ni's tyfont hwy i fynu ac y dygir hwynt gan yr yspryd glân tan alwedigaeth neilltuol ac adenedigaeth; a'r cyfriw ac sydd o gyflawn oedran yn vnig, sef y cyfriw ac sydd yn credu sydd ganthynt hawl i fedydd, eithr nid trwy rinwedd y cyfammod o râs, eithr trwy rinwedd gorchymmyn pennodol Crist yn y Testament Newydd.

Sr, yr ydych chwi yn cyfeiliorni drachefn; nid trwy rinwedd y cyfammod o râs yr ydoedd gan bersonau hawl i'r Enwaediad, os felly, yna yr ydoedd gan blant Gwrywaid *Lot* a *Melchisedec* ac *Abram* hawl iddo pan gynted ac y ganwyd hwy; megis hefyd gan eu plant benywaid hwy; ni roddodd dim peth arall hawl i blant gwrywaid *Abram* i'r Enwaediad, eithr gorchymmyn Duw iddo ef, pa vn oedd yn cyrrhaeddyd yn vnig at y gwrywaid yn ei dy ei hun, neu y rhai a brynodd efe â'i arian, ac nid hyd yr wythfed dydd; oblegid y rhai a fyddent farw cyn yr wythfed dydd er eu bod yn blant gwrywaid, nid oedd ganthynt hawl i enwaedu arnynt, ac nid oedd gan ei blant benywaid ddim hawl iddo; felly ni dylei neb ond y credadwy pan allont roi cyfri am eu Ffydd trwy rinwedd gorchymmyn addas a phennodol Crist gael iw bedyddio; adolwg, cofiwch nad yw'r cyfammod o râs, megis y cyfriw, yn rhoddi dim hawl i fedydd, canis pe byddei, fe fuasei gan y credadwy oll neu personau etholedig hawl iddi, er y cychwyniad neu hyspysiad cyntaf o honi i *Adda* pan gwympodd; nage, nage, pûr Efangylaidd ordinhaâd ydyw a gwîr pennodol, ac yn gorphywys yn vnig ar fodd ac ewyllys gwneuthurwr-Cyfraith Jesu Grist.

Bri

Britaniaid anrhydeddus, y rhai ydych yn trigo yn Gwynedd a deheubarth; yr wyf yn deisyfu arnoch ystyried môr gau yw'r diben y mae Mr. *Owen* yn ei dynnu oblegid fod hawl gan blant y ffyddloniaid iw bedyddio; sef, os yddynt hwy oddifewn y gyfammod o râs, yna hwy a dylent gael iw bedyddio; canys mel na all efe nâg vn dyn byw brofio fod plant y credadwy, megis y cyfriw, oddifewn y gyfammod o râs; felly ni chanlynei ychwaith, pe baed yn canniattau hyn, y dylent hwy gael iw bedyddio, yn gymmaint ac nid y cyfammod o râs, eithr gorchymyn addas a phennodol Crist sydd yn rhoddi i bersonau hawl vniawn i'r ordinhâad o fedydd. Pe bwriadem ni, na roddodd Crist orchymmyn i fedyddio y credadwy, a fyddei vn dyn mor rhyfygys ai bedyddio hwynt? neu gasclu bod yn ddyledswydd arnynt wneuthur hynny, oblegid eu bod mewn cyfammod â Duw? neu a fuasei *Abram* ei hun yn cael enwaedu arno, o herwydd ei fod ef yn y cyfammod o râs, pe buasei heb dderbyn gorchymyn pennadol i wneuthur felly. Yn ddiau yr ydoedd efe oddifewn y cyfammod o ras, yn hîr cyn enwaedu arnô ef, ac etto ni phechodd felly, o herwydd na roddasei Duw'r gorchymmyn hynny iddo, hyd onid oedd yn hên.

Ymmhellach gorchymyn priodol Duw a roddodd i blant gwrywaid hawl i gael enwaedu arnynt; ac nid enwaedwyd yn vnig a'r yr rheini o'i had ag oeddynt oddifewn y cyfammod o ras, eithr a'r *Ismael* ac eraill, y rhai nid oeddynt blant yr addewid neu oddifewn y cyfammod o ras; ac hefyd nid ydoedd ddyledswydd ar *Lot* er ei fod oddifewn y cyfammod o ras gael enwaedu arno, o herwydd nid oedd yn trigo yn nheulu *Abram*, nag o'i had naturiol ef, ac na chafodd orchymmyn gan yr Arglwydd i enwaedu arno, neu i enwaedu a'r eu blant ef.

---

PEN.

# PEN. VIII.

*Yn profio nad yw bedydd Plant yn gyfreithlon, o herwydd bod yr enwaediad tan y gyfraith yn perthyn i blant Gwrywaid yr Iddewon, yn cynnwys Atteb i bennod cyntaf Mr.* James Owen.

OS, Meddwch chwi, y perthynei enwaediad tan y gyfraith i blant, yna bedydd tan yr Efengyl sydd yn perthyn iddynt, canys fel yr ydoedd enwaediad, felly y mae bedydd yn sêl o'r vn cyfammod o ras, ac y mae'n arwyddoccau'r vn peth.

*Atteb* (1.) Yr wyfi'n atteb, os ni pherthynei Enwaediad i blant tan y gyfraith mewn vn modd arall heblaw gorchymmyn addas a phennodol Duw, pa vn a roddodd hawl iddynt, yna os ni orchymynnodd Duw i'r credadwy fedyddio eu plant, nid yw yn ddyledswydd arnynt iw bedyddio hwynt, eithr eu pechod os gwnaent felly; ond myfi a brofiais mae gorchymmyn pennodol Duw yn vnig a roddodd awdurdod i blant gwrywaid a ddaethant allan o lwynau *Abram* i gael enwaedu arnynt, ac ni roddodd Duw ddim fath gorchymyn i'r credadwy am fedyddio eu plant; am hynny nid yw bedydd yn perthyn i blant y credadwy, megis y cyfriw, tan yr Efengyl megis yr ydoedd enwaediad yn perthyn i blant gwrywaid tan y gyfraith.

2. Myfi a brofiais nad oedd enwaediad yn sêl o'r cyfammod o ras, er ei fod yn sêl i *Abram* o gyfiawnder ei ffydd ei hun, ie, o'r ffydd ydoedd gantho yn ei ddienwaediad; sêl, myfi a ddangosais, sydd yn rhoddi hawl dilys o'r holl fendithion a'r braintiau hynny i'r personau hynny, i ba rai y selwyd y cyfammod, ac felly y gwnaeth i *Abram*, eithr nid ydoedd sêl o fendithion y gyfammod o ras i *Ishmael*, *Esau* a milcedd o rai eraill, y rhai a orchymynwyd enwaedu ar-

nynt

nynt; os ydoedd hyn gan hynny yn wir y mae Mr. *Owen* yn haeru, sef, bod enwaediad yn sêl o'r gysammod o râs i bawb oll a enwaedwyd arnynt yn eu mebyd, yna yr oeddynt oll yn gadwedig, ie y gwrywaid oll a ddaethant allan o lwynau *Abraham*; llaweroedd o ba rái a aethant cynddrwg a chyn ddrygionus ag vn math o ddynnion ac a fu fyw ar y ddaiar; y nawr darllennydd, a ydyw bedydd yn sêl o'r cysammod o râs tan yr Efengyl i bob rhai ac a feddydir; yna (os yw'r peth fel hyn) pwy na synnei ei fedyddio, a rhoi bedydd iw blant hefyd, fy Mrodyr, yr ysbryd glan yn vnig ydyw sêl y cysammod o râs neu'r gysammod Efangylaidd, gwêl, *Eph.* 1. 13, 14. *Pennod* 4. 10.

Yr ydych yn myned yn y blaen tu dalen ——— i ddangos ar amriw cysrifion fod enwaediad a bedydd yn arwyddoccau yr vn peth, yn gyntaf, chwychwi a ddywedwch, o herwydd bod y llygredigaeth dechreuol yn dyfod trwy genhedlaeth naturiol.

2. 'O herwydd i ni gael ein geni mewn aflendid y mae'n 'rhaid ini gael ein golchi yn ein mebyd.

*Atteb* 1. Pe caniattaem fod enwaediad a bedydd yn y peth hyn yn arwyddoccau llygredigaeth neu aflendid y pechod cyntaf, a raid ini gan hynny fedyddio ein plant heb ddim awdurdod, gorchymmyn neu Esampl o air Duw.

2. A ydyw bedydd yn golchi ymmaith yr aflendid cyntaf, mysi a wn fod y *Papistiaid* yn haeru ei fod yn gwneuthur felly, eithr pa fodd y maent hwy neu chwi yn profio hyn; Bedydd, medd St. *Petr*, nid ydyw yn golchi ymmaith fudreddi y cnawd neu lygredigaeth halogrwydd naturiol, *Pet.* 3. 21.

Y mae eich brawd anrhydeddus Mr. *Stephen Charnock* yn profio yn gyflawn, nad yw bedydd y fath ailenedigaeth ac y sydd yn glanhau oddiwrth bechod; gwnewch Atteb iw rhessymmau ef yn ei lyfr o herwydd yr ail-enedigaeth; beth er i'r bedyddwyr hynny yn *Siermani*, (am ba rai y crybwyllwch chwi) ddeall, fod yr hên dadau cyfeiliornus, pa rai a ddygasant i mewn fedydd plant, yn dywedyd ei fod yn golchi ymmaith y pechod cyntaf: oni ddichon Crist lanhau babanod etholedig ac sydd yn marw oddiwrth y pechod gwreiddiol, trwy rinwedd ei waed mewn ffordd anwybodus ini? a raid ini wadu pechod gwreiddiol, neu gyfaddeu fod bedydd plant yn glanhau oddiwrtho ef? defeinyddiaeth rhyfeddol ydyw, nid ydych yn profio dim.

4. 'Meddwch

4. 'Meddwch chwi, nid oedd pawb yn cael eu hadgen-
'hedlu trwi enwaediad, eithr Duw a fendithiodd ei ordin-
'hâd ei hun, yn ei amser ei hun, er adenedigaeth ei ethole-
'dig ef, &c. Felly y dywedwch chwi, nid am fod pawb
'yn cael eu hadgenhedlu mewn bedydd, ond o herwydd
'fod bedydd yn dangos anghenrheidrwydd'r adenedigaeth,
'a bod yn effeithiol mewn amser i bôb vn ac sydd yn etho-
'ledig, i weithio 'r adenedigaeth ynddynt.

*Atteb* (1.) Chwychwi a ddywedwch nad oedd pawb yn cael eu hadgenhedlu trwi yr enwaediad, ac felly nad yw pawb (meddwch chwi) yn gael eu hadgenhedlu mewn bedydd, &c.

Sr, gochelwch dwyllo eneidiau pobl, yr wyfi yn neccau na chadd vn enaid erjoed ei adcenhedlu yn ei sebyd nag yn enwaediad na bedydd, ac ni ordeiniodd Duw erjoed vn o'r ordinhadau hynny oddiallan i adcenhedlu hên neu jevaingc

2. Myfi a wn fod y scrythur a difeinwyr teilwng yn dal' allan fod bedydd yn arwydd o adenedigaeth presennol, y dylei y rhai a fedyddir, sef, y credadwy, gyfodi allan o'r bedd dwfrllyd, megis y mae Dr. *Sherlock* yn haeru, yn greaduriaid newydd-eni, eithr ni all' babanod wneuthur fel hyn, y rhai yr ydych chwi yn eu bedyddio, neu ynhytrach yn eu taenellu.

3. Profiwch, os gellwch, i Dduw erjoed fendithio enwaediad neu fedydd er adcenhedliad vn baban etholedig, pan ydoeth o oedran; eithr os nid yw neb, ond plant y credadwy, yn ddeiliaid o fedydd, paham yr ydych chwi yn bedyddio, megis yr ydych yn ei alw, holl blant y credadwy? a ydyw eu plant hwy oll yn etholedig, a neb ond eu plant hwy? oni ddewisir llaweroedd o blant yr anghredadwy? paham gan hynny na ellir bedyddio y cyfriw, yn gystal a phlant y ffyddloniaid?

'Sr, ni wyddom ni pwy a ddewisir hyd onis gelwir
'hwynt, ac nid yw bedydd yn perthyn i neb ond i'r cyfriw,
'ac a allant wneuthur proffes o'i ffydd, a rhoi eglurdeb
'o'i galwedigaeth effeithiol, a'i adenedigaeth presennol, yr
'ydych yn scrifennu eich delw eich hun, nid gwirionedd
'sicr ac anghyfeiliornus Duw.

4. 'Chwychwi a ddywedwch, fod calon *Abram* gwedi
'enwaedi arni cyn blaengroen ei dywysen, ond yr ydych
'yn mynegi bod cnawd ei blant gwedi cael ei enwaedu,

'cyn

'cyn enwaedu a'r eu calonnau, yn yr vn modd, meddwch
'chwi, ein hennafiaid y cenhedloedd, oeddynt flaenffrwy-
'thau i Grist, ac gwedi eu hadcenhedlu cyn eu bedyddio,
'eithr yr ydys yn bedyddio eu hâd, cyn eu hadcenhedliad;
'i *Abram* (meddwch chwi) yr oedd yn sêl o'r cyfammod
'o râs ac oedd gantho ef, ac o gyfiawnder ei ffydd cyn en-
'waedu arno ef; eithr iw hâd yr ydoedd yn arwydd o
'gyfiawnder ffydd; eithr yr oeddynt yn rhwym i dderbyn
'trwy ffydd, er cyfiawnhaâd, gwedi enwaedu arnynt; ac
'felly y dywedwch am hâd y credadwy o rân bedydd.

*Atteb* 1. Yr wyfi'n Atteb; fe dderbynniodd *Abram* enwaediad yn vnig megis sêl o gyfiawnder ei ffydd *&c.* eithr profiwch chwi fod enwaediad yn rhwymo ei blant oll i dderbyn cyfiawnhaâd trwy ffydd; haeriad rhyfygus ydyw hwn; myfi a brofiais nad oedd enwaediad yn perthyn i'r cyfammod o râs, eithr i cyfammod cnawdol oddiallan a wnaeth Duw ag *Abraham* ac yntho ef ag holl cenhedl yr Iddewon; ac am hynny fe haerodd yr Apostol yn bennodol, fod y cyfriw a enwaedwyd arnynt yn rhwym i gadw'r holl gyfraith, *Gal.* 5. 3. Nid i derbyn cyfiawnhaâd trwy ffydd. Ych cyffelybiaeth rhwng enwaediad a bedydd (gwîr yw) fydd yn cytunno yn dda â dychymmyg dynol y rheini a ddychymygasant fedydd plant a'r y cyntaf, y rhai a fynnent wrth hynny wneuthur yr eglwys Efangylaidd yn genhedlig megis yr ydoedd Eglwys yr Iddewon a ficcrhau defod yr hên eglwys a chymmundeb eglwyfig, y rhai a gymerwyd ymmaith, ac y mae ystâd eglwyfig newydd gwedi gosod ei fynnu, pa vn nid yw yn cael ei bôd o'r credadwy a'i had cnawdol, megis y cyfriw, eithr yn vnig o hâd ysprydol *Abram*, y rhai yddynt gredadwy neu gerrig bywiol yn cael eu hadeiladu yn dy ysprydol, 1 *Pet.* 2. 5, 6. Nid yw'r eglwys tan yr efengyl yn genedlig Eithr yn ymgafcledig, dywedwch y fynnoch i'r gwrthwyneb.

2. Am hynny megis ac y derbynniodd y ffyddloniaid o'r cyntaf ymmhlith y cenhedloedd a'r Iddewon hefyd fedydd, megis rhai crediniol, canys yr oeddynt gwedi eu hadcenhedlu, yn eu bedyddio, felly y mae'n rhaid ini; o i chawsom ni Efengyl newydd, neu awdurdod diweddaf i gyfnewidio gweinidogaeth ordinhadau-'r Efengyl a'r eglwys Efangylaidd: Myfi a dybiais fod y dwfr pan ddaeth yn vniawn allan o'r ffynnon yn fwy pûr, yr

ydych

ydych' chwi yn pledio tros ddwfr lleidiog yr hwn a redodd trwy 'r ffrwd *Papaidd*.

'Chwychwi a dywedwch fod enwaedid yn arwydd o
'dderbynniad i eglwys Duw, pob gwryw addaeth i mewn
'trwy'r drws hwnnw; nid oedd gan y rhai nis enwaedwyd
'arnynt ddim hawl i fraintiau yr eglwys weledig, felly y
'mynnech i fedydd redeg.

*Atteb.* Nid yw wîr yr hyn a dywedwch; nid oedd enwaediad y drws i eglwys yr Iddewon, yr oeddynt hwy oll yn cael eu geni yn aelodau o'r eglwys genedlig honno; ac am hynny eu benywaid oeddynt yn gystal yn aelodau (parai ni ofynwyd enwaedu arnynt) a'r gwrywaid.

2. Er ein bod ni yn canniattau fod bedydd yn ordinhâad o gychwyniad i'r eglwys Efangylaidd, etto nid yw'n derbyn neb aelodau, eithr y credadwy yn unig; os caiff neb eraill eu gollwng i mewn iddi trwy gau Ffydd, nid oes ganthynt ddim hawl yn jawn iddi, a phan orddiwesir hwynt fe ddylyt eu troi allan.

3. Sr yr wyfi'n dychrynu wrth ystyried yr hyn a ddywedwch, nid nyni eithr Crist yn ei Efengyl sanctaidd sydd yn cau allan plant neu hâd naturiol y credadwy, megis y cyfriw, rhag iddynt fod yn aelodau o'r eglwys Efangylaidd; efe a gauodd y drws hwnnw, sef, trwy genhedlaeth; hynny yw, trwy fod yn had i *Abraham* neu hâd y credadwy, megis y cyfriw, ac a agarodd y drws o adenedigaeth, nyni y rhai sydd yn credu a'n plant ni, y rhai a elwir gan yr Arglwydd ein Duw, ac neb eraill, a ollyngir i mewn.

Sr yr ydoedd enwaediad cyn belled rhag bod yn un fâth fraint, megis y mynegwch chwi, ac y mae'r Apostol yn ei alw y fath jau o gaethiwed nad oeddym ni na'n tadau yn gallu mo'i ddwyn. *Actau* 15. ac i Atteb i'r peth a dywedwch chwi yn tu dalen—— nid am eu pechod eu hun neu am bechodau eu rhieni y cauwyd babanod allan, neu nis derbynniwyd i'r eglwys Efangylaidd, eithr o herwydd ewyllys da Duw ydoedd cyfodi i fynnu ystâd eglwysig arall a mwy ysprydol, a throi heibio'r hên ffordd, a'r ystâd eglwysig cyscodawl *Israel*.

Am hynny i chwi fynegu, megis fel pe buasem ni môr annaturiol a thaflu allan ein plant o dy Dduw, ni ellir mo'i ddioddef; nid yw hyn onid dirmygu doethineb; yr ydym ni yn fwy ffyddlon i'n plant (ac nid fel yr estrys) na chwi; canys ni chaniattem ni iddynt hwy yr hawl hwnnw, ni roddodd Duw; ac ni fynnem iddynt dybied i bod hwy yn cael

cael eu hadgenhedlu mewn bedydd a'i gwneuthur yn aelodau o eglwys Duw, ac felly eu twyllo hwynt ai gossod a'r brofedigaeth o beidio ymmofyn am vn adenedigaeth arall a hawl Efangylaidd, i gymmundeb eglwysig.

'Chwychwi a ddywedwch fod enwaediad yn rhwymyn 'i ddodi ymmaith gorph pechodau y cnawd, ac (meddwch 'chwi) y mae bedydd yn ein gossod ni tan yr vn rhwyme'digaeth.

*Atteb.* Ni ddichon bedydd rwymo neb i ossod ymmaith gorph pechod, eithr y cyfriw ac yddynt yn wîr ddeiliaid o hono, trwy rinwedd ordinhaâd sanctaidd Christ; pa rai ydynt y crediniol yn vnig, y cyfriw cyn eu bedyddio a derbyniasant yspryd Duw, i wneuthur felly; eithr Chwychwi heb ddim siccrwydd oddiwrth Grist a fynnech ossod y rhwymedigaeth caled hwn a'r ych plant truain, pan nis gwyddoch chwi, pa vn a wna Duw a rhoddi ei yspryd neu râs yddynt i cynnorthwyo hwynt i wneuthur felly, ac megis y dywedodd vn gwr yn ddiweddar yr hwn sydd tros fedydd plant, oni orphennant hwy y rhwymedigaeth hwn, sef, eu cyfammod bedyddiawl y maent yn eiog o dyngu yn anudon, a'r pechod damnedig ydyw.

Rhieni creulon, yr ydych yn listio eich plant mewn rhyfel ysprydol trwy eich bedydd Ffugiol, ac heb arfogi mo honynt; grasyssau 'r yspryd ydynt arfau ysprydol y credadwy, y rhain y maent hwy yn gael pan listiwyd hwynt, sy meddwl yw, pan y bedyddiwyd hwynt, eithr nid oes gan blant, megis y cyfriw, yr arfau hyn pan fedyddir hwynt;

Och Fabanod truain, y mae arnynt hwy ormodd o euogrwydd wrth natur! Och! y llwyth sydd arnynt! eithr y chwi y rhai sydd yn dal bedydd-plant, ydych yn chwanegu atto trwi eich ttaddodiad o cyfammod fedyddiawl, dan ba vn ni appwyntiodd Duw erjoed iddynt hwy ddyfod,

Am hynny yn tu dalen —— Yr ydych yn gwrthddadlu, pa fodd y gall' plant fod yn rhwym i'r peth ni wyddont ddim am dano. Yr ydych chwi'n Atteb; yr oeddent yn annwybodus o rwymedigaeth yr enwaediad, etto yn cael eu clymmu i fynu gan y gyfraith, i gymeryd ef yn Dduw iddynt ac i ymmadel a ffyrdd pechod, &c.

*Atteb.* O herwydd i Dduw rwymo yr Iddewon yn eu mebyd trwy'r enwaediad yn y cyfammod ddeddfol hwnnw, i garu'r

i garu'r Arglwydd eu Duw â'i holl galonnau, i gymeryd efyn Dduw iddynt, ac i ymmadel a phôb math o ffyrdd pechod, ie, i gadw y gyfraith yn berffaith (pa beth oedd yn dangos angheni heidrwydd Cyfiawnder ac haeddedigaeth Crist) yr hwn nid oedd ddim llai yn yr achos ymma yn jau caethiwed, oddiwrth pa jau nyni a'n plant a gawsom ein gwaredu gan Grist, a feiddiwch chwi ddyfod a'ch plant truain tan y fath jau o gaethiwed; *y mae jau Christ yn esmwyth, a'i saich sydd yn ysgafn*, oblegid i fod efe yn rhoi i'r cyfriw oll ac a fedyddir, ei yspryd a chalon newidiol i garu Duw a glynu wrtho ef, ac i wasanaethu ef, eithr yr ydych chwi yn gwneuthur ei jau ef môr anhawdd a jau enwaediad, wrth osod bedydd ar eich plant truain iw rhwymo hwynt trwy hynny i fod yn gyfrannogion o ail-enedigaeth, ac i garu Duw â'i holl galonnau cyn bod gras yn ei agwedd gwedi cael ei blannu ynddynt, a hyn yn gwbl heb yr awdurdod lleiaf oddiwrth Crist neu'r efengyl; och! Rieni creulawn! Sr, Pwy a geisiodd hyn a'r eich dwylaw? Chwi gewch glywed ychwaneg oblegid y peth hwn ynollaw.

Yr ydych chwi'n mynegi tu dalen——.

Gwîr yw, enwaediad ydoedd yn rhwymo i gadw'r gyfraith yn berffaith er yr amser y rhoddwyd y gyfraith allan, eithr o'r dechreuad nid ydoedd felly, canys meddwch chwi, enwaediad nid oedd o *Moses*, eithr o'r tadau *Joan*. 7. 22.

*Atteb*. Onid oedd y ddeddf moesawl o'r dechreuad? ac onid oedd y rhai a enwaedwyd arnynt yn rhwyn i gadw y gyfraith moesawl yn gystal a'r ceremoniaidd? pa fodd gan hynny 'r anturiwch chwi ddyweddyd a phrofio nad ydoedd felly o'r dechreuad, sef, nad ydoedd yn rhwymo hâd naturiol *Abraham* i gadw'r gyfraith foesawl yn gyfrgwbl, hynny yw, i garu Duw a'i holl galonnau, a'i cymmydog megis eu hunain, ie, i ymmadael a ffieiddio pob pechod.

Myfi a brofiais nad oedd dim o'r enwaediad yn sêl, nad oedd ddim rhan o'r cyfammod gras, eithr yn rhan o'r cyfammod gweithredoedd, ac felly yr ydych chwi yn redeg i fagl enbydus, ac yn twyllo'r bobl yn ddisymmwth trwy ych annwybodaeth o'r ddau cyfammod a wnaethpwyd ag *Abram*, a thrwy beidio gwneuthur gwahaniaeth rhwng enwaediad o fod yn sêl i ffydd *Abram*, ac nid yn sêl yn gyffredinol

dinol iw holl blant ef, yr ydoedd yn arwydd iddynt hwy yn eu cnawd, eithr nid oedd sêl o'r cyfammod o râs: yr ydych ymhellach yn gossod gogyfurdd rhwng enwaediad a bedydd, megis ac y gwnaeth rhai eraill o'ch blaen chwi; attolwg cymmerwch fy attebion gynt i'r cwbl ac yr ydych yn ei ddywedyd ymma, y rhai a roddais i eraill a ddalant fedydd plant ar yr achos hyn.

1. Eraill yn gynt (megis ac yr ydych chwi ynawr) a haerasant ddyfod bedydd yn lle enwaediad.

Yr ydych yn gossod gogyfurdd rhwng enwaediad a bedydd, ac a fynnwch eu bod hwy ill dau yn arwyddoccau yr vn peth mewn cymedroldeb perffeithgwbl, i ba beth yr wyfi'n Atteb.

Meddant hwy, yr vn peth ac yr ydych chwithau hefyd yn ei haeru. Os ydyw bedydd yn dyfod yn lle enwaediad, yna megis ac yr enwaedwyd a'r blant yr Iddewon, felly fe all' ac fe ddylei plant Cristnogion gael eu bedyddio, eithr fe ddaeth bedydd yn lle enwaediad, am hynny megis ac yr enwaedwyd a'r eu plant hwy y pryd hynny, felly y gall' ein plant ni gael eu bedyddio ynawr.

*Atteb* 1. Nid yw'n anghenrheidiol i ordinhâad Efangylaidd ddyfod yn lle ordinhâad gyfreithlon, neu ordinhâad o'r Iddewon; beth pe bawn i yn haeru na ddaeth vn ordinhaâd yn lle Enwaediad? Onid oedd llaweroedd o ddefodau ac ordinhadau eraill tan y gyfraith heblaw enwaediad? Etto ni ellwch gwrdd neu feddwl vnwaith fod vn defod neu ordinhaâd Efangylaidd gwedi dyfod yn eu lle yn berthynasol, oblegid yna y canlynai, y byddei'r vn nifer o ddefodau, gorchymynion ac ordinhadau Cristnogawl, y rhai, fel y mae vn yn dal sulw, y fyddent ychwaneg i dri chant.

2. Heblaw hyn, fel y mae'r Dr. *Taylor* yn dal sulw, os 'daeth bedydd yn lle enwaediad, y mae'n rhaid i chwi fe'dyddio ych plant yn wastadol ar yr wythfed dydd, 'ac nid oes i chwi fedyddio eich plant benywaid yn vn 'modd, o herwydd nad oedd neb ond plant gwrywaid yn cael 'enwaedu arnynt;

3. Ac yn gymmaint a'ch bod chwi yn dywedyd fod bedydd yn arwyddoccau yr vn pethau ac yr ydoedd enwaediad; nid yw yn wîr megis yr ymddengys i bob gwr deallgar os ystyriant y dosparthiadau hyn ac y sydd yn canlyn, y rhai ydynt megis cynifer o bethau anghyffon, sef.

(1.) En-

(1.) Enwaediad ydoedd gyscod o Grist i ddyfod; Bedydd ydyw'n arwydd i fod ef eisioes gwedi dyfod, marw a chael ei gladdu.

(2.) Enwaediad oedd arwydd o'r cyfammod a wnaethpwyd ag *Abram* ac â'i hâd naturiol; Bedydd sydd yn arwydd o'r braintiau neilltuol ac ysprydol a wnaethpwyd i'r seintiau, megis y cyfriw, ac i neb eraill.

(3.) Enwaediad ydoedd weithred teuluaidd, hynny yw, iw gwneuthur yn y ty; Bedydd oedd weithred eglwysig yn perthyn i'r eglwys Efangylaidd.

(4.) Enwaediad oedd iw wneuthur gan y rhieni ar yr achos hynny; Bedydd sydd ei wneuthur yn vnig gan weinidogion yr Efengyl.

(5.) Enwaediad ydoedd torriad ymmaith flaengroen y cnawd, pa vn y dynnei waed; Bedydd sydd i wneuthur gan soddi'r holl gorph tan y dwfr, heb dynnu dim gwaed.

(6.) Enwaediad oedd yn perthyn i blant gwrywaid yn vnig; Bedydd sydd yn perthyn i wrywaid a benywaid hefyd.

(7.) Enwaediad a wnaed a'r yr wythfed Dydd yn gyfrgwbl, nid yw bedydd gwedi ei rwymo wrth vn amser neilltuol.

(8.) Enwaediad a wnaeth nôd gweledig a'r y corph, yr hwn a allei'r dyn amgyffred pan ddelei i amser deallturiaeth, ond nid yw bedydd yn gadael dim nôd ar y corph.

(9.) Enwaediad oedd yn perthyn i dy *Abraham*, iw blant gwrywaid ef yn vnig, neu i'r cyfriw a brynodd ef â'i arian, ac nid i blant gwrywaid neb rhyw ddynion duwiol eraill yn ei ddyddiau ef, eithr y cyfriw ag y gyssylltei eu hunain â'i deulu ef; Bedydd sydd yn perthyn i'r credadwy ymmhob gwlâd.

(10.) Enwaediad ydoedd yn rhwymo 'r rheini a ddaent tan y defod hwnnw i gadw hôll gyfraith *Moses*, y mae bedydd yn arwyddoccau ein bod ni gwedi cael yn rhyddhau oddiwrth y jau honno o gaethiwed.

(11.) Os oedd enwaediad yn arwyddoccau 'r vn peth ac mewn canlyniaeth, yn neilltuol, seliad y gyfammod o râs; yna nid oedd yn rhaid i rhai a enwaedwyd arnynt gael eu bedyddio, oblegid eu bod gwedi eu selio o'r blaen â'r vn sêl, neu â'r peth ac ydoedd o'r vn arwyddoccâad; eithr Christ a'i Apostolion oll a llaweroedd eraill, y rhai a enwaedwyd arnynt, er hynny gyd a gawsant eu bedyddio.

(12.) Enwaediad ydoedd yn arwyddoccau cymmeryd ymmaith bechodau'r cnawd neu enwaediad Calon, eithr bedydd sydd yn arwyddoccau marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Crist, yr hwn nid ydoedd yr enwaediad yn ei wneuthur.

(13.) Enwaediad ydoedd i fod yn sûr gwahaniaeth rhwng Iddewon a chenhedloedd, eithr y mae bedydd yn arwyddoccau, fod Iddew, a Groegwr, Gwryw a Benyw, *Barbariad* a *Scytbiad*, y caeth a rhydd, fod meddaf, yr rhai hyn oll yn vn ynghrist Jesu.

Am hynny y mae llaweroedd o bethau anghyssôn ac o arwyddoccâad neilltuol rhwng enwaediad a bedydd.

A pheth pe baem ni yn canniattau fod enwaediad y pryd hynny yn ordinhaâd o gychwyniad i'r eglwys, a bod bedydd felly ynawr yn amseroedd yr Efengyl, hynny yw, yn ordinhâad Cychwyniad; etto ni ollwngodd enwaediad neb i eglwys yr Iddewon, ond y cyfriw a enwaedwyd arnynt trwy orchymmyn amlwg a phennodol Duw; pa rai oeddynt yn vnig blant gwrywaid (oblegid y benywaid a ollwngwyd i mewn hebddo) felly yn uniawn Bedydd, er ei fod yn ordinhâad cychwyniad, etto nid oes neb yn cael eu gollwng i mewn trwyddo, eithr yn vnig y cyfriw, a erchir iw bedyddio trwy orchymmyn amlwg, ac nhwy ydynt y cyfriw yn vnig ac sydd yn credu, neu'n gwneuthur proffess o'i Ffydd.

Sr, Y mae llawer o wahaniaeth rhwng y gorchymmyn ac y sydd yn bûr briodol (fel y gwyddoch yn ddigon da) a'r gorchymynnion ac y sydd yn bûr foesawl yn eu natûr; y cyfreithiau ac ydynt yn cael eu bôd oddiwrth awdurdod wîr pennodol, sydd yn gwbl ddibynnu ar lwyr feddwl ac ewyllys y mawr wneuthurwr-cyfraith; ac y mae'n rhaid ini a'r bob rhwy achosion ac amgylchiadau gadw wrth amlwg eiriau'r ordinhâad; nid oes ini anturio gwneuthur na mwy, na llai, na gwneuthur dim peth mewn vn modd arall na orchymmynodd Duw, fel yr ymddengys ym matter *Nadab* ac *Abibu*, ac *Ussab*; y ddau gyntaf am offrymmu tân dieithr, yr hwn beth ni orchymmynodd Duw (er na waharddodd Duw mo honynt yn vn lle wneuthur felly mewn geiriau amlwg, *Levit.* 10. 12.

Pan orchymmynodd Duw i *Abraham* enwaedu ar yr wythfed Dydd, oni waharddodd efe yn rhinweddol iddo na wnai felly a'r y seithfed neu'r nawfed dydd? am hynny

nid

nid yw'r modd hyn o ymresſymmu yr ydych chwi yn ei arfer, ond dichellgar; ac ni wnewch ddim *ond tywyllu cyngor â geiriau heb wybodaeth*; Immhellach, yr ydych chwi ac eraill a ddalant fedydd plant yn haeru, na hyſpyſodd Duw yn vn lle y dylei plant gael eu cau allan; ych meddwl ydyw, na waharddodd efe yn vn man mewn geriau amlwg, nad oedd plant i gael iw bedyddio; nid wyf'n dywedyd dim mwyach, a waharddodd ef arferid mêl, gwîn, oleu, halen a phoerin mewn bedydd; y cyntaf a arferwyd gan rai o'r hên dadau, a'r diweddaf ſydd hyd y dydd heddyw yn eglwys Rhufein; pa le yr ydys yn ein gwahardd ni i fedyddio clych, ac i gyſſegru Dwfr, megis y mae'r *Papiſtiaid* yn gwneuthur, fel y byddo yn Ddwfr ſanctaidd: hefyd, ymmha le yr ydys yn cau allan plant oddiwrth fwrdd yr Arglwydd, os gan hynny y gellir gwneuthur pob peth yn addoliad Duw, ac yr ydych chwi yn debyg na chaedd ei wahardd, ac y ſydd hefyd yn dal allan ryw fath o gyſattebiad mewn arwyddoccâad â defodau'r Iddewon, fe ellir gollwng i mewn trwy'r vn drws holl ddefodau a ceremoniau pabaidd, canys y mae'n ddilys y dywedant hwy fod y Pâb, Meitr, gwiſciau Pabaidd, canwyll, canwyllbrennau, *&c.* o'r vn arwyddoccâad, a'r Archoffeiriad tan y ddeddf gyda gwiſcau'r offeiriaid a ceremoniau eraill ymmhlith yr Iddewon; i ba le 'r arweinir chwi trwy hyn? Mae'n beth enbydus i chwi gael ych arwain gan y fath gyfarwyddwr; eithr i ſyned rhagom yn y blaen, nyni a ddawn at y prawf mawr hynny, a grybwyllir gennych chwi tros fedydd Plant, ſef, fod bedydd yn dyfod yn lle enwaediad, pa lle yw *Col.* 2. 11, 12. *Yn yr hwn hefyd i'ch enwaedwyd ag enwaediad nid o waith llaw, yn enwaediad Chriſt, wedi eich cyd-gladdu ag ef yn y bedydd.*

'Yr ydych chwi ac eraill ac y ſydd yn dala bedydd plant
'yn haeru, mae bwriad yr Apoſtol yn y lle hwn ydyw cym-
'meryd y Coloſſiaid ymmaith oddiwrth yr hên Sacrament o
'enwaediad; y mae efe yn eu dyſcu, nad oedd dim achos pa ham
'y dylent wneuthur yr ſawr o hono, o herwydd i bod hwy yn
'berffaith hebddo, yn gymmaint a bod Criſt gwedi goſſod en-
'waediad newydd yn ei le, ſef bedydd; ac yn gyſſattebol i hyn,
'fe ellir dywedyd ynawr fod Chriſtnogion trwy fedydd yn
'cael enwaedu arnynt yn yſprydol, megis ac y dywedwyd
'fod yr Iddewon yn cael eu bedyddio yn yſprydol.

Nid oes dim lle i dderbyn yr eſponiad ymma o'r teſtun hwn, y mae'r Apoſtol yn dywedyd am nerth neu rinwedd

enwaediad Crist; ei swriad ef ydyw i ddangos yn bod ni yn berffaith ynghrist, ac gwedi ei wisco ef am danom; y mae yn crybwyll ffydd yn gystal a bedydd, neu'r fath ffydd ac a dylei yn wastadol ganlyn bedydd, ac am hynny ni ellir oddiymma brofio neu gasclu bedydd plant, neu'r achos lleiaf am y fath ddiben rhyfygus oddiymma, sef, i fedydd dyfod yn lle enwaediad.

1. Oblegid yn gyntaf y mae'r Apostol yn cau allan enwaediad, eithr ar achos arall, sef, wrth ddangos fod enwaediad yn ddull o enwaediad y galon, megis *Rhuf.* 2.28,29. *Phil.* 3. 3. A phan gawsant arwyddoccau'r vn peth trwy hynny, fe ddarfu am y ddefod neu'r arwydd, ac fel y gwrth brofiais o'r blaen yn fy atteb a'r y testun hwn, felly y mae'n rhaid imi ddywedyd wrthych, mae'r cwbl a ellir i jawn haeru oddiwrth y scrythur hon, pa le y mae'r Apostol yn dyfod i mewn a bedydd nid ydyw onid hyn, sef, pa le bynnag y mae bedydd yn cael ei jawn weinidogaethu ar ddeiliaid cyfaddas, y mae'n arwyddoccau enwaediad dirgel ac ysprydol y galon; hynny yw, *fod yr enaid gwedi marw i bechod, a diosc corph pechodau'r cnawd trwy enwaediad Crist*; Pa beth a ddichon bod vn berthyn i rinwedd ei farwolaeth ef yn ei affaith bendigedig, trwy waith effeithiol yr yspryd ar y galon i lâdd pechod; ac megis ein bod ni yn farw i bechod, yr ydys yn ein claddu ni gydâ Christ mewn bedydd megis yn nôd a dull o gladdedigaeth Crist, hynny yw, yr ydym yn cael ein gorchuddio tan y dwfr, yr hwn ydyw yn arwydd eglûr o'n claddedigaeth, ac hefyd yn arwyddoccaâd o'n bod ni gwedi marw a'n claddu gyda Christ mewn bedydd, felly yr ydym ni i adgyfodi gydâg ef trwy ffydd o waith Duw, a' rhain ill dau ydynt yn cael eu dal' allan mewn gwîr fedydd.

Nid yw'r Apostol yn crybwyll fod bedydd yn dyfod yn lle enwaediad, eithr yn dangos i'r Colosiaid crediniol hyn trwy Grist wrth yr yspryd gael yr eilun o hono, neu'r peth sydd yn cael eu arwyddoccau yn enwaediad y cnawd, pa vn yr oedd bedydd yn dal' allan yn eglur; ond yn gymmaint a bod y peth hyn yn cael ei gryf-annogi drachefn, er iddo gael ei atteb yn fynych o'r blaen, mysi a gymmeraf y poen arnaf i yscrifennu allan vnwaith etto y peth a ddywedodd y Dr. *Taylor* Escob diweddar o Ddown at y rheswm hwn sydd gennych chwi, ac eraill o'ch blaen chwi, oblegid enwaediad, sef, fod bedydd yn eilun o hono, neu iddo ddyfod yn ei le ef.

' Yr

'Yr ymresymmiad (medd ef) oddiwrth enwaediad sydd
'ddirym ar ystyriaethau aneirif, nid yw arwyddion a
'dulliau yn profio dim, onid â gorchymmyn gydâ nhwy
'neu ryw eiriau amlwg i arwyddoccau fod eu bwriad
'felly; oblegid (medd *Petr*) y diluw o ddyfroedd ac
'*Arch Noah* oeddynt arwyddion o fedydd, os gan hynny, y
'dygwn amgylchiadau y naill at y llall, nyni a wnawn fe-
'dydd yn beth aruthrol yn hytrach na defod; yr oedd yr
'oen pasg yn arwydd o'r Sacrament pa vn sydd yn canlyn
'y llall, megis ac y mae bedydd yn canlyn enwaediad, ond
'o herwydd nad appwyntiwyd dim diod Sacramentawl
'iddynt hwy a fwytasant o'r Oen Pasg, a gawn ni oddi-
'yno gasclu, fod Swpper yr Arglwydd i gael ei gweinido-
'gaethu mewn vn rhyw yn ynig: i ba vn gadewch imi
'chwanegu, o herwydd y gallei Plant, gweision, a'r cyfriw
'oll ac oeddynt yn y ty fwytta o'r oen pasg, a raid i'n
'plant a rhai oll ac y sydd yn ein tai fwytta o Swpper y
'Arglwydd: Ond medd y Dr. ar y rhan hyn o'r ymres-
'symmiad; Beth pe bai gyttundeb cyfladdiad rhwng en-
'waediad a bedydd, etto nid oes dim fâth gytundeb rhwng-
'ddynt a bod yn vn, canys er y gallwn ganiattau i bod
'nhwy ill dau yn nodi'r cyfammod o râs, etto nid oes dim
'yn yr amgylchiadau o enwaedu a'r blant ac y sydd felly
'yn perthyn at y dirgelwch hwnnw, fel na ellir ei roddi
'yn ddigon da i wyr o ddealltwriaeth, oblegid y'r oedd en-
'waediad yn gadael nôd yn y cnawd, pa vn pan Bainti-
'wyd a'r y baban a wnaeth ei waith iddynt hwy, pan dda-
'ethant o oedran, ac y fath nôd ydoedd yn anghenrheidiol,
'o herwydd na chwanegwyd vn gair at yr arwydd; eithr
'nid yw bedydd yn printio dim ac y barhâ a'r y corph, ac
'os ydyw yn gadael nôd mewn vn modd, a'r yr enaid y mae'n
'ei adael ef, i ba vn yr angwanegir y Gair, yr hwn ydyw
'ran o'r Sacrament yn gystal a'r arwydd ei hun; am y ddau
'resswm hyn, y mae'n anghenrheidiol fod y person sydd yn cael
'ei fedyddio yn ddyn rhesymmol, fel y gallo fod yn ehang o'r
'gair a'r Sacrament, ac o ddelwad a'r ei yspryd, yn gymmaint
'gan hynny a bod achos y cyflybiaeth gwedi ei gwbl ddarfod
'am dano, nid oes dim mwy wedi adael oddiwrth pa vn y gel-
'lir casclu anghen rheidrwydd i ni wneuthur pob peth ac sydd
'yn perthyn o ran amgylchiad Oedran, nac o ran y perthy-
'nasau eraill o ddulliau; y mae'n rhaid ir plentyn hefyd
'gael ei fedyddio yn 'gyfrgwbl ar yr wythfed dydd, ac
'nid oes bedyddio benywaid mewn vn rhyw ffordd, o

'herwydd nad enwaedwyd arnynt? ond fe fyddei yn vnl-
'awnach, pe gallem ni ei ddeall fel y dylem, i ddilyn y
'cyffaddiad oddiwrth y dull i'r eulun, wrth ffordd y lly-
'thyren a'r yspryd, ac arwyddoccaâd; ac fel y mae enwa-
'ediad yn ddull bedydd, felly hefyd y pethau ac sydd mewn
'perthynas i'r rhai a enwaedir arnynt a gant arwyddoccau
'rhyw beth ysprydol ymmherthynasau bedydd, ac am hyn-
'ny megis yr enwaedwyd a'r blant buchain, felly y dylei
'plant ysprydol gael iw bedyddio, pa beth ydyw enwae-
'diad ysprydol, oblegid i'r perwyl hwn y cafodd plant
'weinidogaeth y dull, i arwyddoccau fod yn rhaid ini pan
'roddom ein heneidau i Grist fyned yn blant mewn malis,
'ac yna y mae'r Dull yn cael ei wneuthur yn gyflawn.

Felly, mal y dywedais wrthych o'r blaen, y rhoddodd y Doctor Parchedig Atteb llawn i'r cwbl ac y ddywedasoch oblegid eich rhessymmau chwi, am i fedydd ddyfod yn lle, neu fod yn ddull o enwaediad, eithr i fyned rhagom yn y blaen.

Os bu bedydd ac Enwaediad ill dau mewn llawngrym ynhyd dros ryw amser, yna nid yw bedydd yn ddull, neu ni daeth yn lle enwaediad. Eithr bedydd ac enwaediad oeddynt ill dau dros ryw amser yn llawn grym ynhyd, am hynny nid yw bedydd yn ddull, ac ni ddaeth yn lle enwaediad.

Y mae'r rhesswm olach yn anamheuol, onid oedd bedydd yn ei gyflawn nerth o'r amser y derbynniodd *Joan* ef o'r nefoedd ac y gweinidogaethodd ef a'r y bobl? ac oni fedyddiodd Crist trwi ddwylau ei ddiscyblion laweroedd o bobl? ie, ychwaneg o ddiscyblion na *Joan*, megis y dywedyr, *Joan* 4. 1. 2. Ac onid oedd enwaediad y pryd hynny yn ei lawn nerth hefyd, ac felly y parhaodd hyd oni chymerodd Christ ef ymmaith gan i hoelio ef gydâ holl ddefodau eraill yr Iddewon wrth ei groes?

O ran canlyniaeth y cyntaf ni ellir mo'i ammeu, canys os ni ddichon vn peth ddyfod yn lle vn arall, hyd oni chymerir y peth hynny ymmaith yn vniawn ac yn effeithiol, pa beth sydd eglur digon, yna yn gymmaint a bod gan y ddau ddefod hyn hanfod yr vn amser, y mae'r ymadrodd cyntaf yn anamheuol, ni ddichon dull ymaros dim ymhellach, eithr hyd oni ddelo yr eilun, gan hynny nid yw bedydd yn eilun o enwaediad, neu ni ddaeth yn ei le ef; yr eilun o ba vn, neu'r y peth a ddaeth yn lle enwaediad y cnawd ydyw enwaediad calon, nid yn y cnawd, eithr yn yr yspryd, *Canmoliaeth pa vn nid yw o ddynnion eithr o' Dduw.*

Ac

Ac yn ddiau ni ddichon vn gwr doeth weled achos i gredu pa fodd y gallei vn peth ac ydoedd yn ddull neu gycod ddyfod yn lle neu fod yn eilun o beth arall, yr hwn sydd yn ddull neu gyscod; ac fel hyn yr agorir eich testun mawr chwi yn y *Col.* 2. 11, 12. Yn eglur ac vniawn yn ol meddwl ac amcan pennaf ysbryd Duw yntho ef, â'ch colofn mawr tros ych arfer angscrythyrol o fedyddio babanod a ddistrywiwyd ac a dynnwyd i lawr.

Mysi a gwrddais ag atteb a roddwyd i'r sâth brofiad lledrithiog tros fedyddio plant, yr hwn a scrifenwyd gan awdwr dyscedig a Pharchedig, mysi a gymerais y poen arnaf i yscrifennu allan y rhesswn a'r atteb, ac fel hyn y canlyn.

Y mae'r Rhesswm yn rhedeg yn llyn sef,

'I ba rai y perthynei enwaediad, iddynt hwy y perthynei 'bedydd, oblegid enwaediad ydoedd yn perthyn i fabanod, am 'hynny hefyd yr oedd bedydd, *&c.*

Y cyntaf y mae efe yn ymorchestu profio yn llyn, sef,

'Os ydyw bedydd Crist yn dyfod yn lle enwaediad, yna 'y mae bedydd yn perthyn iddynt hwy, i ba rai yr oedd 'enwaediad yn perthyn, eithr y blaenor sydd wîr ac am 'hynny y dylynol sydd felly; fe ddywed fod yr olach yn 'cael ei brofio oddiwrth, *Col.* 2. 12. Fe ddywedyr i'r Co'losiaid gael enwaedu arnynt, o herwydd eu bedyddio 'hwynt.

Y mae'r Rhesswm hwn yn cymeryd fod bedydd yn dyfod yn lle enwaediad yr hwn a ellir ei ddirnad amriw ffyrdd.

(1.) Felly, a fel y dichon yr ystyr fod, y gall y personau hynny gael eu bedyddio; pa rai o'r blaen, trwy ordinhâad Duw oeddynt i gael enwaedu arnynt, ac yn yr ystyr hyn, y mae'n rhaid ir rhesswm fyned yn y blaen, os gwna ddiben i'r pwrpass, eithr yn yr ystyr hyn y mae efe yn ffugiol, oblegid nid enwaedwyd a'r benywaid y rhai etto a fedyddiwyd, megis yn yr *Actau* 8. 12, 13, 14. ac 16. 14, 15. Ac nid oedd i'r credadwy oddifaes ty *Abraham*, megis *Lot*, *Melchisedec*, *Job*, i gael enwaedu arnynt, eithr y cenhedloedd credadwy sydd iw bedyddio i gyd oll.

( 2. ) Fe ddichon gael ei ddeall felly, megis ac pe byddei'r ddefod o fedydd yn dechreu y pryd hynny, pan y bu neu yr ydoedd y ddefod o enwaediad yn terfynu; ond ni ellir dywedyd mo hyn; oblegid i *Joan* Fedyddiwr a discyblion Crist fedyddio, *Joan* 4. 1, 2. cyn i enwaediad jawn derfynu.

(3.) Fe

(3.) Fe ellir ei ddeall, megis pe byddei bedydd yn dyfod yn lle enwaediad, o ran ei arwyddoccâad; pa beth sydd wir mewn rhai pethau ond nid mewn eraill; yn gyntaf, fe allei'r ddau arwyddoccau sancteiddiad Calon; ac dymma'r cwbl a ellir casclu oddiwrth y lle hwnnw a grybwyllwyd, *Col.* 2. 11, 12. I ba vn yr wyfi 'n gweled yn dda chwanegu hyn, sef, os edrychyr yn ddyfal a'r y testun hwn, fe welir, nad yw'r Apostol yn dywedyd am enwaediad, eithr am Grist, oblegid yntho ef yr ydym ni'n berffaith, a thrwy enwaediad pwy, fe ddywedyr ini ddiosc corph pechodau'r cnawd; ac nid yw'r testun yn dywedyd, yn bod ni yn cael ein enwaedu, o herwydd y bedyddir ni, eithr ein bod ni wedi ein cyflawnu ynghrist; oblegid ini gael ein enwaedu ynddo ef, a'n cyd-gladdu ag ef yn y bedydd (ymmha vn) neu yn yr hwn ein cyd-gyfodwyd ni trwy ffydd gweithrediad Duw, yr hwn ai cyfodes ef o feirw.

Nid yw, bedydd mewn rhai pethau yn dyfod yn lle enwaediad o ran sancteiddiad.

(1.) Oblegid yr oedd enwaediad yn arwyddoccau dyfodiad Christ oddiwrth *Isaac* yn ôl y cnawd, *Gen.* 17. 10, 11. eithr nid yw bedydd yn arwyddoccau hyn, eithr yn dangos allan ei ymgorpholaeth, marwolaeth ai adgyfodiad.

(2.) Enwaediad ydoedd yn arwydd fod yr *Israeliaid*, yn bobl neilltuol oddiwrth pob cenedl, *Rhuf.* 3. 1. Eithr mae bedydd yn arwyddoccau, fod pawb ac y sydd yn credu, pa vn ai Iddewon ai cenhedloedd, yn vn ynghrist, *Gal.* 3. 28.

(3.) Yr oedd enwaediad yn arwyddoccau fod cyfraith *Moses* iw chadw, *Gal.* 5. 3. Eithr y mae bedydd yn arwyddoccau, fod cyfraith *Moses* gwedi ei diddymmu, ac athrawiaeth Crist gwedi ei gadarnhau.

(4.) Enwaediad a arwyddoccaodd addewid gwlâd *Canaan*, eithr bedydd bywyd tragwyddol trwy Grist.

Ac yn ddiau (medd efe) oni chymerir y rheswm hwn yn ochelgar a chrintach, fe ellir dodwy wy o ba vn y dichon ffurf Iddewig eglur gael ei deor; eithr os cymerir mewn ystyr crintach, nid os dim mwyach yn canlyn oddiyno, ond fod bedydd ac enwaediad, mewn rhyw bethau yn dal' allan yr vn matter; pa beth a dywedyr yn eglurach am *Arch Noah*, 2 *Pet.* 3. 21. Ac am y môr coch a gwaed, 1 *Cor.* 10. 2. Ac etto nid ydym yn dywedyd i fedydd ddyfod yn eu lle, llai o lawer yr ydym yn casclu fod vn defod

gwedi

gwedi cael ei ordeinio yn eu lle hwynt mewn perthynas i'r vn personau, ie yn ddiau fe ddylei gael ei ystyried yn ddifrif.

(1.) Fod oddiwrth y fath ymrhessymmau a dynnwyd oddiwrth gyfladdiadau pa rai na chawsant eu amgyffred gan yr yspryd glân, eithr a dynnwyd allan o'n synwyr ni, ffordd newydd o ordeinio hawl (sef oddiwrth cyfladdiadau) yn cael ei dwyn i mewn, heblaw gorchymynnion ein harglwydd a siamplau 'r Apostolion.

(2.) Os dywedyr hyn vnwaith, fe fydd yn rhudd trwy'r vn fâth gogustadledd rhesswm, ddwyn i mewn i'r eglwys gristnogawl holl lwyth defodau'r Iddewon tan enwau a ffurfiau eraill; ie, chwi a ellwch ganmwyaf o'r pa beth y mynnoch gaiclu y peth y fynnoch, canys pwy a ossodyff terfyn i'r cyfladdiadau a lunia dynnion pan elont o'r tu hwnt i orchymynnion yr Arglwydd a siamplau'r Apostolion.

Yr ydys yn gwybod yn dda ddigon fod y dychymygion ac appwyntiad talu degymmau a llaweroedd o bethau eraill yn scrifenniadau diseinwyr yn cael eu haeru wrth y fâth rhesswm a hwn, heblaw rheol gorchymynnion yr Arglwydd a siamplau yr Apostolion.

(3.) Yn y modd hyn y ceiff dychymmygion y *Papistiaid* eu cadarhau, y rhai yddynt yn haeru oddiwrth, 1 *Cor.* 10. 11. Fod Sacramentau'r Iddewon yn arwyddion o Sacramentau y Christnogion, pa beth a wrthddodyr gan Ddifeinwyr a ymmresymmant yn erbyn *Bellarmine.*

(4.) Y modd hyn o ymressymmu a bledia tros haeriaid y *Papistiaid* am Escob cyffredin, o herwydd bod y fath vn gan yr Iddewon, ac a gyfiawnha arferid gwisg lliain wrth yr offeren, oblegid fod cyfriw ymmhlith yr Iddewon, ac hefyd Ddwfr cyssegredig, Puredigaeth gwragedd, Pasg, Pentecost, a llaweroedd o'r fath ceremoniau heblaw hyn, tros ba rai y mae'r *Papistiaid* yn pledio yn yr vn modd, megis ac yr ymddengis oddiwrth Lyfr a elwir *Durandus's Rationalis*, a deonglwyr eraill Llyfrau o hên gynneddfau a hên ddefodau ymmhlith y *Papistiaid*; ie, beth sydd yn rhwystro i ni roi Swpper yr Arglwydd i blant, os ymressymmwn yn y modd hyn, yn gymmaint a bod *Samuel* Jesu Ghrist, *&c.* tan oedran yn gyfrannogion ô'r Oen-Pasg, a fe ddylesei yr holl wyrywaid fod yn bresennol tair gwaith yn y flwyddyn o flaen yr Arglwydd, ac am hynny y mae'n siccr iddynt hwy fwytta y Pasg; ac nyni a ymddangoswn

gofwn yn oll llaw, 1 *Cor.* 11. 28. Na ddichon y lle ochelyd yr anghyttundeb hwn, os bwrir yn yscafn heibio y testun yn *Matt.* 28. 19. Megis y mae y rheini ac y sydd yn dala bedydd Plant yn gwneuthur; ac rhag i neb gymeryd hyn yn beth gwael i ystyried mysi a chwanega, ddarfod i wyr duwiol, Dyscedig ac oesog yn fynych yn rhybyddio ni ochelid na luniem ressymmau yn ddiberygl oddiwrth gyfladdiad; ac ymmysg eraill yn eu scrifennadau diweddar yn y jaith saesnig *John Paget* yn ei amddiffynniad o lywodraeth Eglwysig *Rhan.* 1. *Pen.* 3. tu dalen 8. Ac mewn lleoedd eraill. *John Ball* yn ei wrth-atteb i atteb *Henuriaid Lloegr* Newydd i'r naw cysleaid, *Cysl.* 2. *tu dalen* 14.

Yn ddiweddaf fe dylyt ystyried drachefn a thrachefn pa fodd trwy'r fath ymressymmau y gellir rhyddhau cydwybodau dynnion oddiwrth perigl ewyllys grefydd a halogi ordinhâad mór nodedig Crist ac ydyw bedydd; yn enwedig y gofal a orwedd arnynt hwy, y rhai trwy weddi, pregethau, scrifennadau, ammodau a lliwion ydynt yn dychrynu Christnogion oddiwrth dychymmygion dynnion yn wasanaeth Duw yn ddyfal, ac yr ydym yn gobeithio yn ddiragreithiol. 'Yr ydych yn gwrth-ddadlu ymmhel-'lach fod gorchymmyn am enwaedu a'r blant, eithr nid os 'vn gorchymmyn am eu bedyddio hwynt.

'Yr ydych yn atteb nid yw'r Testament Newydd yn 'crybwyll dim llawer am blant, oblegid gwneuthur cym-'maint o sôn am danynt yn yr hên destament, lle y dywe-'dyr yn eglur fod plant y ffyddloniaid yn cyfammod Duw, 'a bod sêl y cyfammod yn perthyn iddynt hwy.

'Nid yw'r hên Destament yn vnig na'r Testam entNew-'ydd yn vnig (meddwch chwi) eithr y ddau ynghyd yn cyn-'nwys rheol ffydd ac vfydd-dod, y mae'r Iddewon yn gwa-'du'r Testament Newydd, a rhai Christnogion yn ymphlith '(meddwch chwi) yn gwadu'r hên destament o ran brain-'tiau babanod, tu dalen———

Fe debygyr wrthych ymma ych bod yn neccau y gellir cwrdd â Bedydd plant yn y Testament Newydd ac am hynny a fynnech ini fyned ei geisio ef at *Gen.* 17. Peth caled! Y gellir cael cwrdd yn yr hên destament ag ordinhâad wir Efangylaidd, yr hwn sydd yn ddefod pûr pennodol.

Sr, Er bod yr hên destament a'r Newydd ynghyd yn rheol ffydd ac vfydd-dod mewn llaweroedd o bethau, yn enwedig mewn gorchymynnion y rhai ydynt bûr foesawl; etto Sr, mewn gorchymynnion wir bennodol, yr wyfi'n neccau

fod

fod yr hên destament yn rheol ini, nid yw Enwaediad, y Pasg ac offrymmau, &c. Yn rhwymedigaeth arnom ni trwy rinwedd yr hên destament, o herwydd nhwy, a berthynasant yn vnig i amser yr hên gyfammod; ac o ran bedydd a Swpper yr Arglwydd, y rheini ac oeddynt yn byw tan yr hên destament, oeddynt yn rhydd oddiwrthynt hwy, oblegid fod y rhain yn orchymynnion i'r Efangylaidd, a'r Testament Newydd yw yn rheol ni yn vnig, a rheol perffaith hefyd a'r yr achos hyn; os gan hynny ni ellwch gael cwrdd a bedydd plant yn y Testament Newydd, dyna ddiben o honoch chwi ach bedydd babanaidd yn dragywydd.

Nid yw'r hên destament yn dywedyd fod plant y ffyddloniaid, megis y cyfriw, oddifewn y cyfammod o râs, er i bod hwy yn y gyfammod ddeddfol, eithr nyni a brofiasom, pe buasent hwy, etto nid yw hynny yn profio y dylent hwy gael iw bedyddio, o herwydd nid yw'r gyfammod o râs megis y cyfriw, yn rhoddi dim hawl i fedydd, eithr gorchymmyn pennodol Crist.

Y nawr os ystyrier y pethau hyn, beth y dal' yr hyn oll a ddywedodd Mr. *Owen* oblegid Enwaediad, er iddo arwyddoccau rhyw beth, ac y arwyddoccaodd bedydd hefyd, os yddynt yn anghyttuno mewn cynifer o bethau, ac nid oes dim appwyntiad oddiwrth Grist am fedyddio Plant megis ac yr ydoedd am enwaedu a'r blant gwrywaid yr Iddewon, pan nad yw nag enwaediad na bedydd yn foesawl eithr yn orchymmynnion pûr pennodol; eithr yn gymmaint a bod Mr. *Owen* yn dywedyd yn ei bennod nessaf yr ymddengis efe fod gorchymmyn am fedyddio plant, nyni a gawn weled pa fodd y mae efe yn profio hynny.

---

PEN.

# PEN. IX.

## *I brofio na orchymynnodd Jesu Grist fedyddio Plant, yn Atteb i'r Peth a haerwyd gan Mr.* Owen *yn y chweched bennod o'i Lyfr, oblegid Commissiwn Crist,* Mat. 28. 19, 20.

YR ydych chwi yn dechreu a Chommissiwn Crist yn *Mat.* 28. 19, 20. Gan debygu iddo ef yno orchymmyn bedyddio plant, nyni a ddarllenwn eiriau 'r Commissiwn; Sef Ewch gan hynny, a dyscwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio yn enw'r tad a'r Mâb a'r yspryd glân, gan ddyscu iddynt gadw pob beth a'r a orchymynnais i chwi, *&c.*

Chwychwi a ddywedwch i Grist yn y geiriau hyn orchymmyn.

(1.) 'Dyscu'r cenhedloedd.
(2.) 'Iw bedyddio hwynt.
(3.) 'Iw dyscu hwynt.

'Y mae ymma (meddwch chwi) ddau fath o addysg, y naill cyn bedydd, a'r llall yn ôl bedydd; i'r rhai oeddynt 'gyflawn oedran ymmhlith y cenhedloedd anghredadwy, y 'mae dysg yn rhagflaenu bedydd, eithr i blant y cyfriw y 'mae bedydd yn rhagflaenu dysg yn yr vn modd ac *A-'bram*, gan ei fod yn Dâd y cenhedloedd, a ddyscwyd cyn 'enwaedu arno ef, eithr enwaedwyd a'r ei blant cyn iddynt 'gael eu dyscu; hyn (meddwch chwi) yw arwyddoccâad, megis y mae'n amlwg.

(1.) Yr wyf i'n Atteb, Chwi fynnech gael ffurf y Commissiwn i redeg yn ôl ych arferiad angscrythurol o fedyddio plant, megis yr ydych chwi yn galw taenelliad; yr ydych chwi yn gwyro ac yn camarferyd y Commissiwn i wasanaethu eich tro, a hyn a ymddengis.

Y mae'n rhaid i'r rheini ac ydynt vnig ddeiliaid bedydd yn

yn ôl y Commiſſiwn gael yn gyntaf eu dyſcu, neu fel y mae'r gair Groeg μαθητεύσατε neu eu gwneuthur yn ddiſcyblion, ac yna eu bedyddio, ac yr wyf yn appelio at eich cydwybod chwi, pa vn ai nad oeddynt hwy yr vn perſonau ac oeddynt i gael eu dyſcu cyn eu bedyddio, ac y mae'r Arglwydd yn gorchymyn dyſcu iddynt gwedin yr holl bethau eraill a orchymynnod Criſt i'r credadwy a cawſant eu bedyddio, i gadw a gwilied arnynt: chwychwi a fynnwch i'r rhieni a ymchwelwyd oddiwrth baganaidd gael eu dyſcu cyn eu bedyddio, eithr nad oedd yr addyſg gwedin yn perthyn iddynt hwy, ond iw plant a fedyddir cyn eu dyſcu, neu yn eu maboliaeth; och pa gamarfer ffieidd o gommiſſiwn mawr ein jachawdwr bendigedig ydyw hwn.

Y mae'r Commiſſiwn yn rhedeg, Dyſcwch hwynt ymmhob gwlâd pa vn ai Iddewon ai cenhedloedd.

Gan fedyddio y cyfriw ac a ddyſcwyd neu a wnaed yn ddiſcyblion trwy addyſc.

Gan eu dyſcu hwynt, ſef yr vn rhai ac oeddynt ddiſcyblion gwedi eu bedyddio.

A anturiwch wrthdroi, ie anrheithio 'r Commiſſiwn ſanctaidd ac felly yn diddymmu gorchymyn Duw, i gynnal i fynnu eich traddodiad eich hunain? Sr, crynwch pan feddylioch am hyn!

(2.) Y mae Mr. *Perkins*, Mr. *Baxter*, ac eraill a ddalant fedydd Plant yn canniattau mae'r peth yr ydym ni yn ei ddywedyd, ydyw wîr yſtyr y Commiſſiwn, Cymmerwch eiriâu Mr. *Perkins* ei hun, *Yn gyntaf* (medd efe) *fe dywedyr dyſcwch hwynt, hynny yw, Gwnewch hwynt yn ddiſcyblion wrth ddyſcu iddynt hwy gredu ac edifarhau*; *ymma* (medd efe) *y mae ini yſtyried y drefn y mae Duw yn arferid yn gwneuthur cyſammod â Dynnion mewn bedydd*; *yn gyntaf y mae efe yn galw arnynt trwy ei air ai yſpryd i gredu ac i edifarhau, yna yn y lle neſſaf, y mae efe yn gwneuthur addewid trugaredd a maddeuant iddynt hwy, ac fel hyn y mae efe yn ſelio ei addewid trwy fedydd*; *y rhai* (medd efe) *ac nid ydynt yn gwybod, nag yn yſtyried y drefn hon a arferodd Duw yn ei cyſammod a nhwy, y maent yn gwneuthur yn annhrefnus, ac felly yn troi heibio'r gorchymmyn o edifarhau a chredu, pa beth ſydd achos cymmaint o halogiad yn y byd.*

Yn ddiammeu, efe a ddywedodd y gwîr, oblegid chwychwi y rhai ydych yn bedyddio plant nad yddynt yn gallu edifarhau na chredu, a wnewch luoedd o Griſtnogion halogus

logus yn y byd (megis yr ydys yn eu galw hwynt.) Pwy y sydd yn gwybod, pa rai o'r babanod a fedyddir gennych chwi, a gânt eu galw gan Dduw, a gweithredu grâs ynddynt yn safadwy, yr hwn yn ddiau a ddylei gael ei weithredu ymmhob vn cyn rhoi bedydd iddo yn ol vniawn trefn a ffurf y Commissiwn: Och! pa dlodion halogus a ollyngir trwy ych arfer chwi i'r eglwys, os ydych yn gwneuthur y rhai oll a fedyddir gennych yn aelodau o honi yn eu jeuengctid; yn diammeu ni ragwelodd Mr. *Perkins* pa fodd trwi ei esponiad gonest o'r Commissiwn y dinistriodd ei fedydd-plant a'i cymmundeb eglwysig; ymhellach cymerwch eiriau Mr. *Richard Baxter* gan ddywedyd oblegid y Commissiwn y roddodd Crist iw ddiscyblion, *Mat.* 28. 19, 20. sef, *Eu swydd cyntaf* (medd efe) *ydyw i wneuthur discyblion o honynt, y rhai a elwir gan* Marc *yr Credadwy; y gwaith nessaf ydyw i bedyddio hwynt gydâ pha beth y cyssylltir addewid iacawdwriaeth.*

*Y gwaith trydydd ydyw i ddyscu iddynt hwy (ac y sydd yn credu ac a fedyddiwyd) bôb peth arall a ddylent ei ddyscu gwedi yn ysgol Christ; gan ddirmygu y drefn hon* (medd efe) *yr ydys yn ddirmygu rheol y drefn, canys pa le y cawn gwrdd a hi onid yn y man hyn.* Gwel Lyfr a elwir hawl bedydd gan Mr. *Baxter* tu dalen 144. 150.

Y gwr hwn er ei fod yn dala bedydd plant etto nid anturiodd fod môr eofn a gwrthdroi trefn y Commissiwn, na gwneuthur fel yr ydych chwi'n gwneuthur, sef, yn haeru nad yw 'r addysg a crybwyllwyd, yn ôl bedydd, yn perthyn i'r credadwy y rhai a fedyddiwyd, gwedi iddynt gael eu gwneuthur yn ddiscyblion, eithr iw babanod a fedyddiwyd, o ba rai nid yw 'r Commissiwn yn dywedyd vn gair, ac ni ellir casclu mo'i peth mewn ffordd o ganlyniaeth trwy ddim lliw rhesswm oddiynnô; eithr i fyned yn y blaen i brofio eich gau esponiad o'r testun, yr ydych tu dalen ———— yn dywedyd

'Yn gyntaf oddiwrth addewid Duw i *Abram, Isaac* a
' *Jacob* y cae holl genhedloedd y ddaiar eu bendithio, *Gen*
' 18. 18. 22. 18. Fe ddaeth Christ (meddwch chwi) i
' gadarhau'r addewid i'r tadau fel y gallei'r cenhedloedd
' ogoneddu Duw am ei drugaredd, *Rhuf.* 15. 8, 9. Os nid
' yw Duw yn Dduw i'r cenhedloedd a'u hâd yn ôl yr addewidion a wnaethpwyd i'r tadau, yna (meddwch chwi) y
' mae Crist yn gwanhau ac nid yn cadarnhau r addewidion, na
' atto Duw ini dybied felly.

*Atteb* 1.

*Atteb* 1. Na atto Duw y byddech chwi yn wastadol yn aros tan y fâth feddyliau tywyll a chymmylog oblegid y cyfammod a'r addewidion a wnaethpwyd i'r tadau o ran y cenhedloedd; o herwydd y cyfammod a'r addewidion a wnaethpwyd i *Abram*, *Isaac* a *Jacob* oeddynt, y cai'r cenhedloedd trwy ffydd ynghrist fod yn gydetifeddion â'r Iddewon a gredent ynddo ef, â'r cenhedloedd a gredent hefyd; ac felly y rhedodd y cyfammod o râs i *Abram*, &c. Ac fel hyn y mae'n rhedeg i'r cenhedloedd credadwy, sef, y cant hwy oll a'u plant y rhai sydd yn credu, neu oddifewn etholedigaeth grâs fod yn gadwedig, ac yn y modd hyn y mae holl genhedl y ddaiar yn cael eu bendithio ynghrist, pa vn ai Iddewon ai cenhedloedd; hynny yw y cyfryw oll, ymmhob gwlâd ac ydynt yn credu neu'n cael eu galw trwy bregethiad yr Efengyll.

Eithr o herwydd nad ydyw eglwys Crist ynawr yn nyddiau'r Efengyl yn derbyn i mewn holl wledydd a holl deuluoedd megis ac y cymmerodd eglwys yr Iddewon tan y ddeddf holl cenhedl yr Iddewon ai teuluoedd oll i mewn; a ydyw Crist yn gwanhau'r addewidion?

Sr, Y gyfammod gyfreithlon honno a ossododd i fynu Eglwys cyscodawl, pa Eglwys a ddarfu am dani pan sefydliwyd yr Eglwys ysprydol yr hon sydd ymgynnylltidig yn vnig tan yr Efengyl, megis ac y profiais yn gyflawn o'r blaen; eithr ymmhellach (chwychwi a ddywedwch) 'i'r 'Apostolion ddeall gorchymyn Crist iddynt hwy yn yr 'ystyr hwn, am hynny fe ddarfu iddynt hwy bregethu 'iechydwriaeth i'r rheini a gredasant ac iw eiddo oll, &c.

*Atteb.* Yn ddiammeu yr oedd yr Apostolion yn deall gorchymyn a chommisswn Crist, ond y mae'n eglur nad ydych chwi yn ei ddeall oll; a ddarfu iddynt hwy bregethu iechydwriaeth i'r credadwy ac iw plant oll megis y cyfryw, pa vn ai bod gwedi cael eu ethol neu peidio, ai galw trwy y gair a'r yspryd neu peidio?

Oblegid y mae'n rhaid i chwi brofio hyn ac onide ni wnewch ddim, a pha mor anghysson y byddei'r peth hynny, pe baech yn haeru y fath beth? Nid yw *Petr* yn dywedyd am vn addewid a wnaethpwyd i'r Iddewon na'r cenhedloedd ac iw plant, eithr i'r cyfryw o honynt ac a elwir gan yr Arglwydd ein Duw. Ac fe ddywedir yn eglur i *geidwad i carchar ai eiddo oll* gredu am hynny os haeIwch

rwch chwi ymmhellach, megis yr ydych yn mynegu tu dalen— i'r Apostolion ddynessu cysammod *Abraham* ymmhlith y cenhedloedd i hâd (meddaf) hâd cnawdol y credadwy megis y cyfryw, yr ydych yn haeru anwiredd ac yn taflu celwydd a'r yr Apostolion trwy ych anwybodaeth; profiwch os gellwch fod iddynt hwy fedyddio vn dyn o oedran neu eraill nad oeddynt yn credu neu'r cyfryw ac nis gwnaethant gyffes o'i ffydd. 'Plant, meddwch chwi, yddynt ran o'r gwledydd, canys os ydoedd ar 'yr Apostolion fedyddio'r holl genhedloedd, yna yr oedd 'arnynt hwy fedyddio eu plant hefyd, oblegid plant ydynt 'ran fawr o'r cenhedloedd, yn agos y llaill hanner.

*Atteb.* Yn gyntaf y mae'n eglur nad yw ein Jachawdwr yn ei gommissiwn mawr yn rhwymo neb ychwaneg iw bedyddio, eithr y cyfryw ac ydynt yn gyntaf yn cael eu dyscu neu gwneuthur yn ddiscyblion, ac y mae hyn yn cyttuno â'i arfer ei hun, *Joan.* 4. 1. *Efe a wnaeth ac a fedyddiodd fwy o ddiscyblion nag Joan:* Efe a'i gwnaeth hwynt yn gyntaf yn ddiscyblion ac a'i bedyddiodd hwynt wedin, ac ni fedyddiwyd neb yn y Testament Newydd, eithr y cyfryw a wnaethant yn gyntaf broffes o'i ffydd ynghrist. A ydych chwi yn darllen i'r Iddewon hynny (*Actau* 2.) a gredasant ac a fedyddiwyd, gael gorchymyn i fedyddio eu plant, neu i neb o'r crediniol eraill a fedyddiwyd llaill ai ymmhlith yr Iddewon neu'r cenhedloedd gael y fâth orchymmyn? canys felly y canlyn os dylei plant y credadwy gael eu bedyddio.

2. Os ydyw'r Commissiwn mor helaeth ac yr ydych chwi yn haeru; yna y mae i'r cenhedloedd a'r paganod digred oll ymmhob gwlâd er nad ydynt yn credu, gael eu bedyddio, a'i holl blant hefyd, a Phlant yr anghredadwy mewn gwledydd Cristnogawl heblaw hyn.

Sr, onid yw'r rhain yn rhan o'r cenhedl? Britaniaid foneddig, gwelwch ganlyniadau a diweddglo rhessymmau y rhai ac sydd yn dal bedydd Plant am eu bedyddio hwynt; y mae'r diweddglo hwn yn profio y dylei holl bobl a chenhedloedd yn yr holl fyd gael eu bedyddio oddiwrth y Commissiwn, ond mysi, fel y gwneutham vnwaith â gweinidog arall a appelia at cydwybod Mr. *Owen*, mal yr attebyffefe hyn ger bron brawdle Crist, pa vn ai fod efe yn credu bod y Commissiwn yn rhoddi awdurdod i ddiscyblion Crist fedyddio neb ond y cyfryw ac

a ddyſcir yn gyntaf ac a wneir yn ddiſcyblion, pa rai y mae Sr. *Marc*, yn alw yn gredadwy gan aildraethu geiriau 'r vn Commiſſiwn, *Marc*. 16. 16.

3. A ydyw plant y crediniol yn agos i hanner y cenheloedd? yr wyfi'n ofni i chwi gam-gymmeryd, dymma'r ffordd i wneuthur diadell Criſt yn ddiadell mawr; eithr gwîr yw, y mae gennych chwi gymmaint o achos i haeru y dylei plant y cenhedloedd, Paganod a'r anghredadwy gael eu bedyddio oddiwrth y Commiſſiwn, ac y ſydd am plant y credadwy, ac yna fe ddichon y peth fod fel yr ydych chwi yn dywedyd, ſef; y gallant fod yn agos i naill hanner o'r holl genhedloedd, eithr i fyned rhagom yn y blaen.

Sr, 'Yr ydych yn dywedyd tu dalen——— Pan y mae 'Duw yn bygwth torri ymmaith y cenhedloedd o flaen 'plant *Iſrael*, fod y plant yn cael eu cymeryd i mewn, 'oblegid nid arbedwyd y plant mwy na'r tadau; or ty 'arall, meddwch chwi, pan fo Chriſt yn gorchymyn be-'dyddio y cenhedloedd er eu jechydwriaeth, ei feddwl 'ydyw, am fedyddio y plant yn gyſtal a'i rhieni; pe byddei 'gwr yn rhoi ei orchymyn iw fugail i gneifio ei holl dde-'faid a goſſod arnynt nod-cluſt fel y gallei efe eu ddithol 'oddiwrth ddefaid eraill, er i'r bugail gneifio y defaid a'i 'nodi hwynt, os aeth heibio 'r wyn heb nodi mo honynt, 'ni wnaeth ddim o'i ddyledſwydd; os dywed wrth ei 'feiſtr, yr oedd yr wyn yn rhy jefaingc iw cneifio, gwîr 'medd ei feiſtr, eithr nid oeddynt rhy jefangc iw nodi, 'chwi a ddylaſech iw nodi o herwydd y maent hwy'n 'rhan fawr o'm diadell.

'Od ni's all, plant buchain, meddwch chwi, dderbyn athra-'wiaeth, nhwy allant dderbyn nôd Criſt, ſef Bedydd, trwy ba 'vn y detholir defaid Criſt oddiwrth geifr y diafol; eglwys 'Criſt yw ei ddiadell ef; a os dim wyn yn y ddiadel hon? Criſt 'yw'r bugail ffyddlon a da, yr hwn ſydd yn rhoddi ei einioes 'tros y defaid, *Joan* 10. 11. ac oni chymmer efe ofal am 'ei wyn, a gweiniaid ei ddiadell; Ie yn ddiau efe a gaſcliff 'yr wyn yn ei freichiau ac a dygyff hwynt yn ei fynwes, &c.

Yr wyfi'n Atteb mae haeriad eofn ydyw oddiwrth eich diben ach canlyniad anghyſſon, yr hwn yr ydych yn ei dynnu oddiwrth y Commiſſiwn (megis y dangoſais eiſioes) i chwi ddywedyd pan orchymynnodd Criſt fedyddio y cenhedloedd mae e feddwl ydoedd bedyddio plant, ſef, oblegid eu bod nhwy yn rhan o'r cenhedl; eithr myfi

a rhoesym Atteb i hwn eisioes, pan y bo plant yn credu, nhwy a ddylent, yn ôl y Commissiwn gael eu bedyddio, eithr nid cyn hynny.

2. O ran ych cyflybiaeth, tebyg jawn ydyw i'r vn a arferodd Mr. *Burkit* gwr yn dala bedydd plant yn ei Lyfr pa vn a atte[illegible]is eisioes; Mysi a scrifennaf drachefn fy Atteb iddo ef yr hwn sydd gyflawn Atteb i chwi i'll dau, ac i bawb eraill a chwedleiant yn y modd hyn; y mae efe yn ymressymmu oddiwrth y Commissiwn, megis yr ydych chwi yn gwneuthur, cymmerwch ei eiriau a'm Atteb iddynt yn drefnus, sef;

'Y gwîr resswm (medd efe) Pa ham y gorchymynnodd 'Crist eu ddiscyblion yn gyntaf ddyscu, a chwedin be-'dyddio, ydoedd o herwydd i fod ef yn danfon ei Apo-'stolion allan ymmhlith y cenhedloedd iw ymchwelyd hwy 'at gristnogrwydd, ymmha waith nyni oll a wyddom, fod 'yn rhaid i bregethiad y gair fyned o flaen gweinidogaeth 'y Sacramentau.

'Pe bai (medd efe) Brenhin *Lloegr* yn danfon ei weini-'dogion i wledydd pellennig i ymchwelyd yr *Indiaid* at 'Gristnogrwydd ni ddylent gael iw bedyddio cyn eu dyscu 'ai athrawiaethu; eithr pan droir y rhieni dieithraid hyn 'at gristnogrwydd ac y gwnant broffes weledig o'i ffydd, 'fe ellir bedyddio eu plant, a gwedi hynny eu dyscu 'hwynt, megis yr oedd plant y dieithraid a drowyd at gre-'fydd yr Iddewon yn cael yn gyntaf enwaedu arnynt ac 'yna eu dyscu, canys er i *Abraham* gael yn gyntaf ei ddy-'scu, ac yna enwaedu arno, etto fe enwaedwyd ar *Isaac* yn 'gyntaf a yna y dyscwyd ef, am hynny bwriad ein Jachaw-'dwr yw hyn, dyscwch y rhai ac y sydd yn ehang o addysg, 'a bedyddiwch y rhai sydd ehang o fedydd.

*Atteb.* Yr wyfi'n Atteb, yn gyntaf, pa mor anghysson ydyw hyn â geiriau 'r Commissiwn, ni ddylei neb trwy rinwedd y Commissiwn gael eu bedyddio, eithr y cyfryw a ddyscwyd yn gyntaf neu y sydd yn credu, ac am hynny y mae rhai y sydd tros fedydd plant yn lledrithio fod gan fabanod ffydd mewn greddf neu ffydd *in semine*, &c. Eithr yr ydych chwi yn pledio y gallant fod yn ehang o fedydd heb ffydd: Yr ydych chwi hefyd yn gwrthddywedyd trefn geiriau 'r Commissiwn; onid ydych chwi yn addef y dylei addysg yn ôl trefn geiriau 'r Commissiwn fyned o

flaen

flaen bedydd? Sr, y mae'n arwydd o fatter drwg pan yr ydych chwi yn llyn yn ymbrofi ych synwyr ac wedi'r cwbl yn gwradwyddo ych hunan.

2. Yr wyfi'n gofyn i chwi pa fodd y gallei *Abram* (yr hwn y gorchymynnodd Duw enwaedu arno, (megis sêl o gyfiawnder y ffydd hono ydoedd ganddo ef yn ei ddienwaediad) wybod y dylei efe enwaedu a'r ei fâb *Isaac*, *&c.* Yr hwn nid oedd ganddo y fath ffydd, oni roddasyd gan Dduw orchymmyn addas iddo wneuthur felly? Yn ddiammeu oni chafodd y fath orchymyn, efe a bechodd pan wnaeth y peth ni orchymynnwyd gan Dduw iddo ef. Felly ac yn yr vn modd, ni orchymynnodd ein Harglwydd Jesu i neb gael eu bedyddio yn ei gommisiwn eithr y cyfryw rai ac y sydd yn gyntaf yn cael eu dyscu, oni buasei efe yn chwanegu megis ym matter *Abram*, sef; pan gaffo *Groegr* ei ymchwelyd i'r ffydd ai fedyddio, chwychwi a ellwch fedyddio ei blant ef hefyd; pa fodd yr anturwch chwi chwanegu ŷ fath chwanegiadau at Commisiwn Crist heb ei awdurdod ef, ac felly peri i'r byd goelio, pe gallech, i'n Jachawdwr bendigedig roddi allan Gommisiwn ammherffaith iw ddiscyblion, pa vn yn ôl cyfaddefiad Pawb sydd yn vnig warand a rheol i weinidogion oll rodio wrtho yn achos bedydd hyd ddiwedd y byd? Ac onid ydyw efe yn dywedyd, *na chwanega ddim at y gair hwn, rhag iddo dy ceryddu di, a'th gael di yn gelwyddog*, wrth osod y peth hynny a'r achos Christ, yr hwn ni ddywedodd ac nis amcanodd erjoed?

Pan fo Brenin (meddwch chwi) wrth ei Siartr, neu ysgrifennadau cyhoeddus, yn gosod trigolion rhyw drêf yn rhydd, onid ydyw'r plant yn gyfrannogion hefyd o'r *Siartr*, er nad yw eu henwau ynddo yn neillduol? Felly ymma, y mae'r *Brenin* nefol yn ein gwneuthur ni wrth ei *Siartr* Efangylaidd, y rhai a oeddym ddieithraid a phellennig yn gyd-ddinaswyr â'r seinctiau, *Eph.* 2. 19. Ac i'r diben hwnnw yn gorchymyn derbyn pob cenhedl trwy fedydd i fod yn gyfrannog o rydd——dyd a braintiau dinaswyr Duw; oni dderbyn efe y plant i fraintiau eu rhieni.

*Atteb.* 1. Yr wyfi'n Atteb, os ydyw'r peth megis y dywedwch ymmhôb ystad cenhedlig, llywodraethau a chymdeithas moesawl, beth y mae hyn yn brofio o ran y matter yn llaw, oni anturiwch chwi gymeryd arnoch haeru fod yr eglwys Efangylaidd yn genhedlig ac nid yn gynulltiedig,

nullticdig, a ydyw gosodedigaethau'r eglwys ysprydol Efa gylaidd yn rhedeg megis gosodedigaethau dynol a chenhedlig? profiwch hyn os gellwch, yr wyfi yn ei lwyr neccau, oblegid os ydyw'ch plant megis y cyfryw yngyd-ddinaswyr â'r Seinctiau ac i gyfrannogi o fraintiau dinas Duw; Pa ham yr ydych yn neccau Swpper yr Arglwydd iddynt hwy? ych cyflybiaeth nid yw yn profio dim mwyach eu hawl i fedydd, dim mwy i'r naill fraint na'r llall: ni ellais etto ddeall pa fraintiau ysprydol neu amserol y mae babanod yn eu derbyn mewn bedydd; pa ddaioni y mae hynny yn wneuthur iddynt hwy, y rhai nid oes ganddynt y peth a arwyddocceir ym medydd? y mae budd lawer yn cael ei dderbyn yn y fath rodd y grybwyllwch am dani yn y *Siartr* oddiallan; eithr megis ac ni's gorchymynnodd Duw fedyddio babanod, felly ni ellir profio i bod hwy yn derbyn dim budd oddiwrth fedydd. Yr ydych yn y peth hyn yn ymressymmu megis ac y gwnaeth Mr. *Burkit* o'ch blaen chwi; darllennydd, cymmer ei gyflybiaeth ef, sef.

'Yr wyfi 'n gofyn (medd efe) pa vn ac y gellir cascl' yn ol meddwl Duw, oddiwrth eiriau y Commissiwn y dylyt' gweinidogaethu y diwygiad a appwyntiwyd i rhai a ydynt' o oedran yn vnig; o herwydd nhwy yn vnig a allant dde' all a coelio ei rinwedd ai rym? yn ddiau pôb dyn rhessy' mol yn eich plith a gasclei fod ei blentyn yn ehang o'r' diwygiad yn gystal ac efe ei hun, er ei fod yn annwybo' du o'r rhinwedd sydd ynddo, ac yn vnig yn ddioddefgar' pan weinidogaethir arno ef, ac y byddei 'n beth creulawn, ie yn llofruddiaeth i'r rhieni neccau dynessu mo hono iw plant oll.

*Atteb.* Y mae'n rhyfedd gennym gwrddyd â'r fath annwybodaeth a ffolineb, a ydyw yn canlyn o herwydd bod plant yn ehang o dderbyn meddyginiaeth yn erbyn y cowyn, neu ryw afiechyd corphorol, i bod nhwy gan hynny yn ehang o fedydd a Swpper yr Arglwydd? os ydynt yn ehang o'r naill, yr wyfi 'n dywedyd eu bod o'r llall, canys fel yr ydys yn gofyn i ddyn ymholi ei hun a jawn farnu corph Crist yn Swpper yr Arglwydd, felly yr ydys yn gofyn iddo edifarhau a chredu ynghrist yr hwn a ddelo iw fedyddio.

Yr wyfi'n dymuno cael gwybod pa fodd y maent hwy yn profio mae bedydd yw'r feddyginiaeth a appwyntiwyd i jachau 'r enaid oddiwrth nôd pechod? (neu megis y mae Mr. *Owen* yn dywedyd er eu jechydwriaeth hwy) beth yw

hy

hyn ond tywyllu llygaid pobl truenus a pheri iddynt hwy goelio fod ordinhâd oddiallan yn achub yr enaid? Os nid fel hyn y mae'r peth, pa fodd y gellyff fod yn greulondeb ie yn llofruddiaeth mewn rhieni i neccau gweinidogaethu bedydd iw plant (megis y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd.) yr hên dadau oddiwrth y testun hwnnw yn *Joan* 6. 53. Oni fwyteiff Dyn gnawd mâb y dyn ac oni yfyff ei waed ef, nid oes ganddo fywyd, a roddasant Swpper yr Arglwydd i blant, gan debyg fod ein jachawdwr (megis ac y mae'r *Papistiaid* ynawr) yn meddwl y Sacrament; pan mewn gwirionedd ei feddwl ydoedd iddynt ymborthi trwy ffydd a'r ei gorph groes-hoeliedig ef; etto er hynny ei gyd, eu rhesswn hwy am roddi 'r naill Sacrament i fabanod, sydd gystal a'ch vn chwi am roddi iddynt y llall: Eithr pan fyddont â'r vn gallu ganddynt i edifarhau a chredu ac y caffont gymmorth i wneuthur felly; ac y maent i fwytta bara neu i dderbyn meddyginiaeth yn erbyn afiechyd corphorol, gadewch iddynt gael bedydd a Swpper yr Arglwydd; ac ni ddylent hyd y pryd hynny (os gair Duw sydd yn rheol i'n ffydd a'n arferiad, ac nid ein drychiolaeth ein hunain) gael bod yn gyfrannogion o'r naill na'r llall: Etto nid ydym yn gwadu na ddichon babanod y sydd yn marw felly fod yn ehang o'r feddyginiaeth fef, gwâd Crist; er nad ydym yn deall y modd i gyfaddasu ef; o'i rhan hwy peth dirgel ydyw, o'n rhan ni, chwi a wyddoch, fod eglwys *Lloegr* yn haeru yn bennodol y gofynir gan y rhieni ac a fedyddir *edifeirwch, trwy ba vn yr ydys yn ymadael â phechod*; *a ffydd, trwy ba vn y mae dyn yn credu yn ddiogel addewid Duw a wnaethpwyd iddo ef yn y Sacrament honno*; Ie, yr vn peth a ofynnir gan blant bychain hefyd, am hynny eu meichiau a attebasant trostynt, *i bod nhwy yn credu ac yn edifarhau, neu'n ymmadael â'r diafol a'i holl weithredoedd, &c.* Y mae'r plentyn yn Atteb trwy vn arall; nid yw Eglwys *Lloegr* yn bedyddio vn plentyn eithr megis credadyn a pherson gwîr edifeiriol; y rhai oll ac ydynt ddeiliaid priodol bedydd a gynhwysir yn y Commissiwn, ac y mae'n rhaid iddynt fod mal y cyfryw, pa vn a'i byddont o oedran neu fabanod, ac a wnânt broffes o ffydd ac edifeirwch; eithr chwychwi, fe allei, a rag-welsoch y neidr yn y gwellt-glas, sef; mae traddodiad yw tadau-bedydd a mammau-bedydd, ac nid ordinhaâd Duw; ac ni allant hwy wneuthur y pethau hynny tros y plentyn ac y maent yn addaw trosto, ac yn ei enw ef; ac am hynny yr ydych yn arferyd rhesswm arall ac a

fynnwch iddynt gael eu bedyddio heb ffydd, neu a'r ffydd eu rhieni, o ba vn nid yw Eglwys *Lloegr* yn dywedyd vn gair.

O barthed ych cyflybiaeth ni thal mo'i grybwyll, nid yw bedydd megis ac y dywedais eisioes, yn jachau 'r enaid oddiwrth bechod, neu'n achub vn dyn, eithr gwaed Crist yr hwn a gyfaddasir trwy ffydd sydd yn gwneuthur hyn; nid ydym ni'n dywedyd na ddichon vn plentyn gael llês y feddyginiaeth arbennig hon, o herwydd na all' gredu, oblegid bod yn rhaid i wrywaid a benywaid ei derbyn trwy ffydd, neu gael eu colli yn dragywydd.

Fe ddichon fod gan Dduw amryw Ffyrdd (megis ac y nododd y Dr. *Taylor*) i fawrygu ei râs trwy Jesu Grist iddynt hwy (na wyddom ni ddim am danynt) ac y sydd yn marw yn eu mebyd, etto nid os geunym ni ddim awdurdod ychwaneg iw bedyddio, nag i roddi Swpper yr Arglwydd iddynt.

Y mae rhai y sydd yn dal' bedydd plant yn chwedleua yn rhyfeddol, megis pe na bai ganddynt ddim matter am yr hyn y maent yn ei ddywedyd ac yn haeru, pan yr ydynt yn dyfod â chyflybiaethau i ddyscu dynion gredu mae bedydd yw'r Balm i jachau oddiwrth ymglwyf pechod, ac megis pe byddei bod yn gyfrannog o hono yn ymwared plant bychain rhag tân vffernol, a nhwy yn euog o ladd eneidiau eu plant ac ydynt yn neccau eu bedyddio hwynt, mysi a dybiais na osodent fwy o bwys a'r fedydd plant nag a'r enwaediad plant, pan fynnent iddynt redeg mewn modd o gydmariaeth.

Attolwg, beth a ddaeth o blant benywaid yr Iddewon, a oeddynt hwy oll yn golledig? a pheth a ddarfu iw plant gwrywaid a fuasant feirw cyn yr wythfed dydd? canys nhwy a dreffeddasent gyfraith Duw, os enwaedent arnynt (er eu bod yn glâf neu'n debyg i farw) os ni byddent lawn wyth diwrnod oed; cywilyddied y cyfryw er mwyn eu eneidiau gwerthfawr a chymerent fwy o ofal dros yr amser i ddyfod am y pethau y scrifennont ac y bregethont.

Yr wyfi'n gofidio gweled Commissiwn mawr fy Arglwydd bendigedig yn cael ei wrthdroi ai gamarfer yn llyn; beth pe bai'r Brenhin yn ych danfon chwi â Commissiwn i ryw blanniad pell a'ch gorchymmyn chwi i wneuthur yn berffaith gwbl yn ol pennodol eiriau 'r Commissiwn, *na chwanegu atto na chymeryd oddiwrtho*, a'r berygl o gael eich taflu allan o'i ffafor, a thynnu ei ddigofaint a'i felldith arnoch;

noch; a anturieich chwi wneuthur dim mewn vn modd arall dan liw, mae ei feddwl ef ydoedd felly, pan y darfu iddo ef yn ei Gommisiwn ddywedyd yn blaen ac yn eglur, pa fodd a pha beth y dylech chwi wneuthur ymmhôb matterion a phethau, a gwahardd na chwanegech ddim atto. *Datc.* 22. 18. *Canys yr wyfi yn tystiolaethu i bob vn ac sydd yn clywed geiriau y propbwydoliaeth y Llyfr hwn, os rhydd neb ddim at y pethau hyn Duw a rydd atto ef y plâau sy wedi eu scrifennu yn y Llyfr hwn*, &c. Pwy a ddywedodd wrthych chwi, mae'r peth y ddywedwch yw meddwl ein jachawdwr? a ddichon vn dyn dybied vnwaith, yn gymmaint a bod Commisiwn Crist yn Commisiwn pûr Efangylaidd ac yn cynnhwys cyfreithiau a rheolau gwîr pennodol, y rhai nid oes ganthynt ddim cyflybiaeth neu dueddrwydd at y gyfraith neu'r gorchymmyn a rhoddes Duw i *Abraham*, y gall y peth yr ydych chwi yn ei ddywedyd fod yn wîr, a'ch dibennion yn ddiniwed, siccr ac awdurdodawl? oni ddichon vn arall ddywedyd gyda chystal awdurdod a hyn, fod ein jachawdwr yn gorchymyn i ddiscyblion fedyddio y cenhedloedd oll, y rhieni a'u plant hefyd, pa vn ai mynnent neu peidio, pa vn ai credent neu ni's credent, pa vn ai *Iddewon*, neu *Groegwyr*, *Twrciaid* neu *Baganodd?* y mae yn rhyfedd gennyf nad ydych chwi yn ofni pan yr ydych yn cymmeryd rhydd--dyd yn y modd hyn i gellwair ac megis wharae, gwrthdroi, cyfnewyd a chwanegu at Commisiwn Sanctaidd Duw eiddigus, a brenhin mawr y nefoedd a'r ddaiar.

1. 'Yr ydych yn addef i ddefaid Crist ddyfod i fynu 'o'r olchfa, y rhai sydd bôb vn yn dwyn dau oen heb vn 'yn ddi-heppil yn eu mysc, *Can.* 6. 6. gadewch gan hynny '(meddwch chwi) i'r wyn gael eu golchi, megis ac y maent 'hwy yn rhan fawr o'r ddiadell.

Yr wyfi yn Atteb, na ddichon babanod (megis y cyfryw) wrth ych geiriau eich hun fod yn ddefaid neu'n wyn Crist, Oblegid bod ei ddefaid a'i wyn ef oll y rhai a olchir, yn dwyn ffrwyth, ac nid oes vn yn ddi-heppil yn eu mysc; a ydyw babanod yn dwyn ffrwyth i Grist? a allant hwy ddwyn effelliaid? Sr nid yw Trawsymsymmudiau (fel y dywedwn) yn redeg a'r beder troed, fe ddichon wyn Crist, sef Cristnogion egwan ac jevaingc fod yn ffrwythlawn mewn Sancteiddrwydd megis defaid, sef hên gristnogion profiadol; eithr pa fodd y gellwch chwi brofio fod bedydd

yn

yn golchi ymmaith bechod oddiwrth babanod, nid ydynt euog o bechod gweithredol; a ydyw bedydd yn golchi ymmaith y pechod gwreidiol? yr hên dadau cyfeiliornus y rhai a ddaethant â hyn i mewn, a haerasant fod bedydd yn golchi ymmaith y pechod gwreiddiol ym mabanod, eithr a ydych chwi yn coelio i bod hwy yn dywedyd y gwîr gan ddywedyd felly.

'Wyn Crist (meddwch chwi) ydynt ehang o ymborth 'trwy y gair a'r Sacramentau, a all babanod wrando'r 'gair a bod yn gyfrannogion o'r Sacramentau? Os o'r 'naill, o'r llall hefyd Sr: wyn Crist ydynt *sabanod newydd-'eni*, nid newydd eni wrth genhedlaeth naturiol, eithr 'trwy adgenhedlaeth, mal y dangosais eisioes. Chwychwi 'a ddywedwch na ddylei eglwys y cenhedloedd gael llai o 'fraintiau n'ar *hên Jerusalem, neu Eglwys yr Iddewon*, ac 'i'r vnic y mae llawer mwy o blant nac i'r hon y mae 'iddi wr, *Gal.* 4. 27. Ac oddiymma yr ydych yn haeru 'onid yw plant yr eglwys gristnogawl yn mwynhau brain-'tiau eu tadau, y mae ganthi lawer llai plant nag oedd gan hên Eglwys *Gaersalem*.

*Atteb.* Yr wyfi 'n Atteb, fe ddichon Eglwys y cenhedloedd yn ôl addewid bendigedig Duw fod yn fwy o nifer nag yr ydoedd Eglwys yr Iddewon pan ddelo llawnder y cenhedloedd i mewn, ac er hynny heb fod babanod yn aelodau o honi.

Ie, y mae gennym le i goelio fod mwy yn y prif amseroedd wedi ymchwelyd ymmhlith y cenhedloedd nag ymmhlith yr Iddewon, eithr yr wyfi'n gweled ych bod chwi etto yn taro ar yr hên dant, sef; os nid yw'r Eglwys Efangylaid yn genhedlig, ac yn mwynhau cynifer o fraintiau oddiallan ac yr ydoedd Eglwys yr Iddewon, ei braintiau sydd lai; eithr nid ydych chwi yn ystyried natûr, dull a gogoniant yr Eglwys Efangylaidd, ac ymmha bethau y mae ei braintiau yn rhagori oddiar yr Eglwys ddeddfol honno yn hên *Gaersalem*.

'Chwychwi a ddywedwch pan fo Crist yn gorchymyn 'dyscu'r holl genhedloedd cyn eu bedyddio a chwedi hynny 'iw bedyddio; ei feddwl yw dyscwch a bedyddiwch i 'blannu yr Eglwys, a bedyddiwch a dyscwch i gynnal yr 'Eglwys a blannwyd ymmhlith y cenhedloedd.

*Atteb.*

*Atteb*. Y mae'n ofyd imi ystyried mȏr eofn yr ydych yn haeru mae meddwl Crist sydd felly, yr hyn beth ni ellir mewn vn modd ei gasclu oddiwrth ei Gommissiwn ef, eithr y mae efe yn vniawn yn erbyn geiriau eglur y cyfryw, ac hefyd yn erbyn natur sail yr Eglwys Efangylaidd, eithr yr ydych yn haeru y peth y fynnoch ac heb profio dim.

2. Fe ellir gweled wrth ych geiriau chwi fod yr Eglwys Efangylaidd gwedi ei Sylfaeni neu phlannu o'r cyntaf trwy adenedigaeth, ac ynddi yn vnig wyr a gwragedd crediniol yn cael eu bedyddio a'r broffes o'i ffydd, neu gwedi iddynt gael eu gwneuthur yn ddiscyblion, eithr gwedi ei phlanniad cyntaf yr oedd i gael ei bȏd o'r hȃd cnawdol neu gorphorol, ac felly i gwneuthur yn genhedlig, ie i gwneuthur i fynu o wledydd cyfan. Attolwg Sr, yn gymmaint nad yw'r Commissiwn mawr yn *Mat*. 28. 19, 20. Yn profio dim o hyn oll, ac na osododd yr Arglwydd Jesu vn Commissiwn arall allan i ddiddymmu ei gyntaf; pa le sydd gennych chwi i haeru mȏr rhyfygus y fȃth beth a hyn? a anturiwch chwi chwanegu neu leihau gair Duw, ie, newidio ewyllys a Thestament diweddaf Crist yn ei Gommissiwn mawr? crynwch gan feddwl am y peth yr ydych yn ymegnio i wneuthur: Sr, Y Testament Newydd o barthed ordeinhadau eglwysig, *&c*. Sydd reol perffaith hyd ddiwedd y byd; ac yn yr vn modd ac y sefydlwyd yr Eglwys Efangylaidd cyntaf yn ol derchafiad Crist felly y dylei pob Eglwys gael ei sefydlu ac i barhau felly hyd ailddyfodiad Crist; y mae'n rhaid cadw 'r ordinhadau o ran y deiliaid a'r modd o weinidogaethu megis ac y traddodwyd hwynt a'r y cyntaf i'r Seinctiau, gwelwch, 1 *Cor*. 11. 2. *Yr ydwyf yr eich canmol, Frodyr, eich bod yn fy nghofio i ymmhob peth, ac yn dal y traddodiadau fel y traddodais i chwi.*

Gan hynny yn llwyr wrthwyneb i chwi a'r peth yr ydych yn ei ddywedyd, tua diwedd ych pennod wheched, yr wyfi yn haeru oddiwrth awdurdod Commissiwn Crist, a natur sefydliad yr Eglwys Efangylaidd; megis ac yr aeth addysc o flaen bedydd pan blannwyd yr Eglwys yn y prif amser, felly y mae addysg i fyned o flaen bedydd gan blannu a chynnal i fynu 'r Eglwys hyd ddiwedd y bydd, ac nad yw'r addysc a grybwyllir trwy drefn y geiriau yn y Commissiwn yn ȏl Bedydd yn perthyn i blant y credadwy neu i neb plant eraill; eithr megis ac y mae Mr. *Baxter* yn dal sulw i'r cyfryw credadwy ac a gawsant eu bedyddio,

dyddio, pa rai pan fyddont gyfrannogion o'r ordinhâad hon a dylent gael eu dyscu ymmhob peth arall a berthyn at Eglwys Crist, y rhai a orchymynnodd efe iw ddiscyblion gadw, ac i ba rai (os gwnaent felly) y chwanegodd efe ei addewid grasfawn, *a wele yr wyfi gyd â chwi bob amser, hyd ddiwedd y byd*, Mat. 28. 20.

# PEN. X.

*Yn Atteb i seithfed bennod Mr.* James Owen, *ac yn profio na dylei plant y ffyddloniaid gael eu bedyddio, oblegid y dywedir i bod hwy yn Sanctaidd, ymma vn yr ydys yn ymholi y Testun hwnnw yn* 1 Cor. 7. 14. *Ac yn ei egluro yn amlwg gydâ barn llaweroedd o wyr Dyscedig yn gystal y rhai ac sydd yn dal bedydd plant ac eraill a'r y lle hwn.*

Y Mae Mr. *James Owen* yn dechreu ei seithfed bennod yn y modd hyn, sef, 'Os ydyw plant y ffyddloniaid 'yn sanctaidd yna y mae bedydd yn perthyn iddynt hwy, 'canys y mae pawb yn cyfaddef fod Sancteiddrwydd yn 'rhoddi hawl i fedydd, os caniattânt fod ffydd yn rhoddi 'hawl, pa vn sydd wreidyn Sancteiddrwydd yn y cyfryw ac 'ydynt o oedran.

*Atteb.* Yr ydym ni'n gwadu fod Sancteiddrwydd (fy meddwl yw Sancteiddrwydd wîr Efangylaidd) yntho ei hun, heblaw gorchymyn Crist, yn rhoddi hawl i fedydd; nag ydyw Sr, yr ydych chwi yn redeg yn rhy glau; ni roddodd Sancteiddrwydd hawl i'r enwaediad, eithr gorchymyn pûr pennodol Duw i *Abram*; canys pe buasei yn gwneuthur felly, fe fuasei gan *Lot*, *Job*, &c. gymmaint o hawl i enwaediad a'u plant gwrywaid hefyd, ac oedd gan *Abram* a'u blant gwrywaid ef, eithr fe ymddengis na roddodd Sancteiddrwydd hawl i enwaediad os ystyrier yn vnig ynddo ei hun, o herwydd, mal y dangosais

o'r

o'r blaen, yr oedd gan holl blant gwrywaid y personau drygionus hynny y rhai a ddaethant allan o lwynau *Abram* trwy genhedlaeth naturiol hawl mor ddilys i enwaediad trwy rinwedd gorchymyn Duw i *Abram* ac yr oedd gan blant gwrywaid y gwîr dduwiol hynny y rhai oeddynt o'i hâd naturiol ef; Immhellach nid yw na ffydd, yr hâd, na Sancteiddrwydd y ffrwyth, yn rhoddi hawl i fedydd, os ystyrier hwynt ynddynt eu hunain, eithr gorchymyn pennodol Jesu Grist, pa vn, yr wyfi'n haeru, sydd yn wîr yn redeg i'r cyfryw ag sydd a ffydd, edifeirwch a sanctei-ddrwydd gwîr gweithredol ganddynt, ac nid sanctei-ddrwydd moesawl neu briodasol, fel y mae hwn o ba vn y mae'r Apostol yn dywedyd, 1 *Cor.* 7. 14. Fel yr ymddengus yn y man; *Pe amgen aflan yn ddiau fyddei eich plant, eithr ynawr sanctaidd ydynt.*

Eithr pa fodd yr ymddengus i bod nhwy (sef Plant) yn sanctaidd (meddwch chwi) tu dalen ——— Y mae'r yspryd glân yn dywedyd felly yn 1 *Cor.* 7. 14. *Pe amgen aflan yn ddiau fyddei eich plant, eithr ynawr sanctaidd ydynt.*

'Y mae'r Apostol (meddwch chwi) yn y geiriau hyn yn 'Atteb gofyniad oddiwrth y *Corinthiaid* crediniol, pa vn a i 'bod yn rhydd iddynt hwy fyw mewn ystâd priodas gyda'r 'cyfryw ac oeddynt yn anghrediniol; ni ddarfu iddynt 'ymofyn am y peth hyn heb achos, oblegid i *Ezra* roddi 'gorchymyn am daflu ymmaith y gwragaidd a'r plant 'eilun-addolus, *Ezra* 9. 1, 2, 3, 4. Y mae *Paul* (meddwch 'chwi) yn Atteb na ddylent hwy wneuthur felly o her-'wydd y gwr digrêd a sancteiddir trwy y wraig, a'r wraig 'ddigrêd o sancteiddir trwy y gwr.

2. Chwychwi a ddiwedwch fod y plant a enir yn y fâth gyflwr yn sanctaidd megis pe bae'r ddau yn credu, ac felly yr ydych chwi'n neccau y deallur rhai o briod neu nid plant o ordderch wrth hyn, eithr i fod ef yn sancteiddrwydd ammodol, yr ydych yn honni fod y cyfryw ac nid oeddynt oddifewn cyfammod Duw yn aflan, *Esau* 52. 1.

*Atteb* 1. Profiwch fod ych babanod, megis y cyfryw, oddifewn y gyfammod o râs; nid ydym ni yn gwadu nad yw'r babanod etholedig oll oddifewn y gyfammod honno mewn modd rhagordeiniol; eithr a ydyw'ch plant chwi neu blant y ffyddloniaid megis y cyfryw, oddifewn y gyfammod o râs, os nid ydynt, ni allant fod yn yr ystyr hyn yn sanctaidd.

2. Onid

2. Onid oes llawer o blant yr Anghredadwy yn cael eu hethol? as os felly onid ydynt hwy yn sanctaidd hefyd? ac am hynny pa ham na ellir i bedyddio hwynt yn gystal a'ch babanod chwi yn ol ych ymressymmau oddiymma?

3. Profiwch panîscrifennoch drachefn, os gellwch, fod dim mâth sancteiddrwydd deddfol a chyfattebol oddiallan o bersonau neu bethau yn amser yr Efengyl, megis yr ydoedd tan y ddeddf; yr ydym ni'n gwadu hyn. Ac yr wyfi'n haeru nad oedd yr hôll sancteiddrwydd deddfol a pherthynol hwnnw oddiallan ond sancteiddrwydd ceremoniaidd a chyscodawl; ac a ddygwch chwi i mewn i'r Eglwys Efangylaidd y sancteiddrwydd ceremoniaidd a chyfattebol hwn; yr ydym yn caniattau fod y cenhedloedd a'u plant y rhai nid enwaedwyd arnynt tan y ddeddf yn cael eu galw yn yr ystyr hynny yn aflan; eithr a elwch chwi blant yr Anghredadwy oll ynawr yn aflan, oblegid yr ydych yn neccau fod plant yr Anghredadwy yn ddeiliaid bedydd.

2. *Chwychwi a ddywedwch i bod nhwy yn aflan y rhai a gauer allan oddiwrth fraintiau Eglwys Duw; nid oedd rydd i vn dyn aflan ddyfod i'r gynulleidfa, ac hefyd* (meddwch chwi) *eu haflendid ydoedd yn vnig yn ceremoniaidd.*

*Atteb.* Sr, Duw a ddangosodd i *Bedr* mae vn ydyw Iddewon a chenhedloedd ynawr yn amser yr Efengyl; nid yw enwaediad na dienwaediad yn gwneuthur dynnion yn lân neu'n aflan; nid oes neb y nawr yn cael en glanhau, neu a gyfrifir yn lân eithr y cyfryw ac y sydd yn credu, a ffydd ganthynt yn Jesu Grist; y cwbl ac yr ydych chwi yn ei ddywedyd o barthed dynnion a phethau aflan tan y gyfraith ni thal ddim i'r perwyl yn llaw: O herwydd y sancteiddrwydd tan y ddeddf oedd naill ac yn ceremoniaidd neu'n gyscodawl, tros ba vn ni ddichon ac ni anturia neb bledio tan y goruchwiliaeth Efangylaidd, yn gymmaint a bod y sylwedd a'r eilun ynawr gwedi dyfod.

1. Ynawr yn amseroedd yr Efengyl nid os dim aflendid ceremoniaidd yn perthyn i ddynnion, ac am hynny a'r yr achos hwnnw nid os dim sancteiddrwydd dynnion; y gwahanglwyfus oedd yn aflan, a'r cyfryw ac y gwrddei â corph marw oeddynt yn aflan, &c. yr oedd cîg moch yn aflan a llawer o'r oedd o anifeiliaid eraill nad ydynt ynawr felly; y cyntaf anedig ydoedd y pryd hynny yn sanctaidd, eithr nid ydyw felly y nawr.

2. Yr

2. Yr oedd yr amser hynny halogiad neu aflendid lleoedd; ty y gwahanglwyfus oedd yn aflan, a'i ddillad yn aflan; ac felly yn yr vn modd yr ydoedd sancteiddrwydd lleoedd, yr oedd y cyssegr yn sanctaidd a'r deml yn sanctaidd, pa rai oeddynt felly naill ai trwy gyssegriad oddiallan neu mewn modd cyscodawl; eithr y nawr nid oes vn lle yn aflan neu'n sanctaidd yn y modd hynny; nid os dim sâth gyssegriad lleoedd, personau a phethau tan yr Efengyl.

3. Yr oedd llestri yn aflan, a llestri yn sanctaidd, eithr nid ydynt felly tan y goruchwiliaeth hwn.

4. Yr oedd holl dy *Israel* yn sanctaidd mewn modd o wahaniad cyfreithlawn neu gyssegriad i'r Arglwydd, er eu bod nhwy yn ddynion annuwiol, o ran sancteiddrwydd ysprydol, eithr ni chyfrifir neu ni elwir yn sanctaidd gan yr Arglwydd vn aelod o'r Eglwys Efangylaidd ac y sydd yn gau brofesswr, o herwydd nid yw'r Efengyl yn caniattau i'r cyfryw fod yn aelod: nid ydynt gwedi eu cyssegru i'r Arglwydd, neu gossod a'r y nailldu megis aelodau o Eglwys cynnullttiedig tan yr Efengyl; er fod y cyfryw, os oeddynt *Israeliaid*, neu o Eglwys yr Iddewon yn cael eu galw yn sanctaidd gan yr Arglwydd; os gan hynny y mae'r peth yn sefyll fell hyn, megis yn ddiau ac mewn gwirionedd y cydnabyddir ei fod felly, a hynny gan ein brodyr Duwiol pa vn ai *Presbyteriaid*, ai *Independiaid* beth a ddarfu i'ch esponiad chwi o'r testun hwn?

Chwychwi a ddywedwch fod plant bychain yn aflan oblegid llygredigaeth naturiol, eithr nhwy a fyddant yn lân trwi gyfammod Duw a golchiad â Dwfr, *&c.*

*Atteb.* Y cyfryw oll ac a enir o fenywaid ydynt yn aflan mewn modd ysprydol, ac yn ddiammeu y mae Duw trwy waed Crist yn sancteiddio y cyfryw fabanod ac y sydd yn marw mewn ystâd cadwedig trwi ryw ffordd ddirgel nad adwaenom ni, eithr nid trwy fedydd; profiwch fod bedydd yn golchi ymmaith pechod pa vn ai mewn hên ai ievangc, os gellwch; Pwy a anturia ddywedyd felly, pan y mae *Petr* yn dywedyd nad yw bedydd yn golchi ymmaith bechod, neu aflendid ysprydol y cnawd, 1 *Petr*. 3. 21.

2. Os ydyw Duw mewn ffordd cyfammod trwy fedydd yn golchi ymmaith aflendid eich babanod, yna nid oeddynt sanctaidd neu lân trwy gael o honynt eu geni o rieni crediniol; ac os ydynt sanctaidd o herwydd eu bod yn hâd

iddynt

yddynt, yna nid os dim achos am fedydd iw golchi hwynt.

3. A pha fodd y daethant hwy i golli'r fanceiddrwydd hynny gwedin; neu ai aflendid neu halogrwydd Pechod gweithredol sydd yn gorwedd yn vnig a'r ych plant y rhai ydynt yn aflan, pan dyfont i fynu; canys os ydyw bedydd yn golchi ymmaith dim math o lygredigaeth pechod oddiwrth ych plant, lygredigaeth dechreuoly mae efe yn ei olchi, ac a ydyw hwn yn dychwel attynt hwy drachefn, felly ac y cyfrifir ef iddynt? pob pechod yn y rhai a wîr fancteiddiwyd trwy waed Crist a olchwyd ymmaith a maddeuwyd o ran ei euogrwydd ai aflendid, ac ni ddychwel felly byth, mal y cyfrifir iddynt hwy er eu barnedigaeth: a fel hyn y mae'r peth yn bod gyda'ch plant chwi y rhai a fedyddiwyd, o ran y pechod dechreuol? dywedwch ych meddwl, Sr, y trô nessaf yn eofn, canys trwy nerth Duw, mysi a fyddaf barod i chwi; och! Pa amser y dibennwch lygru gair Duw trwy eich traddodiadau.

'Chwychwi a ddywedwch, Sr, tu dalen—— Y dywed 'Mr. *Tombs*, os plant ydynt aelodau o'r Eglwys weledig, 'nhwy a dylent gael eu bedyddio.

Nid wyfi'n cofio fod Mr. *Tombs* yn dywedyd felly, ac os ydynt aelodau o'r Eglwys weledig cyn eu bedyddio, ni allant gael eu gwneuthur yn aelodau trwy fedydd; Peth anghyffon ydyw dywedyd wrth ddyn, dewch i'r ty hwn, neu ddywedyd dewch â'r cyfryw blentyn i'r ty, yr hwn oedd ynddo o'r blaen.

*Canys bedydd*, (meddwch chwi) *ydyw'r drws trwy ba vn y daethom i Eglwys Duw, y rhai ac y sydd yn dywedyd nad ydym aelodau o Eglwys Duw, a ddylent* (meddwch chwi) *ddangos ini le eglur o'r scrythur am daflu o honynt allan,* (*os gallant*) *o vn Eglwys er amser* Adda, *hyd yr oes ddiweddaf o ba vn yr oedd plant bychain yn aelodau*, &c. Ac drachefn yr ydych yn dywedyd; *Os taflwyd hwynt allan pa fodd nad ydys yn cwrdd ag vn gair o'r scrythur yn crybwyll am dano, gelwch am scrythur oddiwrth y rheini ac a fynent wanhau'ch ffydd chwi o herwydd y braint hwn.*

*Atteb* 1. Mysi a attebais y peth hyn eisioes, yr ydym ni yn dywedyd ac yn profio, na dderbynniwyd babanod erioed mewn vn modd i'r Eglwys Efangylaidd, ac am hynny ni ellir dywedyd iddynt gael eu taflu allan o honi.

2. Yr

2. Yr ydym ni yn neccau y peth yr ydych chwi yn ei haeru heb ddim prawf, sef, fod babanod yn wastadol yn aelodau o'r Eglwys weledig er amser *Adda*; Profiwch os gellwch, iddynt hwy gael eu derbyn megis aelodau cyn yr ystâd eglwysig cyscodawl hwnnw, yr hwn a ordeiniwyd yn nheulu *Abram*.

3. Y cyntaf-anedig ymmhlith yr *Israeliaid* oeddynt sanctaidd, yr oedd gan feibion yr offeiriaid hawl i weinidogaethu neu i'r offeiriadaeth; dangoswch chwi pa le y taflwyd hwynt allan, ac y collasant y ddau fraintiau hynny; a'r fordd hynny yn vniawn sydd raid i chwi gymmeryd i Atteb ych hunain o ran cymundeb eglwysig Plant.

Y mae 'n rhaid i'r Atteb fod yn llyn, fe gymerwyd ymmaith ac fe ddarfu am dan eglwys genhedlig, a chymundeb eglwysig ac offeiriadaeth yr Iddewon, ac yn y modd hynny fe derfynnodd yr holl ddefodau oddiallan a'r braintiau oedd gan blant yr Iddewon.

4. Y rhain oeddynt megis rhoddion a adawyd yn yr hên ewyllys, tan yr hên destament; eithr fe wnaed ewyllys newydd, neu fe a wnaeth Crist ei ewyllys neu destament diweddaf; ac yn ei ewyllys neu destament diweddaf hwn, nid ydys yn gadael, i fabanod vn o'r defodau hyn oddiallan neu fraintiau (fel yr ydys yn ei galw gennych chwi.)

5. Nid os dim achos mewn *ewyllys newydd*, yn ewyllys neu Destament diweddaf crybwyll am negyddiaethau; nid yw hyn yn arferol; nid y peth nis adawyd, eithr y peth adawyd, am hynny ofer yw yr ffrost hyn, ni wnaeff ddim daioni i'ch pobl chwi y rhai ydynt yn ansiccr yn eu crediniaeth o'ch traddodiadau chwi.

6. Sr, Yr ydych yn erchi iddynt alw am scrythur oddiwrth yr rheini ac y sydd yn gwrthwynebu eu arferiaid mewn modd o negyddigaeth, sef yr hon sydd yn gwahardd cymmundeb eglwysig plant neu yn dywedyd pa le y taflir hwy allan; och! mo'r beryglus yw eich athrawiaeth! oni ddichon y *Papistiaid* ddywedyd wrthynt hwy hefyd, pa le yr ydych yn darllen, i ddwfr sanctaidd neu wisciau sanctaidd gael au gwahardd? fe orchymynnodd *Moses* daenellu y bobl â dwfr, a llaweroedd o ddefodau eraill ac oeddynt ymmhlith yr Iddewon; nyni a ddywedwn fod y *Papistiaid* yn galw am scrythurau, pa le y gwaharddwyd y pethau hynny y sydd yn eu mysc hwy, a pha amser y taflodd Duw hwy

allan o'r eglwys? Pa draddodiad dynol ni ellir ei ollwng i mewn trwy'r drws hyn?

*Chwychwi a ddywedwch, y tramgwyddasei yr Iddewon angbrediniol, pe buasei* Paul *yn taflu allan eu plant o'r eglwys ac yn eu gosod yn yr un cyflwr â phlant paganod.*

*Atteb.* Yr ydych chwi yn cyfeiliorni, fe ddywedodd wrthynt yn eglur nad oedd plant y cnawd yn blant Duw, hynny yw, o'r addewid, neu o'r eglwys wir Efangylaidd, megis y cyfryw, *Rhuf.* 9. 5, 6, 7. Etto ni thramgwyddasant; ie, fe a ddangosodd iddynt nad oedd ganthynt hwy na'i plant ddim braint oddiallan ychwaneg uwchlaw y cenhedloedd, ac na thalei enwaediad ddim iddynt, ac etto ni thramgwyddodd yr Iddewon crediniol wrth yr athrawiaeth hwn; Sr, yn ddiammeu pan elwir yr Iddewon, ni fyddant o'ch meddwl, chwi yn pledio trwy yr hên gyfammod, hawl eu plant i gymmundeb eglwysig megis y cyfryw.

'Chwychwi a ddywedwch tu dalen—— Ein bod ni yn
' barnu fod y rhai sydd o oedran yn sanctaidd, o herwydd
' eu neilltuo i'r Arglwydd trwy broffes o sancteiddrwydd,
' er ei fod yn rhy fynych yn broffes rhagreithiol, ac oni
' chawn farnu fod plant (meddwch chwi) y ffyddloniaid yn
' sanctaidd y rhai y mae Duw yn eu galw felly, &c.

*Atteb.* Fe a alwodd Duw holl Dy *Israel* yn sanctaidd, o herwydd iddo ei neilltuo iw hun, rhieni a phlant hefydd, mewn ystâd eglwysig ddeddfol, pa vn ai bod y rhieni yn bobl crediniol neu ffyddloniaid, neu wir feinctiau neu peidio; eithr Duw tan yr Efengyl ni neilltuodd neb i fod yn aelodau o'r eglwys Efangylaidd, eithr y cyfryw ac vdynt o oedran, sef y crediniol ag sydd yn gyfrannogion o wir sancteiddrwydd; nid oes, meddaf drachefn, ddim crybwyll am sancteiddrwydd ammodol cyfattebol tan oruchwiliaeth yr Efengyl, disprofiwch hyn os gellwch.

2. O ran sancteiddrwydd Plant y rhai ydynt o briod, yr ydys yn eu galw hwy yn sanctaidd, neu'n hâd sanctaidd gan yr Arglwydd, *Mal.* 2. 15. *Onid vn a wnaeth efe?* (sef vn wraig) *a'r yspryd yngweddill ganddo, a pha ham vn?* i geisio hâd, hynny yw, hâd duwiol neu sanctaidd trwy briodas gyfreithlon, pa vn ai bod y gwr a'r wraig yn rhai a cyssylltwyd ynghyd mewn priodas sanctaidd, yn credu neu peidio, y mae eu hâd yn hâd duwiol neu sanctaidd a'r yr achos hyn, ac nid yn vnig hâd y crediniol, (megis yr ydych chwi yn mynegu)

negu) eithr hâd yr anghrediniol hefyd, ac felly nid ydyw yn sancteiddrwydd ammodol ysprydol, fel y mynnwch chwi ei fôd.

*Yr hâd a anwyd i'r ffyddloniaid* (meddwch chwi) *trwy briodas gyfreithlon, ydynt hâd Duwiol neu sanctaidd, y mae Duw yn galw y cyfryw a anwyd iddynt yn blant iddo ei hun*, Ezec. 16. 20, 21. *Megis yr ydoedd gynt felly y mae y nawr tan y testament newydd y rhieni ac a neilltuwyd i'r Arglwydd trwy fedydd, a elwir yn genhedl sanctaidd.*

*Atteb.* Yna y mae'n canlyn oddiwrth ych rhesswm chwi, nad ydyw plant y credadwy a anwyd mewn priodas cyfreithlon yn hâd sanctaidd, hynny yw, plant o ordderch ydynt, neu rai a daflwyd ymmaith; eithr y mae'n rhaid i chwi yn gyntaf brofio, fod eu priodas yn anghyfreithlon, a bod y sancteiddrwydd a grybwyllir yn y lle hyn, y cyfryw ac y ddywedwch am dano, cyn y galloch ddwyn y pwngc hwn.

2. Y plant oll ac oeddynt yn nhy *Israel*, oeddynt yn sanctaidd mewn modd cyscodawl ac ammodawl y pryd hynny yn yr eglwys genhedlig honno; yr ydych chwi yn cymmyscu sancteiddrwydd mewn modd cyscodawl ac ammodal, â sancteiddrwydd priodasol, y rhai ydynt annhebyg ddigon yn eu naturiaeth.

3. Nyni a ddywedwn fod y credadwy ôll ac a fedyddir tan yr Efengyl yn sanctaidd mewn ystyr ysprydol, ac yr ydys yn eu galw, 1 *Pet.* 2. 5. Yn genedl sanctaidd, yn offeiriadaeth frenhiniol; eithr nid os neb yn perthyn at y genedl sanctaidd hon ond pobl o oedran y rhai ac y sydd yn credu, y rhai a elwir yn feini buwiol yn adeiladu ty ysprydol, 1 *Petr* 2. 5, 6. Nid eglwys cenhedlig ydyw, yn cymmeryd i mewn rieni ai hâd cnawdol, megis y cyfryw, megis yr ydoedd tan y gyfraith; eithr pe baem yn caniattau, a'r gyfrif ymresfymiad, i bawb ac a dderbynniwyd yn amser yr Efengyl megis aelodau o'r eglwys weledig, gael eu galw yn sanctaidd trwy gariad oddiwrth y broffes sanctaidd honno a wnaethant, etto ni wna hyn ddim daioni i chwi, hyd oni ellwch brofio i blant y credadwy gael eu derbyn trwy ordinhâad Duw megis aelodau o'r eglwys yn amseroedd yr Efengyl, mal yr oeddynt i eglwys cenhedlig yr Iddewon tan y gyfraith.

*Yr ydych chwi yn dywedyd i* Paul *alw y Christnogion yn seinctiau, yn ei Epistolau at eglwysi'r cenhedloedd,* Rhuf. 1. 7. 2 Cor. 1. 1. *O herwydd yr oeddynt gwedi eu neilltuo trwy gyfammod a rhwymedigaeth bedydd i fod yn eiddo'r Arglwydd; ac nid yw y rhieni credadwy yn unig eithr eu plant hefyd yn Seintiau, a thros hyn yr ydych yn nodi y testun hwn,* 1 Cor. 7. 14. *Eithr y nawr y maent hwy'n sanctaidd.*

*Atteb.* Profiwch fod plant y credadwy yn cael eu cynnwys ymmhlith y seinctiau y scrifennodd *Paul* attynt, ac i bod nhwy yn aelodau o'r Eglwys; yr ydym ni yn ei lwyr wadu, a ydyw yn rhaid i bobl goelio hyn am i chwi yn unig, ei ddywedyd ef? trwy awdurdod a nerth pwy gan hynny y mae'n rhaid eu ffydd hwy sefyll yn y matter hwn?

Sr yr ydych yn dyfod â'r testun, am ba vn yr ydys yn ymryffon yn unig i brofio ych haeriad chwi; a ydych yn gwneuthur mal gwr call a dyscedig yn y peth hyn? os ydyw'r sancteiddrwydd a grybwyllir yn y testun hwn yn gwneuthur babanod i fod yn seintiau, profiwch ych esponiad oddiwrth ryw scrythur arall; pa beth oni's gellwch wneuthur, rhoddwch i fynu y matter, a chyfaddefwch ych cyfeiliornad a'ch anwybodaeth; canis nid oes vn scrythur o ddeongliad priod, hynny yw, eithr fe ellir ei chadarnhau oddiwrth ryw le neu leoedd eraill yn y scrythur lân.

Ac y nawr yn gymmaint a bod Mr. *Burkit* yr hwn yw wr dyscedic ac yn dala bedydd-plant yn ymreffymmu yn ei Lyfr diweddar tros fedyddio plant oddiwrth y testun hwn, mal yr ydych chwi yn gwneuthur, ac y darfu imi yn fy attebion iddo ef ych cyflawn atteb chwi ill dau, myfi a ail-adroddaf yma ei reffymmau ef, a'm atteb i: y mae efe yn ddywedyd fod *Paul* yn y geiriau hyn yn rhoddi atteb i bryder y *Corinthiaid*, ac yr ydych chwi yn dywedyd fod yr Apostol yn y geiriau hyn yn rhoi atteb i ymholiad oddiwrth y *Corinthiaid* crediniol sef, *Pa vn ai dylasei y cyfryw ac oedd ganddynt wragedd paganaidd ac anghredadwy eu gossod nhwy ymmaith yngbyd a'u plant, megis y gwnaethpwyd yn nyddiau* Ezra? *y mae'r Apostol yn dangos iddynt na dylent wneuthur felly; canys* (medd efe) *y wraig digred a sancteiddir trwy y gwr credadwy, Pa fodd y sancteiddir hi? nid yn ei bemw, eithr yn ei harferiad* (medd Mr. *Burkit*) *felly ac mal y gallent fyw yn gyfreithlon yngbyd, ac ymddiddan a'i gilydd; ac am eich plant, y maent hwy yn sanctaidd nid trwy sancteiddrwydd*

personol

*personol a glunawl oddifewn, oblegid y mae'r plentyn gwryw sancteiddiaf yn cael ei eni mewn pechod, ac wrth naturiaeth yn blentyn digofaint, eithr trwy sancteiddrwydd ammodol cyfattebawl oddiallan, nid ydynt gyfredin neu aflan, mal plant yr anghredadwy, eithr yn addas i fod yn gyfrannogion o fraintiau'r Eglwys, o ba rai nid yw plant yr angbrediniol yn addas* fel hyn *Mr.* Burkit.

Y nawr yr wyfi'n Atteb fel yr attebais iddo ef; nid ydych chwi mo'r annwybodus, eithr ych yn gwybod yn dda ddigon i'r testun hwn gael ei agoryd gan amryw o wyr dyscedig, yn gystal gan y rhai a oeddynt yn dal' bedydd-plant, ac eraill nad oeddynt, y rhai ydynt yn profio nad yw'r sancteiddrwydd a ddywedir am dano yn y lle hwn, y fath sancteiddrwydd ammodol cyfattebawl oddiallan ac yr ydych chwi yn breuddwyddio am dano: yn y lle cyntaf yr ydych yn dywedyd yn vaiawn, fe scrifennodd y *Corinthiaid* at St. *Paul* am y matter hynny yn neilltuol, sef, pa vn a'i gallesi 'r gwr credadwy fyw neu gyd-trigo gyda'r wraig ddigredd, *&c.* yn gymmaint ac y mae tueddrwydd a chyssylltiad y testun yn agor y matter, ac yn dangos pa fath sancteiddrwydd y mae'r Apostol yn ei feddwl, sef sancteiddrwydd priodasol yn vnig, canys pe buasei yn gwneuthur eu priodas yn ddiddim; yna fe fuasei eu plant yn aflan neu'n anghyfreithlon, hynny yw, yn fastarddod; canys, er gwir yw, nad ydoedd y peth, mal y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd o barthed gwyr a phytteiniaid, eithr o barthed gwyr a gwragedd, etto y mae efe yn dywedyd yn eirwir, ei fod oblegid cyfreithlondeb eu priodas, megis yn amser *Ezra*, pan orchymynnwyd i rai offod ymmaith eu gwraged, o herwydd fod eu priodas yn anghyfreithlon; *ynawr* (medd efe) *y cyfryw ac ydoedd sancteiddrwydd neu sancteiddiad y wraig neu'r gwr digrêd, felly yr ydoedd sancteiddrwydd neu sancteiddiad y Plant, a hyn y mae Mr.* Burkit *yn ganiattau i fodyn sancteiddiad priodasol*; felly ac mal y gallent gyd-trigo yn gyfreithlon ynghyd, megis gwr a gwraig: ac yn ddiau os cafodd plant oddiymma sancteiddiad ammodol cyfattebawl oddiallan, fe ganlynei hefyd, y cai'r gwr neu'r wraig digrêd y fath sancteiddiad ammodol cyfattebawl oddiallan yn yr vn modd, a hyn a agorei yr vn drws i fedyddio'r gwr neu'r wraig digrêd; oblegid oni all vn arall ymresymmu yn llyn; y mae'r gwr digrêd yn sanctaidd, neu gwedi ei sancteiddio trwy'r wraig gredinioI, ac am hynny

 fe all

fe all neu ddylei gael ei fedyddio trwy rinwedd ei ffydd hi : y mae Mr. *Burkit* yn ddarllen y gair ( i'r ) gwr crediniol, ac yn wîr yr wyfi'n gweled fod y gair-*Groeg* ἐν yn cael ei gyfieuthu felly mewn mannau eraill.

Gadewch ini ystyried pa fodd y mae'r Apostol yn dywedyd sef, o ran peth presennol, neu beth a aeth heibio; am hynny y mae efe yn arferyd yr Amser a bassodd ἡγίασται, a sancteiddiwydd, ie, y mae'n debygol i fod efe yn dywedyd am sancteiddiadd pan oeddynt ill dau yn anghrediniol; oblegid y mae efe yn dywedyd ἡγίασται ddwy waith yn yr amser a bassodd, ac y mae efe yn crybwyll am yr Anghrediniol yn wahanedig, eithr am y crediniol heb yr ymadrodd o'i ffydd, tan enw gwr neu wraig; ac a ddywed, eich plant mewn dosparthiad gyda gwahaniaeth, yn gystal y rheini a oedd iddynt cyn bod vn o honynt yn credu, a chwedin ; ac os felly yna y plant a anwyd iddynt pan oeddynt ill dau yn anghrediniol, oeddynt mor sanctaidd a'r rheini a anwyd gwedi i vn o honynt gredu, a pha sancteiddiad ydoedd yn y plant gan hynny a debygwch chwi? nid dim ychwaneg nag y sydd yn y plant oll ac a anwyd o briod, pa vn ai bod eu rhieni yn credu neu peidio ; ac y mae yr ystyr hwn yn cael ei gadarnhau ymmhellach, yn gymmaint a bod ἁγιασμὸς sancteiddiad yn arwyddocau'r vn peth â diweirdeb, 1 *Thes*. 4. 7. Yr ystyr gan hynny sydd yn llyn, y gwr digrêd a sancteiddir iw wraig yr hon a arferir yn gyfreithlon ac yn ddiwair, megis gwr heb odineb o ran ei wraig ei hun, pa vn ai crediniol neu anghrediniol, ac am hynny, nid yw ef i wrthod: A'r ystyr hwn yn vnig a wasanaetha bwrpas yr Apostol; Rhesswm ydyw'r geiriau, pa ham y gallent fyw yn gyfreithlon ynghyd ; y mae'n rhaid cymmeryd y rhesswm oddiwrth y peth nad yw ddigwyddol eithr dilys ; Am hynny byddent fyw ynghyd, Canys er bod vn o honynt yn anghrediniol, etto y mae priodas yn parhau, y maent yn wr ac yn wraig, ac yn cael eu sancteiddio y naill i'r llall, o ran mwyniant diwair y naill o'r llall; ac nid yw bechod iddynt hwy gymdeithasu ynghyd, er fod vn o honynt yn anghrediniol, canys anrhydeddus yw priodas ym mhawb, ie, yn yr anghredadwy, a'r gwely dihalogedig, *Heb*. 13. 4. A sancteiddiad ac anrhydedd ydynt eiriau (fel y mae vn yn dal' sulw) o'r vn ystyr yn y matter hyn, 1 *Thes*. 4. 7.

Ynawr

Y nawr gan ganiattau hyn, yr hwn yn wîr y mae'n anghenraid i wneuthur, wrth aflendid y mae'n rhaid dirnad *Basdarddiad*, ac wrth sancteiddiad, y rhai a anwyd o briod megis yn *Mal.* 2. 15. Canys nis oes dim sancteiddiad arall yn anghenrheidiol yn canlyn iw plant, am fod priodas eu rhieni yn gyfreithlon; gwelwch ddibenniad yr Apostol, *Pe amgen aflan y fyddei eich plant*; fe ddarfu i chwi adael i maes (*Pe amgen*) canys yr ydych chwi yn crybwyll am blant megis petrusder arall ac ydoedd yn y *Corinthiaid* am danynt, yr hyn ni ellir mo'i gasclu oddiwrth y testun neu ei arwyddocâad; eithr (*Pe amgen*) *aflan y fyddei eich plant* a ddygir i mewn megis resswm i brofio y peth a ddywedodd efe yn ddiweddaf, mal y mae'r drylliau ἐπεὶ ἄρα yn dangos, o herwydd y mae'r geiriau ἐπεὶ ἄρα mewn mannau eraill yn cael eu harferyd mewn modd o ymresymmiad yn gymmaint a *quomodo, tum*, o herwydd eu harferyd y pryd hynny; felly y mae, 1 *Cor.* 15. 14, 29. *Rhuf.* 11. 16. er brofio y peth a aeth o'r blaen; ac ymma y mae'r rhesswm yn anghysson oddiwrth anghyssonrwydd y ganlynei, pe na byddent yn caniattau y peth a oedd i gael ei brofio, ac y mae'n anghenhaid i'r ymadrodd fod yn ddiffygiol, ac y mae'n rhaid ail-adrodd rhyw beth i wneuthur yr ymadrodd yn llawn, megis ac pan y dywedir, *Rhuf.* 11. 6. Εἰ δὲ χάριτι, οὐκ ἔτι ἐξ ἔργων, ἐπεὶ ἡ χάρις οὐκ ἔτι γίνεται, ac i wneuthur y geiriau yn eglur, y mae'n rhaid i chwi chwanegu, ἐπεὶ εἰ ἐξ ἔργων, o herwydd gweithredoedd, ac felly ymma ἐπεὶ ἄρα εἰ ὁ ἄπιστος οὐκ ἡγίασται ἐν τῇ γυναικὶ τέκνα ὑμῶν. Canys os ni sancteiddiwydd y gwr digrêd iw wraig, y mae'ch plant, &c. Felly ac y mae rhesswm hwn yr Apostol yn gyflawn, sef, os na chai'r gwr digrêd ei sancteiddio trwy y wraig, yna y byddei eich plant yn aflan, eithr nid ydynt yn aflan, am hynny fe sancteiddir y gwr digrêd i'r wraig; y nawr y mae'r rhesswm cyntaf o'r gynnullddadl yn wrthddywediad, ni allei'r canlyniaeth fôd yn wîr, os ni byddei 'r ymadrodd hwn yn wîr, Plant oll y cyfryw pa le nid sancteiddiwyd y naill i'r llall ydynt aflan; ynawr os wrth sancteiddiad ymma yr ydys yn meddwl sancteiddiad priodasol, megis ac y profiais fod yn rhaid iddo fod felly, ac os wrth aflendid yr ydys yn meddwl y fâth aflendid ammodol, trwy ba vn yr ydys yn eu cau hwynt allan o'r gyfammod, pa vn ai o râs safadwy neu fraintiau eglwysig, fe fyddei'r ymadrodd yn ffugiol jawn, yn gymmaint a bod plant y rhieni y rhai ni chawsant i sancteiddio iw gilydd trwy

briodas, eithr a ymgyffeillasant trwy buteindra, megis *Pharez* a *Zara* o *Judah* a *Thamar*, *Jephthah* o *Gilead* a llaweroedd eraill oddifewn cyfammod grâs safadwy, a braintiau eglwysig; ac fel y gwnelom yr ymadrodd yn wír (heblaw pa vn y mae'r Apostol yn dywedyd y peth sydd ffugiol jawn) y mae'n rhaid ini ddeall y peth am aflendid trwy fastarddiad; canys nid yw wîr am vn aflendid arall, fod plant y rheini hynny oll, o ba rai ni sanctteiddiwyd y naill i'r llall, yn aflan; eithr y maent hwy ynawr yn sanctaidd; nid yw'r dernyn *νῦν δὲ*, *eithr ynawr*, yn Rhagferf o amser, yn y lle hyn, megis y dywed *Beza* yn vnjawn, eithr ἐπεὶ ἄρα mewn mann arall, ac felly *νῦν δὲ* (*eithr ynawr*) sydd ddernyn ymressymmiad yn cael ei arfer a'r dderbyniad rhessymmau, pa beth sydd yn dangos mae derbyniad rhesswm yr Apostol ydyw, ac am hynny fe ddylei gael ei ddeall am sancteiddiad yngwrthwyneb i'r aflendid a crybwyllwyd am dano; ond yn gymmaint ac nid yw'r aflendid hwnnw ddim arall ond bastarddiad ni ddichon y sancteiddiad gael ei feddwl am ddim peth arall heblaw cyfreithlondeb priodas; ac nid yw'r ystyr hwn ddim mwy annhebig, pan oedd bastarddod yn cael eu cyfryw ymmysc dynnion aflan yn *Deut*.23.3. Ac y mae ymādrodd yr Apostol yn gytgam â bri a geiriau'r Iddewon; a phaham y byddei'n rhyfedd debygu fod sancteiddiad yn arwyddocau cyfreithlondeb trwy briodas, ni's gwn, yn gymmaint a bod זרע אלהים *semen Dei*, *Hâd Duw*, yn *Mal*. 2. 5. Yn cael ei gyfieuthu gan rai y sydd yn dal bedydd plant, yn hâd sanctaidd, pa rai ydoedd y cyfryw blant (ni ellwch mo'i wadu) ac a anwyd o briodas cyfreithlawn; ac fel y galloch weled nad ydym ni yn vnigol yn dal y peth hyn, ac ystyr y geiriau a'r matter, attolwg cymerwch dystiolaeth amryw o wyr dyscedig; pa rai er hynny oeddynt tros fedydd plant, etto a wellont fod y testun hwn ymmhêll ddigon oddiwrth ei brofio ef.

*Jerom* (megis y mae gwr dyscedig yn dywedyd oddiwrtho) a ddywedd fod priodas yn sanctaidd o ran appwintiad Duw.

Gwelwch yn 50 o chamier *sic Ambrosium*, *Thomam*, *Anselmum exposuisse & tum* Swarez *appellat literalem sensum*; fel hyn y deonglodd *Ambrose*, *Thomas ac Anselm* y lle, a hyn a elwir gan *Swarez* yr ystyr llethrennol o hono.

*Melancton* yn ei nodiadau a'r y lle a ddywed fel hyn; *Am hynny y mae* Paul *yn Atteb*, *na ddylei priodasau gael eu diddymmu o barthed eu barnedigaeth anghyffelyb am Dduw*, *nid*

*yw'r*

*yw'r vn drwg yn taflu ymmaith y llall, ac o ran eu cysuro, y mae efe yn chwanegu megis rheswm, fod y gwr digred yn cael ei sancteiddio gan y wraig grediniol; fe sancteiddir bwyd; canys y peth sydd sanctaidd yn ei arferiad a ganiatteuir i'r credadwy gan Dduw; y pethau a waharddwydd tan y gyfraith, megis cig-môch a benyw yn ei aflendid a alwyd yn aflan; cyfglwm y rheswm sydd fel hyn; oni byddei arfer priodas yn rhyngu bodd i Dduw, fe fyddei eich plant yn fastarddod ac felly yn aflan; eithr nid yw eich plant yn fastarddod, am hynny y mae arfer priodas yn rhyngu bodd i Dduw, ac y mae'r gyfraith yn dangos pa fodd yr oedd bastarddod yn aflan mewn peth neillduol. Deut*——hyd yn hyn *Melancton* y mae *Camerarius* yn rhoddi yr vn ystyr megis ac y mae *Camier* yn dal' fulw.

Y mae *Musculus* yn ei eglurhâad ar y lle yn addef iddo ef gynt gamarfer y man hyn yn erbyn y bedyddwyr.

'*Camera* a'r y lle a ddywed (oblegid fe sancteiddiwyd y 'gwr digrêd) Cyfnewidiad anarferol o'r ystyr ydyw, hynny 'yw, sancteiddiwyd o ran arferiad cyfreithlon priodas, ca'nys (medd efe) heblaw hyn, fe fyddei'r peth felly, a bod 'eu plant yn afla[illegible] hynny yw, yn enllibus, ac nid yn gy'freithlon; y cyfryw ac ydynt sanctaidd (hynny yw, tra 'bo priodas) ydynt heb ddim sarhâad oll; y mae *Erasmus* 'yn dywedyd fel hyn a'r y lle, y mae babanod y rhai a 'anwyd o'r fath rieni, a bod vn o honynt yn griftion, a'r 'llall heb fod felly, yn sanctaidd mewn modd cyfreithlawn; 'oblegid nid yw ymchweliad llaill a'r gwr neu'r wraig yn 'dattod y briodas, yr hon a wnaethpwyd, pan oeddynt ill dau 'yn anghrediniol.

Ie, yr wyf yn cael difeinwr dyscedig jawn yn haeru bod yr henafiaid yn esponi y lle hyn yn y modd ymma, ac nid 'yn vn modd arall; ni chwiddes (medd efe) â neb erjoed ac 'a'i esponiodd ef am sancteiddiad ammodawl, hyd oni's cy'fododd ymrafael ynghylch yr Ailfedydd yn *Siermani*.

Ac yn gymmaint a bod Mr. *Burkit* môr goneft a chyfaddef fod y gwr digrêd yn cael ei sancteiddio o ran ei berthynas priodasol at y wraig mewn ffordd priodas, ymmha beth y mae efe cyn belled yn cyttuno â'r gwyr dyscedig hyn; ac gan fod y peth felly, pa fodd y mae efe yn haeru, mae sancteiddiad ammodawl a ddywedir fod yn y plant.

Ac wrth y peth yr ydym ni yn ei ddywedyd fe ymddengus nad ydym ni'n fengi'r fcrythur i ddal' i fynu farn barthol; ac er bod y gair (sanctaidd) yn cyfeirio ymma at y

peth

peth yr ydym ni yn ei haeru gydag eraill, etto y mae'r Apostol yn dywedyd y gwir er na chaniatteir fod plant paganod a anwyd o briodas gyfreithlawn yn fastarddod ddim mywach, na phlant Cristnogion; canys os pe gwnaed y briodas yn ddiddim, fe wnae hynny iw plant fod yn aflan neu o ordderch; a pheth e'r bod y gair *Groeg* yn arwyddoccau mewn cynnifer o leoedd, mal y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd, sancteiddiad ysprydol a neillduol at Dduw, etto dangoswch ini (meddaf fi) pa le y mae efe yn arwyddoccau sancteiddiaid ammodal cyfattebawl oddiallan yn y Testament Newydd; etto megis ac y mae vn yn dal' sulw, nid yw'r gair yn cael ei glymmu i fynu wrth yr ystyr hynny, megis y tebygir i fod efe yn meddwl; oblegid y gair ἁγιστεύω arferir tros *castimoniam servo*, megis ac y mae *Stephanus* yn ei Lyfr a elwir *Thesaurus* yn nodi oddiwrth *Demosthenes* κατὰ Νεαίρας, ymmha le y mae offeriaid *Bacchus* yn dywedyd fel hyn, ἁγιστεύω καὶ καθαρὰ εἰμὶ τῶ ἀνδρὸς συνουσίας, yr wyfi'r lân ac yn sanctaidd oddiwrth gyfeillach dyn; ac yn gymmaint a bod y geiriau ἁγνὸς, ἁγνεύω, ἁγνίζω, ἁγνεία, Ddiwair, i fod yn ddiwair, i wneuthur yn ddiwair, diweirdeb, yn dyfod oddiwrth yr vn gwreiddyn ac ἅγιος sanctaidd, pa vn ai bod ἅζω i anrhydeddu, neu ἀγαμαι i ryfeddu, megis ac y mae'r *Gramariaid* yn tybied, yn cael eu harferyd yn fynych ddigon am sancteiddiad yn y scrythur, ac ymmhob math o scrifennyddion *Groegiaid*; felly ac bod y peth y mae efe yn ei ddywedyd o ran arwyddocâad y *Gair* ἅγιος sanctaidd, na's gellir ei gymmeryd am (gyfreithlon) gwedi cael ei gwbl eglurhau, a ninnau gwedi cael ein cyfiawnhau oddiwrth gyhudded anghyfiawn y rhai a dalant fedydd Plant; sef, yn bod ni yn gwrthdroi'r gair i ffafrio ein barn neillduol ein hun: ac y nawr i ddibennu a'r hyn, eithr os ydyw y gair yn arwyddoccau sanctaidd, megis yr ydych chwi a'ch brodyr yn dywedyd, paham na allasit dywedyd fod plant y cyfryw, am y rhai y mae'r Apostol yn crybwyll, yn sanctaidd, yn gystal ac y dywedir fod y wraig digrêd yn cael ei sancteiddio; pa wahaniaeth sydd rhwng Sainctaidd a sancteiddio.

*Y mae Mr.* Owen *yn dywedyd, os nid yw plant y credinioł yn aelodau o eglwys Duw, yna y maent yn aelodau o deyrnas Satan yr hwn yw tywysog y byd hwn, os ydynt oddifaes yr eglwys, pwy obaith am eu cadwedigaeth sydd ganthynt? nid os dim iechydwriaeth y maes o'r eglwys,* Rhuf. 9. 1.

*Atteb.*

*Atteb.* Yr wyfi'n gobeithio fod fy ngwrthwynebwr yn *Broteſtant*; ond y mae'n rhaid i'm haeru wrth fy narllennydd, i fod efe yn y man hyn yn dala athrawiaeth *Pabaidd*, pa vn y ddarfu i'n holl ddifeinwyr *Proteſtanaidd* anrhydeddus gyhoeddi yn eglur yn ei erbyn; Pa beth? a os dim jechydwriaeth allan o'r eglwys weledig? na atto Duw; y mae'n ddiammeu gennyfi, fod llaweroedd o ddynion graſſol, y rhai a fyddant yn ddiau yn ſafadwy ac ydynt yn wîr gredu yngh rift, nad ydynt er hynny yn aelodau o'r vn eglwys wîr Efangylaidd; a gauwch i bawb oll allan rhag iddynt fod yn ſafadwy, ac nid ydynt aelodau o'ch eglwys chwi; ni alla'i feddwl ych bod chwi yn addef fod eglwys *Lloegr* yn eglwys wîr Efangylaidd, ac a gauwch chwi y cyfryw oll ac ydynt o'r cymmundeb hynny allan a deyrnas nefoedd.

2. Eithr o ran babanod y maent hwy oll yn cael eu geni yn blant digofaint, ac yr ydynt mewn gwirionedd yn nheyrnas Satan, hyd oni 's gwelo Duw fod yn dda i'w ſancteiddio hwynt; a'r cyfryw, ac y ſydd yn marw yn eu mebyd, ac ydynt gadwedig, yn ddiammeu y mae efe yn ſancteiddio eu naturiaeth aflan hwy; eithr y cyfryw oll ac ſydd yn fyw, ydynt yn aros yn nheyrnas Satan, hyd ni's adcenhedlir hwynt trwy air ac yſpryd Duw, gwedi iddynt dyfu i fynu i amſer dyalltwriaeth.

3. Am hynny fe ddichon rhai babanod fod yn aelodau, o'r eglwys anweledig neu gorph dirgêl Criſt (e'r nad ydynt aelodau o'r eglwys weledig) ac o'r ſâth fe ddichon fod rai ymmhlith plant yr anghrediniol yn gyſtal ac ymmhlith plant y crediniol; canys nid yw etholedigaeth grâs yn redeg yn vnig i hâd y ffyddloniaid, dywedwch faint y fynnoch, megis y dywedais o'r blaen.

4. Am hynny nid ydych yn gwneuthur yn dda am alw plant yn gwn, os nid ydynt oddifewn llên yr eglwys weledig.

*Chwychwi a ddywedwch mae etifeddiaeth yr eglwys ydyw'r addewidion nid i'r cyfryw ac ydynt oddiallan, ac am hynny*, meddwch chwi, *os ydyw'r plant oddiallan, y maent hwy ymmhlith y cwn, a pha addewid ſydd yn perthyn iddynt hwy*, Datc. 22, 15. *A pha lle nid oes vn addewid, nid os dim gobaith am jechydwriaeth*, &c.

*Atteb.* 1. Y mae'r addewid yn rhedeg i Ghriſt, ac i'r cyfryw oll ac y roddodd y tâd iddo ef, . eithr ni's gwyddom ni pwy ydynt hyd ni chredont,

2. Nid

2. Nid yw'r addewidion yn ettifeddiaeth y cyfryw oll ac ydynt aelodau o'r eglwys weledig, canys nhwy allant bedio a pherthyn at rai ac sydd ynthi hi, ac nhwy allant berthyn at rai ac nid ydynt ynthi hi; *yr ydych chwi yn tywyllu cynghor â geiriau heb wybodaeth.*

*Oblegid* 1. Nid ydych chwi yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng yr eglwys weledig ar anweledig. 2. Ac hefyd nid ydych yn gwahanu rhwng y cyfryw ac ydynt etholedigion yr Arglwydd mewn modd o ragordeiniad, a'r cyfryw ac ydynt ei eiddo mewn gweithred. 3. Ymmhellach, nid ydych yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng braintiau oddiallan, a gwîr fraintiau ysprydol oddifewn; ni all dim braintiau oddifaes, neu gymmundeb eglwysig oddiallan roddi i vn dyn hawl i jechydwriaeth, a'i osod ef tan addewid o hono.

3. Y mae gobaith ac achos o obaith oblegid jechydwriaeth y plant sydd yn meirw, e'r nad ydynt yn amseroedd yr Efengyl yn aelodau o'r eglwys weledig.

O herwydd fod Christ yn dywedyd *o'r cyfryw y mae teyrnas nefoedd*; Attolwg Sr, cymerwch ofal am yr hyn a ddywedwch; ni's gellwch brofio i'n jechawdwr bendigedig ddywedyd y geiriau hynny yn vnig mewn perthynas i blant y credadwy; nid wyfi'n gwybod dim achos pa ham y dylei rhieni digred fod yn enbyd am jechydwriaeth eu plant sydd yn marw, nhwy a allant (cyn belled ac yr wyfi'n gweled) gael cymmaint o achos i obeithio fod etholedigaeth Duw yn cyrrhaeddyd eu plant hwy sydd yn marw, ac a ddichon vn credadyn gael y gall gyrrhaeddyd ei blant ef; Beth pe bawn yn dangos cymmaint o gariad a gobeithio i Dduw gynnwys yn ei râs etholedig holl blant y credadwy a'r anghredadwy ac sydd yn marw felly, ac i bod nhwy trwy waed ac haeddedigaeth Crist yn cael eu sancteiddio ac y byddant safadwy.

Ni allei, pe bae fu marn felly, gael yn gyfiawn ei bwrw yn euog gan neb, eithr yr wyfi'n dywedyd, pethau dirgel sydd yn perthyn i Dduw, ac mi a beidiaf roddi vn barn a'r y peth hyn, eithr gadawaf ef i Dduw; eithr siccr gennyf, na chaiff vn plentyn mo'i farnu a'm feiau ei rieni; a ddichon rhieni wrth fedyddio eu plant i gwneuthur hwynt yn fafadwy? neu a ydynt hwy yn gwn, a rhaid iddynt gael eu barnu, os ni fedyddir hwynt gan eu rhieni? ac ni feiddiant wneuthur felly o herwydd na's gorchymynnodd Crist eu bedyddio hwynt.

4. Sx, Beth pe buasei gwr a'gwraig pan oeddynt yn aflan ac vn annuwiol cymddrwg ac vn rhai dynnion ac y sydd yn byw a'r y ddaiar, ennil llawer o blant, a chwedin iddynt hwy ill dau gredu a myned yn gristnogion da; a ydyw cyflur y plant hynny a ennillwyd, pan gredasant hwy, yn dda, a hwynthwy yn sanctaidd, ac ydyw y plant a oedd ganddynt pan oeddynt yn aflan ac yn ddynnion annuwiol yn ddrwg, ie cymdrwg ac y mae'n rhaid i cyfrif hwy yn gwn? och! Na bai Duw yn agorid eich llygaid? Nage, pe bae'r peth megis yr ydych chwi yn mynegu, fe ellir gofin pa vn ai fod yn beth annuwiol drwg ac anghyfreithlon i ddau annuwiol, anghrediniol ac anffyddlon briodi, pan ni's gallant ennill dim plant eithr y fâth ac yr ydych chwi yn alw yn gwn, canys ni ddywedwch chwi fod eu plant hwy yn sanctaidd ac y dylent gael eu bedyddio, ac nid ydynt oddifewn llenn yr Eglwys.

Eithr i ddibennu a'r y bennod hon, gadewch i'm ddywedyd gair wrthych chwi ac ydych rai crediniol, a gair hefyd wrthych chwi y rhai ydych anghrediniol, ac mi a âf yn y blaen ac y rhesswm nessaf.

Yn gyntaf attoch chwi y rhai ydych yn credu ac y mae gennych blant; os ydynt hwy yn sanctaidd ac yn etifeddion o'r nefoedd, megis y maent yn cael eu hennill ai geni o'ch cyrph chwi, mal y mae Mr. *Owen* ac eraill ac y sydd yn dal bedydd plant yn haeru, yna ni raid i chwi gynnhyrfu mo'ch meddyliau oblegid ych plant meirw, e'r na chawsont mo'i bedyddio, canys nid bedydd sydd yn eu gwneuthur hwynt yn sanctaidd yn ôl caniattâad Mr. *Owen*, eithr o herwydd i bod hwy yn blant i chwi; trwy eich ffydd chwi y maent hwy yn sanctaidd, megis y mae efe yn tebyg yn ddall ddigon.

2. Ac yn gymmaint ac nad yw bedydd yn perthyn iddynt hwy, pan ni orchymynnodd Christ mewn vn lle iw bedyddio hwynt, ac na ddichon chwanegu dim at eu iechydwriaeth, yr wyf yn rhoi fiars i chwi yn ofn yr Arglwydd na fedyddioch mo honynt hwy.

3. Eithr na chredwch Mr. *Owen*, nag vn arall yn y peth y mae efe yn ddywedyd, oni all ei brofio ef oddiwrth air Duw; yr wyf yn dywedyd wrthych oddiwrth gair Crist ei hun fod gennych achos gobaith o ran cyflwr y plant a fyddant feirw felly, eithr nid o herwydd i bod nhwy yn blant i chwi, eithr o herwydd eiddo'r cyfryw rai yw teyrnas nefoedd,

nesoedd, ac nhwy a allant fod yn etholedigaeth tragwy-dol grâs Duw, oblegid megis ac y dywedodd Dr. *Taylor*, ac y crybwyllais i o'r blaen, fe ddichon fod gan Dduw lawe-roedd o ffyrdd i ddynessu gwaed Crist i gadw a sanctei-ddio babanod ac y sydd yn marw, pa rai ni wyddom ni ddim am danynt; ac nid ydys yn gofyn gennym ni ddim mwyach iw bedyddio hwynt, neu roddi iddynt vn Sacra-ment, nag yr ydys yn gofyn gennym roddi iddynt y llall, sef, *Swpper yr Arglwydd*; a'r peth hyn a wybydd efe ryw ddydd i fod yn wîr, er nad yw yn ei weled ef ynawr.

*Och!* medd Mr. Owen, *na thaflwch mo honynt ymmaith o eglwys Dduw, o gysammod jechydwriaeth, ych plant annwyl ydynt, plant ych cyrph, plant ych addunedau: Och! dangoswch iddynt drugaredd Duw! Y mae eglwys Crist yn barod iw derbyn; och! na rwygwch hwynt ymmaith oddiwrth y corph cyfrinachol, o ba vn y maent hwy yn aelodau, gwelwch tu dalen*——

*Atteb.* Gochelwch chwi y rhai ydych rieni duwiol pa sâth athrawiaeth y dderbynioch; ni ellwch chwi daflu ych plant allan o gorph anweledig a chyfrinachol Crist, os ydynt hwy ynddo ef, na'i taflu hwy allan o'r gysammod jechy-dwriaeth: nage, nage, nid yw hyn ymmhwer dynnion trangcedig, ni allwn ni na'i derbyn na'i dwyn hwy i mewn i gysammod jechydwriaeth, na'i gwneuthur hwynt yn aelo-dau o gorph anweledig a chyfrinachol Crist; ni all neb wneuthur hyn ond Duw ei hun, Christ ei hun; y mae'r dyn ymma yn ych cynnhyrfu chwi â pethau gwrth-nyssig, athrawiaeth dieuthrol; fe ddichon gwyr da mewn rhyw bethau gyfeiliornu a bod yn dywyll, profiwch ei a-thrawiaeth, a chwiliwch y scrythyrau, na chymmerwch ddim a'r goel heb ei brofi.

O ran i chwi ddyfod â'ch plant i'r eglwys weledig, fel ac y byddont aelodau o honi, ac y caffont hawl i'r Sacra-mentau sanctaidd, y mae'n rhaid iddynt hwy ddyfod i mewn trwy ddrws adenedigaeth, nid trwy genhedlaeth, ie trwy'r vn drws ac y daethoch chwi i mewn, os ydych wîr aelodau o honi; ac am hynny gweddiwch tros ych plant, y maent hwy yn annwyl i chwi, dygwch hwy i fynu yn ofn yr Arglwydd; erchwch iddynt hwy ymofyn am wybodaeth o'i cyflwr naturiol, ac i gydnabod a chredu ynghrist Jesu, a dangoswch iddynt siampl dda; ni's gwn well cynghor i roddi i chwi o barthed ych plant.

Yn ail, attoch chwi y rhai ydych anghrediniol; na bydded arnod bryderau am gyflwr eich babanod annwyl y rhai sydd yn marw yn ei mebyd, nid oes achos enbydrwydd gennych am eu happusrwydd; eithr fe all ych plant y rhai sydd yn marw yn eu mebyd fod yn safadwy, yn gystal a phlant y ffyddloniaid, neu rieni duwiol; ymmhellach nid yw plant pobl duwiol yn fwy sanctaidd na'ch plant chwi, os ydoedd ych priodas yn vniawn a chyfreithlawn; oblegid y mae priodas yn anrhydeddus ymmhawb; y mae hi yn perthyn i'r angrhedadwy, ac ordinhâad sanctaidd Duw ydyw iddynt hwy, yn gystal, ac i'r credadwy; ond och! Bydded ych mawr ofal a'ch gwaith pennaf chwi geisio gwîr ffydd yn Jesu Christ am sancteiddiad priodasol i chwi eich hunain, ac onide sancteiddiad cyfreithlondeb priodas yn eich plant ni chwanega ddim at ych jechydwriaeth chwi na hwyntau; eithr hyd oni's credoch chwi a'ch heppil, ac y byddoch yn sanctaidd mewn modd ysprydol, nid oes gennych chwi na hwyntau ddim hawl i'r arwydd, yr hwn yw bedydd; canys megis ac yr ydym ni yn neccau fod gan plant y credadwy, megis y cyfryw, ddim hawl i fedydd, felly yn ddiammeu nid oes gan ych plant chwi ddim hawl iddo, etto y mae'r addewid i chwi ac i'ch heppil, pa amser bynnag ac y gwel yr Arglwydd fôd yn dda alw llaill a chwi neu'ch plant trwy bregethiad ei air, &c.

---

# PEN. XI.

## *Yn profio yn wrthwyneb i'r peth y mae Mr.* James Owen *yn ddywedyd, nad oes gan blant ddim hawl i fedydd, oblegid i Grist eu bendithio hwynt.*

Y *Mae Mr.* Owen *yn nodi,* Marc. 10. 13, 14, 15, 16. *A hwy a ddygasant blant bychain atto, fel y cyffyrddai efe â hwynt, fel y gosodai efe ei ddwylau arnynt hwy, ac y gweddiei* Mat. 19. 13. *A'r disgyblion a'u ceryddodd hwynt, eithr pan welodd yr Jesu hynny fe su yn anfodlon, ac a ddywedodd wrthynt, Gedewch i blant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch, canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd.*

'Gadewch

' Gadewch (medd Mr. *Owen*) ini ystyried yn y scrythur ' nodedig hon, pwy oedd y rheini a ddycpwyd at yr Ar- ' glwydd Jesu, y mae'r testun yn dywedyd mae plant by- ' chain oeddynt, y rhai a ddygwyd mewn breichiau; yr ' ydym ni yn cyfieuthu y gair παιδία, &c. am hynny, medd ' efe, yn gymmaint ai fod yn eglur fod y plant hynny ac a ' ddycpwyd, megis ac y mae'n debygol, gan eu rhieni ' duwiol, yn fychain jawn, nid oeddynt hwy eu hunain o oe- ' dran i ddyfod atto ef, neu i wneuthur proffes o'u ffydd ' ynddo ef.

' Pa ham y dycpwyd hwynt at Grist? fel y gossodai efe ' ei ddwylau arnynt hwy, ac y gweddiei; y rhai a ddae- ' thant â nhwy at Grist, a gredasant y gallent dderbyn ben- ' dyth trwy ossodiad dwylaw a gweddiau Crist, e'r nad oedd ' y plant bychain yn yr amser hwnnw yn deall beth a wna- ' eth Crist iddynt hwy; megis (medd efe) y dygodd rhieni ' eu plant at Grist i gael eu bendithio, felly yr ydym ni ' yn ei dwyn hwy at Grist trwy fedydd i dderbyn bendith; ' pa ham na allant hwy dderbyn bendith oddiwrtho ef ' ynawr megis yn nyddiau ei gnawd? a ydyw ei ymysca- ' roedd gwedi cyfyngu tuag attynt hwy?

*Atteb.* A ydyw hyn yn profio dim o ran cyfreithlon- deb bedydd plant, yr ydym ni yn cyfaddef ac yn cani- attau yn barodol digon mae plant bychain oeddynt hwy ac a ddycpwyd at Grist, ac iddo efe ossod ei ddwylaw arnynt ai bendithio hwynt; eithr ydyw hyn yn ficcrwydd ini am fedyddio ein plant bychain?

*Atteb.* Ac trwy gywilydd y dylech ddywedyd hyn, oni byddei gennych awdurdod oddiwrth Grist i wneuthur felly, pwy a ofynnodd hyn a'r ych dwylaw chwi? oni ellwch chwi, megis y gwnaeth yr hên dadau, wrth yr vn rhesswm ddyfod â'ch plant bychain at yr Arglwydd Jesu trwy roddi iddynt y Sacrament sanctaidd o Swpper yr Argl- wydd? y mae gennych hefyd gymmaint o sail oddiwrth air Duw i wneuthur hynny, ac i ddyfod â nhwy at y Sa- crament o fedydd.

In ddiammeu nhwy a ddygwyd at Crist i gael eu ja- chau oddiwrth ryw glefyd corphorol, canys ein Hargl- wydd a fendithiodd ac a jacaodd glefydau trwy ossod ei ddwylaw a'r y cleifion; ac nyni a wyddom oll i bod nhwy yn gymmwys i dderbyn y fendith honno, eithr nid y Sa- crament sanctaidd, yr hon vn vnig sydd yn perthyn i

ddynnion

ddynnion o oedran ac y sydd yn credu ac a allant hoil eu hun.

Gwîr yw, nid ydyw ymyscaroedd Crist gwedi ei cyfyngu, er ei fod ynawr yn y nefoedd tuag at jevaingc neu hên, eithr beth yw hyn i'r perwyl? ni arweiniodd ei ddoethineb ef iddo fedyddio plant bychain, ac efe a wyr pa fodd i agoryd ei ymyscaroedd tuag attynt hwy heblaw eich addysg chwi; a fynnwch chwi gyfarwyddo yr hollalluog, neu i Crist fendithio dychymmyg dynol? pe buasei gwedi ordeinio ganddo ef, fe fuasei yn ddiammeu yn ei fendithio i blant bychain, eithr ni ellwch profio mo hyn byth; ac fe ymddengys fod ych cynghaws yn ddrwg, pan fo'ch yn arferyd y fath ressymmau babanaidd â'r rhain ei amddiffyn ef, ac yn dyfod a scrythyrau cyn belled oddiwrth y matter.

*Chwychwi a ddywedwch i Grist weddio trostynt hwy a roddwydd iddo ef gan y tâd* Joan 17. 9. *ac os nid yw plant y ffyddloniaid o'r byd eithr eiddo Crist, Gadewch iddynt ddyfod atto ef a derbyn ei nôd yr hwn yw bedydd.*

*Atteb* 1. A roddwyd holl blant y credadwy i Grist, ac felly nid ydynt o'r byd hwn? a ydych chwi yn credu hyn? Sr, *Y cyfryw oll ac y roddodd y tâd i Grist a ddeuant atto ef*; a phôb enaid o honynt a fyddant safadwy; ynawr a ydyw holl blant y ffyddloniaid yn dyfod at Crist ac a gânt hwy oll fod yn gadwedig: neu oni ddylech chwi gael ych ceryddu yn ddirfawr oblegid y peth y scrifennasoch i ddallu llygaid ac i dwyllo plant y ffyddloniaid, wrth beri iddynt hwy dybied fod eu cyflwr yn dda ac yn ddiogel, pan fe allei y maent hwy mewn bystl chwerwder ac mewn rhwymedigaeth anwiredd? Ond eiddo *Abram* oedd *Ismael*, *Isaac Esau*; a *Dafydd*, *Absolom?* Ac och! Pa rai annuwiol sydd etto beunydd yn dyfod oddiwrth lwynau rhieni duwiol; a pha môr rasllawn y mae llaweroedd o blant rhieni annuwiol yn myned pan dyfont i fynu.

2. Ni wyddoch chwi pa vn ai bod y plant bychain hyn yn blant i rieni duwiol neu peidio, neu pwy oeddynt hwy a'i dygodd hwynt at Grist, fe allei fod eu rhieni yn bobl annuwiol am ddim ac y wyddoch chwi, ac etto fod rhai o'i cerynt neu cymydogion yn credu y bendithiei ac y jacheu Crist hwynt; am hynny y gallent eu dwyn hwy at Grist.

 3. Chwy-

3. Chwychwi a ddywedwch fod bedydd yn nôd Crist, eithr myfi a ddangosais ffolineb yr haeriad hynny o'r blaen; nid yw bedydd yn nôd gwahanedig a neillduol i blant Duw; eithr yr yspryd glân yw ei nôd ai sel ef, a'i naturiaeth sanctaidd a'i ddelw gwedi breintio a'r yr enaid.

4. Chwychwi a ddywedwch fod Christ yn ddig jawn wrth ei ddiscyblion am waharddd dyfodiad plant bychain atto ef.

*Atteb.* Oddiymma y gallwn gasclu nad ydoedd gorchymyn eu meistr am iddynt gael eu bedyddio, neu ddyfod y ffordd hynny atto ef, canys pe buasei felly, yn ddiammeu ni fuasei discyblion ffyddlon ein harglwydd vnwaith yn anturio gwahardd eu dyfodiad hwy at Grist.

Ymmhellach, mae'n debygol mae'r achos pa ham y gwaharddodd y discyblion hwynt, na ddygent blant bychain at ein Harglwydd bendigedig, ydoedd rag iddynt wrth lefain ei gynhyrfu ef, oblegid nyni a welwn fod plant bychain mewn tyrfa o bobl yn barod jawn i wneuthur felly.

Eithr yr ydych chwi yn ymmaros i ddangos pa ymyscaroedd mawr o gariad a amlygodd Crist tuag at y plant bychain hynny, a chwi a fynnech i fod felly, oblegid i fod ef yn gwybod i bod nhwy ynghyfammod Duw, *&c.* tu dalen———

*Atteb.* Wrth hyn fe debygir ych bod chwi yn meddwl, fod pob baban mewn cyfammod â Duw; canys yr wyfi yn dywedyd drachefn na ellwch chwi brofio fod y plant bychain hyn, yn blant i bobl grediniol a sanctaidd; er hynny mi a chwanegaf yn y man hyn y peth a ddywedais eisioes yn fy attebiad i Mr. *Burkit* ar yr achos hyn.

I ba vn ni roddes efe ddim atteb megis ac ni's gwnaeth i vn o fy attebion eraill, ond, fel y dywedwyd wrthym, y mae'n bwriadu gadael y peth i fyned heibio mewn distawrwydd, ac na scrifennyff ddim ychwaneg i'r diben hyn. Cymerwch ei resswm ef oddiwrth y testun hwn, yr hwn ydyw o ran sylwedd yn vn â'r peth yr ydych chwi ymmhellach yn sefyll arno oblegid ymyscaroedd a chariad Christ tuag at y plant bychain hynny.

*Os gall babanod* (medd efe) *dderbyn bendith Christ ar y ddaiar, a bod yn gyfrannogion o'i bresennoldeb ef yn y nefoedd, os ydynt hwy yn ddeiliaid teyrnas ei rás, ac etifeddion o'i deyrnas gogoniant, yna y mae ganddynt hawl yn ddiammeu i frain-*

*tiau*

*tiau deiliaid, ymmblith pa rai fel y gysammod nid yw'r vn lleiaf a honynt.*

*Atteb.* Yr ydym ni'n Atteb ac yn ymresymmu yn llyn i'r rhan gyntaf o'r gosodiad; sef,

Os oedd llaweroedd o'r Iddewon ac eraill, y rhai oeddynt ddynnion annuwiol, yn gallei derbyn bendith Crist, hynny yw, o gael eu jachau o'i clefydiau corphorol, yr oeddynt yn ddeiliaid Bedydd, a ydyw hyn yn ymresymmiad nerthol? pa fendith ychwaneg a ganiattaodd Crist i fabanod pan y gossododd ei ddwylaw arnynt, ni's gwyddom ni; canys dyna'r ffordd a arferodd Crist laweroedd o weithiau i jachau'r cleifion, ac felly y bendithiodd laweroedd o ddynnion, y rhai ni chawsant eu bedyddio erjoed cyn belled ac yr ydym ni'n darllen.

2. Yr ydym ni (fel y dywedais wrthych o'r blaen) yn naccau fod babanod yn ddeiliaid o'r eglwys weledig; am hynny os wrth deyrnas Grâs y meddwl neb ddim peth arall, y maent yn curo'r awyr; gwae fi! y rhai a ymressymma fel hyn ydynt yn beggian, heb brofio dim; heblaw hyn nid yw yn canlyn, meddaf eilwaith, er fod plant yn etifeddion teyrnas gogoniant, am hynny fod ganddynt hawl diammheuol i fraintiau deiliaid eglwys Duw, canys oddiyma y canlynei, fod ganthynt hawl i vn braint yn gystal a'r llall, *a bod iddynt gael cymdeithas â'r seinctiau a theulu Duw* yn gystal a bedydd.

*Y mae Mr.* Burkit *yn ymressymmu ymmbellach fel hyn, sef, ni ddylei gweinidogion Crist wrthod na gossod ymmaith oddiwrthynt y cyfryw ac y mae efe yn alw atto, ac y sydd yn cael eu derbyn ganddo; eithr y mae babanod yn cael eu galw gan Grist i ddyfod atto ac a dderbynniwyd ganddo ef, am hynny ni all, ni ddylei ni seiddia gweinidogion Crist wrthod mo honynt i gymmundeb gyda hwynt.*

Cymerwch fy *Atteb.*

*Atteb.* Fe wahaodd Crist luoedd i ddyfod atto ef, ac efe a'i derbynniodd hwynt cyn belled ai porthi hwynt â bara haidd a physcod, â'r fendith o jachau mo honynt oddiwrth eu clefydiau corphorol; a ddichon ei weinidogion ef gan hynny dderbyn y cyfryw oll iw cymmundeb.

2. Yn nyddiau Crist ar y ddaiar yr oedd llaweroedd, y rhai a ddywedir iddynt ddyfod atto ef, pan dderbynniodd efe hwynt iw bresenoldeb al gymdeithas; etto ni ddyllei

ei weinidogion fedyddio mo honynt neu derbyn iw cymmundeb ysprydol, ac yn wîr felly ni feiddiwch chwi dderbyn babanod (fy meddwl yw) i fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd, *&c.* ni a ddarllennwn am rai Phariseaid a chyfreithwyr a ddaethant at Grist, ac efe a'u derbynniodd hwynt iw gymdeithas, pa rai y mae'n eglur, a ddaethant i demtio ef; ac hefyd fe ddywedir i'r Saduceaid ddyfod atto ef, y rhai a ddywedasant nad oedd adgyfodiad o'r meirw; a ddichon gweinidogion Crist fedyddio'r cyfryw a'u derbyn iw cymmundeb; Am hynny yn wrthwyneb i'r peth y mae Mr. *Burkit* yn ei ddywedyd yn ei Lyfr; yr wyf yn haeru, nad oedd y pryd hynny vn ffordd gyffredinol arall o ddyfod at Grist eithr trwy dderbyniad iw eglwys; *Fe wahoddodd Crist y pechadurinid gwaethaf atto*; y rhai er hynny ni dderbynniasant mo hono; am hynny y mae'n rhaid i rai gael eu cau allan, a wahaddwyd yn rasiawn gan Jesu Grist.

Ni wna appeliad Mr. *Burkit* am brofio y rhesswm hyn, at St. *Marc.* 10. 13. Geddwch i blant bychain ddyfod attafi, canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd, mo'i waith ef; nid ydynt yn perthyn i deyrnas Grâs, hynny yw, i'r eglwys, canys os oeddynt yn perthyn neu o'r eglwys weledig, megis y cyfryw, yna nid yw raid iddo trwy fedydd i gwneuthur hwy i berthyn iddi; os ydyw Crist yn eu harddel hwynt megis deiliaid neu aelodau o'r eglwys weledig; nid yw raid, meddafi, i rhai sydd yn dala bedydd plant i dodi nhwy eilwaith yndd trwy fedydd; canys os megis y maent hwy yn hâd y credadwy y maent eisioes (*fidem fæderis*) nid yn vnig mewn cyfammod â Duw, eithr hefyd yn perthyn iw deyrnas neu eglwys ar y ddaiar; fe ddichon yr holl fyd weled beth y mae Mr. *Burkit* yn myned i wneuthur, sef, i roddi iddynt hwy yr hawl neu'r braint hwnnw yn vnig ac oedd ganddynt o'r blaen ac heb fedydd.

*A ydyw Crist* (medd efe) *yn cymeryd plant vn ei gofl, ac a gaiff yr eglwys i taflu hwynt allan o'i chofleidiau?*

*Atteb.* Oni allafi ymresymmu yn llyn; sef, a ydyw Christ yn derbyn pob math o ddynnion iw freichiau trugaredd i jachau eu clefydiau corphorol, pan yr oedd rhyw rai o honynt yn dyrras ac annuwiol? ac a gaiff yr eglwys ymmwrthod a derbyn y cyfryw oll iw chofleidiau?

Heblaw hyn, nid yw'r holl ganlyniaeth lledrithiog hyn yn gwneuthur dim mwyach tros fedyddio babanod, na tros iddynt

iddynt fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd, a braintiau eraill oll y sydd yn perthyn, yn gystal a bedydd, i'r rhai sydd o oedran ac yn credu ac a wnaed yn ddiscyblion.

*A ydyw Crist* (medd efe) *yn eu harddel hwynt o fod yn deiliaid yn ei deyrnas, ac ni chawn ni ganiattau iddynt ddim gwell sefyllfa nag yn nheyrnas Satan.*

*Atteb.* A ydyw Crist yn arddel babanod o fod yn ddeiliaid yn ei deyrnas ac etto ni's bedyddiodd mo honynt? (canys hynny ni's gwnaeth efe) ac a anturiwn ni i bedyddio hwynt, megis pe byddem yn ddoethach nag ef? y mae'n rhaid i'm drachefn droi mîn y cleddyf tuag at y fath biniwnau; os dygwyd plant bychain at Grist, ac na fedyddiodd efe mo honynt, yna y mae'n rhaid ini beidio a'i bedyddio; eithr fe ddygwyd plant bychain at Grist, ac ni fedyddiodd efe mo honynt; am hynny nid oes ini wneuthur felly.

Y mae gwirionedd a rhesswm yn hyn, megis ac y mae'n Dr. *Taylor* yn addef, eithr nid oes na'r naill na'r llall yn ei ymressymmiad ef.

Y mae Mr. *Burkit* ei hunan yn cyfaddef na fedyddiodd Crist ddim o'r plant hynny y rhai a ddaethant atto ef, ac y gymmerodd efe yn ei freichiau ac a fendithiodd, o herwydd na fedyddiodd efe neb oll â'i ddwylaw ei hun. *Joan* 4. 1, 2.

Yn gymmaint gan hynny a bod Crist ei hun, yr hwn ydoedd Dduw, yn rhagweled pa fath ymryson a adgyfodei o barthed bedyddio plant, pe buasei ei ewyllys ef iddynt gael eu bedyddio, oni fuasei efe yn y cyfamser hwnnw yn gosod y peth yn ddilys ac yn eu bedyddio hwynt, neu'n rhoddi gorchymyn iw ddiscyblion wneuthur felly.

Od yw babanod gan hynny mewn cyflwr mor ddiogel ac y mae efe yn dywedyd; sef, yn ddeiliaid o deyrnas grâs Crist, gadewch ini i gadael nhwy yn llonydd, canys ni allwn wrth eu bedyddio hwynt eu gossod mewn gwell cyflwr nag y maent ynddo, heb ddim awdurdod oddiwrth Grist; ac gan beidio mo'i bedyddio ni allwn eu gossod mewn gwaeth cyflwr neu sefyllfa nag y maent ynddo heb fedydd. Y mae llawer o honynt hwy ac y sydd yn dal bedydd plant yn anfodlon â ni, oblegid na's gwyddom na all plant *Twrciaid* a phaganodd fod mewn cyflwr da yn gystal a phlant y credadwy, er nad ydym yn gwadu, na oes gan blant

 y cre-

y credadwy fwy o fûdd na phlant yr anghrediniol, sef; trwy weddiau, dygiad da i fynu, a Siamplau da eu rhieni, &c.

*Eithr*, medd Mr. Burkit, *a ddichon vn gwr doeth a da gredu, y byddei i'n jachawdwr ddywedyd y fâth eiriau cyffor dus oblegid babanod, a bod ei ymarweddiad ef oddiallan yn amlygu cymmaint o ewyllys da tuag attynt hwy, yn vnig gyda bwriad i fagludu a'n twyllo ni? yn ddiammeu efe a wnaeth hyn i annog ei weinidogion fel y gwnaent bob swydd gariadus tuag attynt hwy.*

*Atteb*. 1. Y mae efe yn cyfeiliorni, nid yw ein jachawdwr yn dywedyd ond ychydig jawn oblegid plant, a'r peth a ddywedwyd am danynt a ddywedwyd mewn mòdd damweiniol, yn cael ei beri ganddynt hwy y rhai a ddaethant â phlant bychain atto ef, *yr hwn a wahardd wyd gan y discyblion*, ac oddiymma y dywedodd yr hyn a ddywedodd; ymmhellach yr achos pa ham y dywedodd ein jachawdwr y geiriau hynny, a allei fod yn fwy er mwyn y rhieni, fel na byddent yn ofnus o herwydd cyflwr eu babanod ac oeddynt yn marw felly, nag i ddangos fôd vn ordinhâad yn perthyn iddynt hwy: canys pe buasei'r peth felly, yn ddiammeu ni fuasei'r discyblion yn gwahardd i'r cyfryw ddynnion ddyfod â'i plant bychain at Grist, y mae gan hynny yn rhesswm yn erbyn bedydd plant ac nid trosto, o herwydd fod y discyblion gwedi eu appwyntio gan eu meistr i fod yn weinidogion o'r ordinhâad hynny, i'r cyfryw rai ac yr oedd yn vniawn yn perthyn; ac pe buasei babanod yn ddeiliaid o honi, a fuasent hwy yn gwahardd neb i ddwyn babanod atto ef?

2. Nyni a allwn yn hytrach gan hynny gasclu, pe buasent hwy yn ddeiliaid *Bedydd*, y byddei Crist, gan na chrybwyllodd y fâth beth mewn vn modd ar yr achos hyn, yn hytrach yn ein gadael ni mewn magl, gan gymmaint ac na ddywedodd vn gair am dano ymma, nag ar vn amser arall.

3. Gan hynny yn gymmaint ac i Grist ddywedyd mor hawddgar oblegid plant, ac etto ni's bedyddiodd mo honynt, fe all hyn ein dyscu ni i farnu yn hawddgar am danynt hwy, a gwneuthur pôb swydd gariadus tuag attynt; eithr nid oes ini anturio roddi iddynt fedydd sanctaidd heb awdurdod Crist, ddim mwynag vn ordinhâad Efangylaidd arall, nid yw ddim beth y mae *Calvin* yn ei ddywedyd; nid yw bechod cadw'r cyfryw i maes o gorlan (gweledig) Crist

am

am ba ral ni roddwys vn awdurdod mo'i cymmeryd i mewn: ac nid oes vn rhyw bobl a barn mor gariadus ganddynt oblegid cyflwr plant sydd yn marw felly, na'r rheini ac yr ydys yn alw yn wyr yn ail-fedydd.

4. Fe ddarfu ini ddangos fod rhai ac ydynt gymmwys i dderbyn rhyw fath fendithion oddiwrth Grist, etto nad ydynt gymmwys i gael eu bedyddio. Nid ydym ni'n darllen i'r discyblion na neb eraill fedyddio'r plant bychain hyn.

Gwrthdd. *Trydych chwi ac ymeu yn atteb i hyn; fe allei iddynt gael eu bedyddio o'r blaen; eithr* (medd Mr. *Burkit*) *nid yw yn canlyn na fedyddiodd yr Apostolion y plant hynny, o herwydd nad ydys yn crybwyll am hynny; nid yw'r scrythur mewn vn man yn dywedyd i'r Apostolion eu hunain gael eu bedyddio; a gawn ni gan hynny gasclu na chawsant vn amser mo'i bedyddio?*

*Atteb.* Ni thal ddim, pa vn ai'n bod ni yn darllen neu peidio am i'r Apostolion gael eu bedyddio, yn gymmaint ac yn bod ni'n gwybod, mai orchymmyn a'i arfer ef ydoedd bedyddio discyblion, neu'r cyfryw ac a gredent ynddo ef; yr ydym yn darllen am luoedd o ddiscyblion ac y gawsant eu bedyddio, ac nyni a wyddom mae vn ydoedd ffordd Crist; y peth ac ydoedd ddyledswydd vn discybl, megis discybl, ydoedd ddyledswydd pob discybl, nid ydym yn darllen onid am ddwy neu dair eglwys ac y dorrasant fara ac a gadwasant Swpper yr Arglwydd; pe gallei vn ac sydd yn dal bedydd plant ond dangos ini orchymmyn am fedyddio plant, neu vn Siampl, pa le y bedyddiwyd babanod, ni byddem yn ammeu na allei y rhai bychain hynny fod gwedi eu bedyddio hefyd; eithr ni allant wneuthur mo hyn.

*A phan y mae Mr.* Burkit *a chwithau yn dywedyd, nad oes cymmaint o resswm am ollwng plant bychain i fwytta Swpper yr Arglwydd, ac y sydd am eu gollwng hwy i fod yn gyfrannog o fedydd.*

Yr wyf yn *Atteb*; yr ydym ni yn naccau hyn hyd yr eithaf; beth er fod y naill yn Sacrament o gychwyniad a'r llall o gadarnhâad? etto attolwg dalwch sulw, y gofynnir edifeirwch a ffydd ganthynt hwy ac y sydd yn cael eu bedyddio, ie, ffydd mewn gweithred ac edifeirwch, yn gystal a grâs mewn gweithred ac ymholiad, &c. i jawn farnu corph yr Arglwydd yn y cyfryw ac sydd i dderbyn

 Swpper

Swpper yr Arglwydd; pe buasit yn gofyn gan y cyfryw oll ac a oeddynt i gael enwaedu arnynt ediseirwch, a ffydd, megis yr ydys yn y matter o ollyngiad at fedydd, fe fuasyd yn dywedyd rhyw-beth; eithr y mae'r peth yn ymddangos o'r gwrthyneb; yr oedd gan blant Gwrywaid megis y cyfryw, hawl i'r enwaediad, eithr nid yw felly o ran bedydd.

*Chwychwi a ddywedwch na ossododd Crist moi ddwylaw ar blant bychain iw jachau oddiwrth glefydiau, o herwydd ni fuasses'r Apostolion mor greulawn a'u rhwystro hwynt i ddyfod at Grist i gael eu jachau oddiwrth eu clefydiau,* &c.

*Atteb.* A ydyw gan hynny yn fwy creulawn rwystro plant bychain o gael y fendith o'u jachau oddiwrth eu clefydiau corphorol, nag yw i rhwystro i gael bendithion y gyfammod, bendithion ysprydol? pa mor anaddas yr ydych yn ymresymmu.

Yr ydych yn chwanegu hefyd tu dalen—— *Ni fedyddiodd Crist mo honynt ar yr amser hwnnw, canys* (meddwch chwi) *yr oeddynt hwy gwedi cael eu bedyddio o'r blaen gan* Joan *Fedyddiwr; ac fe ossododd Crist ei ddwylaw arnynt iw bendithio hwynt;* meddwch chwi, Gossodiad dwylaw oedd yn canlyn bedydd, *Actau* 8. 17. *Heb.* 6. 2. *Y mae llawer o wyr yr Ail-fedydd yn cydnabod hyn, canys y maent hwy yn gossod eu dwylaw ar y cyfryw ac yr ydynt yn fedyddio* (meddwch chwi) *yn ail-fedyddio.*

*Atteb.* Nid ydym yn ail-fedyddio neb, taenelliad nid yw fedydd, *&c.* Eithr chwi a ddylasech yn y lle cyntaf brofio i *Joan* Fedyddiwr fedyddio rhai plant, canys hyn ni's gwnaethoch, ac ni ellwch bych mo'i wneuthur; ni gawn weled pa fath brawf sydd gennych am y peth yr ydych yn ei ddywedyd yn y man; o ran gossod dwylaw ar y crediniol ac y sydd yn cael eu bedyddio, y mae'r scrythur a grybwyllwyd gennych yn profio fod y peth yn ordinhâad Crist, eithr nid ar fabanod; ni ddyscodd ac ni arferodd yr Apostolion mo'r fath beth erjoed; er y mae'n wir, mae defod *Pabaidd* ydyw; oblegid megis ac y mae bedydd y crediniol gwedi cael ei lygru ai droi i fedydd plant, felly gossodiad dwylaw ar y crediniol ac oeddynt yn cael eu bedyddio a lygrwyd ac a newidiwyd gan yr eglwys gyfeiliornus ar fabanod hefyd.

*Chwychwi*

*Chwychwi a ddywedwch fod teyrnas Duw tan yr Efengyl yn cael ei gwneuthur i fynu o blant, ac o'r cyfryw ac fydd yn debyg iddynt.*

*Atteb:* Os wrth deyrnas Duw yr ydych yn meddwl yr Eglwys weledig, yr ydym yn gwadu hyn hyd yr eithaf; pan scrifennoch drachefn, profiwch, fod yr eglwys weledig tan yr Efengyl yn cael ei gwneuthur i fynu o fabanod, er nad ydym yn neccau nad yw'r eglwys tan yr Efengyl yn cael i gwneuthur i fynu o'r cyfryw ac ydynt megis plant bychain yn addfwyn, oftyngedig a diniwed, fe ddylei'r credinlol oll fod yn debyg i blant bychain mewn malis.

---

# P E N. XII.

## *Yn Atteb i Bennod ——— a feithfed reffwm Mr.* James Owen, *gan brofic na ddylei babanod gael mo'i bedyddio, o herwydd i'r cenhedloedd gael eu himpio yn y wir winwydden, pan dorrwyd ymmaith yr Iddewon; gan roddi cywir efponiad o* Rhuf. 11. 15, 16, *&c.*

RHuf. 11. 15, 16, 17. *Canys os fanctaidd y blaen ffrwyth, mae'r clamp toes hefyd yn fanctaidd, ac os fanctaidd y gwreiddyn, y mae'r canghennau hefyd felly; ac os rhai o'r canghennau a dorrwydd ymmaith, a thydi yr olewydden wyllt a impiwyd i mewn yn eu plith hwy, ac a'th wnaethpwyd o'r gwreiddyn ac o frafder yr olew-wydden*, &c.

Chwi a ddywedwch fod yr Apostol yn y fcrythur nodegig hon, yn dangos;

'Fod yr Iddewon, tra y buafont yn eglwys weledig 'Dduw, yn genedl fanctaidd, nid yn vnig y rhieni eithr 'eu plant hefyd, yr oedd y canghennau oll yn fanctaidd, 'o herwydd fod y gwreiddyn yn fanctaidd; *Abram* ac 'eraill o'r tadau oeddynt y gwreiddyn *Rhuf.* 11. 28. *Efau*

'51.

‘ 51. 1, 2. Oblegid I bod nhwy oddifewn cyfammod *A-*
‘ *bram*, y rhieni a'u plant oeddynt sanctaidd, gan iddynt
‘ gael eu neillduo i fod yn bobl priodol i Dduw, yn yr
‘ ystyr hyn yr oeddynt yn sanctaidd; o herwydd bôd y
‘ blaen-ffrwyth, sef *Abram* yn sanctaidd, yr oedd yr holl
‘ glamp toes hefyd yn sanctaidd: Fe gredodd *Abram* ac a dder-
‘ bynniodd gyfammod Duw iddo ei hun ac iw hâd megis yr
‘ oedd yn flaen-ffrwyth yr Iddewon, ac mal y blaen-ffrwythau
‘ a offrymmwyd i'r Arglwydd, *Lev.* 2. 3. 9. 10. 17. felly hefyd y
‘ rhieni cyntaf a sancteiddiodd holl genedl yr Iddewon nid
‘ â gwir sancteiddrwydd calon, oblegid llaweroedd o ho-
‘ nynt o'd lynt annuwiol, eithr â sancteiddrwydd ammodol,
‘ o herwydd iddynt hwy a'u hâd gael eu neillduo i'r Argl-
‘ wydd mewn cyfammod oddiallan.

‘ Chwychwi a ddywedwch am danynt hwy a dderbyn-
‘ niasant yr Efengyl ac oeddynt yn parhau i fod yn gan-
‘ ghennau sanctaidd a'r yr vn gwreiddyn sanctaidd, i bôd
‘ nhwy a'u hâd oddifewn cyfammod *Abram*, megis o'r blaen;
‘ na thorrwyd vn ganghen ymmaith, na bâch na mawr hyd
‘ ni's darfu iddynt wrthod yr Arglwydd Jesu; y rhai a
‘ gawsant eu torri ymmaith a dorrwyd ymmaith trwy
‘ anghrediniaeth *Rhuf.* 11, 20. *O herwydd eu hanghrediniaeth*
‘ *y torrwydd hwynt ymmaith*, am hynny y rhai a gredasant
‘ ynghrist (meddwch chwi) ni thorrwyd ymmaith, ac oni
‘ thorrwyd hwynt ymmaith, yna yr oeddynt mewn vndeb
‘ â'r gwreiddyn; gan gyfrannu o frasder y gwreiddyn,
‘ megis ac o'r blaen hwynt hwy â'u plant oeddynt gyfran-
‘ nogion o'u hên fraintiau, gan fod yn ganghennau sanctaidd
‘ heb i torri ymmaith; y mae'r rhai sydd yn erbyn bedy-
‘ ddio plant yn torri ymmaith y canghennau (meddwch
‘ chwi) y rhai ni thorrodd Duw erioed ymmaith, sef, hâd
‘ y ffyddloniaid: y maent hwy yn torri ymmaith y pren
‘ ffrwythlawn yn y winllan, ac yn dodi'r fwyall a'r y
‘ gwreiddyn, ac a'r ei ganghennau mewn modd rhyfygus.

‘ Yr ydych yn dywedyd i'r Iddewon wrthod grâs
‘ Duw yn yr Efengyl, fe wrthododd Duw y genedl hyn-
‘ ny, nid yn vnig y rhieni eithr y plant hefyd; ni chad-
‘ wodd Duw y canghennau wrth naturiaeth, eithr torrodd
‘ efe hwynt ymmaith *Rhuf.* 11. 17. Nid oddiwrth yr
‘ eglwys anweledig, o ba yn nid oedd yr anghrediniol
‘ yn aelodau; nid yw neb yn aelodau o'r eglwys an-
‘ weledig, heblaw yr etholedig; ni wrthododd Duw neb
‘ o'r rhieni, *Rhuf.* 11. 2. 2 *Tim.* 2. 9. ni thaflodd Duw ym-
‘ maith

'maith ei bobl y rhai yr oedd yn rhagwybod; y mae sail
'Duw yn sefyll yn siccr, am hynny nhwy a dorrwyd ym-
'maith trwy anghrediniaeth o fod yn eglwys weledig, o ba
'vn hwynt hwy a'u plant oeddynt yn aelodau.
'Y cenhedloedd (meddwch chwi) a impiwyd i mewn yn
'eu lle *Rhuf.* 11. 17. nhwy a'u plant a dorrwyd ymmaith,
'fe geiff y cenhedloedd a'u plant i himpio i mewn, a nhwy a
'gymmerwyd i mewn i'r vn braintiau ac oedd gan yr Idde-
'won——y mae'r vn braintiau (meddwch chwi) yn per-
'thyn iddynt hwy yn yr vn helaethder; canys nhwy a gaw-
'sant eu himpio i mewn i'r gwreiddyn hwnnw, oddiwrth pa
'vn y torrwyd ymmaith yr Iddewon.

*Atteb.* 1. Yr wyf yn Atteb, y mae gennych achos o fod yn ddeonglwr da o le trawsymsymudawl yn y scrythur, pan yr ydych yn seilio chwedl mor fawr arno; yr oeddym ni yn arfer dywedyd fod trawsymsymudiau yn gwasanaethu er amlygiad, eithr nid ydynt yn profio trwy resswm, nid ydynt yn profio gwirionedd er eu bod yn ei eglurhau; am hynny y mae'n beth rhyfedd ych bod chwi yn adeiladu desod, ordinhâad, ie Sacrament fel yr ydys yn ei galw, ar le trawsymsymudawl o'r scrythur.

2, Nid yw llaweroedd o bethau mewn scrythur trawsymsymudawl a chyffelybawl yn rhedeg mewn modd gogyfartal â'r peth yr ydys yn dysod â hwynt i eglurhau, ac am hynny nid ydynt yn rhedeg ar bedwar troed; fel y mae difeinwyr yn nodi.

3. Er hynny i gyd, nyni a ymchwiliwn ych resswm lledrithiog oddiwrth y lle dirgel hwn o'r scrythur; fe fuasei yn dda pe buasech yn dal sulw a'r y peth a ddywedodd St. *Paul* yn adnod 25. *Canys ni ewyllysiwn* Frodyr, *eich bod heb wybod y dirgelwch hyn, fel na byddoch ddoethion yn eich golwg eich hun, &c.* Ond y mae'n siccr gennyf, yr ymddangosai ych bod chwi yn annwybodawl yn y testun dirgel hwn a'r peth a gynhwysir ynddo; ac y mae arnaf ofn mae oddiymma yr ydych yn ddoeth yn eich meddwl eich hun: eithr i fyned rhagom yn y blaen; od oedd yr holl ganghennau, sef, plant holl dy *Israel* yn sanctaidd, yna yr oedd plant yr Iddewon anghrediniol yn sanctaidd hefyd, y rhai oeddynt o'r clamp-does hynny y ddywedwch am dano; ac os felly, paham yr ydych chwi yn ymresymmu oddiymma oblegid sancteiddrwydd ammodol plant y credadwyr yr oedd tan y gyfraith sancteiddrwydd mewn modd ammodol a chyscodawl; eithr plant rhieni duwiol, ynawr chwi a ddywedwch

dwch, neu'r holl glamp-toes sydd sanctaidd, o herwydd y gysammod a wnaethpwyd ag *Abram*, er nad oeddynt yn sanctaidd mewn modd ysprydol, etto meddwch chwi, mewn modd ammodol, oblegid yr oeddynt oll yn y gysammod honno oddiallan, ac ystâd eglwysig yr Iddewon; os wrth sancteiddiad ammodol, yr hwn ydoedd yn eglwys yr Iddewon yr ydych yn meddwl dim ychwaneg na chymmundeb eglwysig oddiallan, ac nid sancteiddrwydd ysprydol, a braintiau ysprydol; yna eu colled trwy gael eu torri ymmaith nid ydoedd cymmaint ac y mae'r Apostol yn mynegu, ac nid yw brasder cysammod *Abram* a'r wîr olewydden, mor felys ac yr ydych chwi yn haeru ei fod mewn man arall; ac nid yw gymmaint o fendith i'r cenhedloedd gael eu himpio i mewn i'r fath wreiddyn, neu olewwydden ac nid yw yn rhoddi gwell olew.

Beth y dal sancteiddrwydd ammodawl oddiallan heb wîr sancteiddrwydd ysprydol, ni wna ini nag i'n plant ddim daioni ychwaneg nag y wnaeth yr vn sancteiddrwydd ammodol oddiallan i'r Iddewon drwg ac iw plant tan y gyfraith: ie, ac ni waiff cymmaint ychwaith, canys nhwy a gawsant trwy'r gysammod hynny oddiallan lawer o fendithion daiarol ac oddiallan, megis ac yr oeddynt trwy'r gysammod honno yn meddiannu gwlâd *Canaan*, a gwladwriaeth yr Iddewon, megis eglwys genhedlig; pa fraintiau oddiallan nid ydynt gan y cenhedloedd credadwy neu anghredadwy a'u hâd tan yr Efengyl, am hynny nid yw gwîr y peth yr ydych yn ei haeru, sef, *fod yr vn braintiau yn perthyn i'r cenhedloedd a'u plant rhydd yn yr vn helaethder, canys fe himpiwyd hwynt yn yr vn gwreiddyn.*

Sr a oes gennym ni genhedloedd, *Gyssegr* ddaiarol, *Deml* sanctaidd oddiallan, gwlâd yn llifeirio a llaeth a mêl, llywodraeth *Dinasaidd* a llywodraethwyr o'n plith ei hun, megis yr ydym yn eglwys Efangylaidd trwy appwyntiad Duw, megis yr oedd gan yr Iddewon? a ydym ni tan addewidion o dryssori i fynu aur ag arian, ac os byddwn ostyngedig, i fyw mewn heddwch, ac i gael ein cadw oddiwrth ein gelynnion oddiallan; canys llaweroedd o'r fâth fraintiau ac addewidion a gaedd yr Iddewon a'u plant tan y ddeddf; y gwirionedd ydyw, ych sancteiddrwydd ammodol oddiallan, y gwreiddyn ar pren byw ni roiff, ond ychydig frasder i chwi eich hunain neu i'ch plant, os ystyrier wrtho ei hun ac yn neillduol, oddiwrth fendithion

ysprydol

ysprydol a sancteiddrwydd; beth a dal proffes symul oddiallan heb wir râs a hawl safadwy ynghrist, a siccrwydd o fywyd tragwyddol? beth y wna ychwaneg na dallu a thwyllo eneidiau y cyfryw broffeswyr cnawdol oddiallan a'r rhain? Peth yw ordinhâad heb Dduw'r ordinhâad? beth yw'r arwydd heb y peth a arwyddocceir? Peth yw'r lamp heb olew? Beth yw cistan heb dryssor; neu blisgyn heb cnewyllyn, neu enw Cristion heb wîr natur Cristion? yr ydych chwi yn dywedyd yn dalen—— *Y rhiani cyntaf a sancteiddiasant holl genedl yr Iddewon, nid â gwir sancteiddrwydd Calon, canys llawer oedd o honynt oeddynt ddrygionus, eithr â sancteiddrwydd ammodol, o herwydd i bod nhwy a'u hâd gwedi eu neillduo i'r Arglwydd mewn cyfammod oddiallan.*

Y mae'n dda gennyf weled ych bod chwi yn agoryd llygaid eich pobl; ynawr nhwy a allant weled pa ychydig ddaloni y ddichon y sancteiddrwydd ammodol hynny a'r gyfammod a wnaethpwyd ag *Abram* wneuthur iw babanod; nid yw yn unig, onid rhoddi iddynt enw, fel y gallont gael eu galw'n Gristnogion; A hon ydyw'r addewid sydd yn perthyn i'r ffyddloniaid a'u plant? a hynny ydyw bendith *Abram* a ddaeth ar y cenhedloedd? onid ydynt hwy yn fendithion ysprydol? ac onid sancteiddrwydd calon ac ysprydol ydyw? a ydyw hyn yn unig, o fod mewn modd oddiallan mewn cyfammod oddiallan a phroffes weledig yn cael eu neillduo i fod yn eiddo'r Arglwydd, a'u galw ar ei enw ef, pan yn ddiau ac mewn gwirionedd, nid ydynt felly mewn môdd ysprydol a safadwy? A hon ydyw'r gyfammod a siccrhawyd trwy lw Duw, yr hon sydd yn rhoddi cymmaint o ddiddanwch oblegid eich plant, megis y cyfryw, mal y darfu i chwi bledio o'r blaen am dani?

4. Ymmhellach, onid ydych chwi yn cyfaddef wrth yr hyn yr ydych yn ei haeru ymma, fod i ddwy gyfammod gael eu gwneuthur ag *Abram*, yn gymmaint ac nad oedd y gyfammod honno, yr hon a wnaethpwyd â'r holl glamp-toes neu holl dy *Israel*, megis yr ydych chwi yn haeru yn bennodol, yn gyfammod ysprydol; eithr cyfammod oddiallan? y mae'n siccr gennyf ych bod chwi'n credu fod cyfammod ysprydol a thragwyddol o râs gwedi cael ei gwneuthur âg *Abram* a'u holl hâd wîr ysprydol, a'i fod efe yn wreiddyn sanctaidd mewn modd ysprydol, trwy rinwedd y gyfammod ysprydol a gwîr Efangylaidd honno a wnaeth Duw ag *A-*

*bram*:

*bram*: Ac ôd oes ganddo glamptoes ef eyfan, y rhai ydynt oll yn sanctaidd mewn modd ammodawl ac hynny, mewn ystyr ysprydol, megis yr ydoedd efe ei hun, ac megis y rhoddwyd blaen ffrwythau iddo ef, y rhai oeddynt hefyd mewn gwirionedd a modd ysprydol yn sanctaidd; felly y mae llaweroedd o ganghennau etto ac ydynt beunydd yn tyfu i fynu oddiwrth y gwreiddyn ysprydol ar gyfammod ysprydol, honno, y rhai ydynt yn sanctaidd mewn modd ammodol ac ysprydol, megis ac yr ydoedd y gwreiddyn yn sanctaidd: yn ddiau fe wnaethpwyd cyfammod ag *Abram*, o ba vny mae efe yn cael ei ystyried megis gwreiddyn cyffredin, neu bren cyffredin, ac oddiwrth ba wreiddyn, neu bren olewwydden y mae yn ammhossibl i vn o'i hâd ysprydol gael ei dorri ymmaith; canys os felly byddei *Pa fodd y mae'r addewid yn sicr i'r holl hâd? Rhuf.* 4. 16. A pha fodd y mae'r gyfammod honno yn sail o gysur cryf i holl etifeddion yr addewidion; megis *Heb.* 6. 17, 18, 19.

5. Eithr gwir yw; fe ddichon pawb weled mae tueddrwydd ych esponiad o'r testun tywyll hwn ydyw i brofi fod yr eglwys Efangylaidd mor agoryd a helaeth, neu bôb ffordd o'r vn natur a helaethder âg eglwys genhedlig yr Iddewon; ac am hynny yn pledio am i'r hâd cnawdol, mal y cyfryw, gael eu derbyn megis aelodau o honi.

Sr, Nid wyf fi ych adnabod chwi, eithr myfi a dybiais ych bod chwi yn dala tros y fath eglwys ac yr ydym yn ei alw yn eglwys gynnhylltiedig; ond gwîr yw, cymmundeb eglwysig babanod sydd beth yn cyttuno yn vnig ag eglwys genhedlig, ac am hynny yn cytuno yn odidog ag eglwysi yr *Presbyteriaid* a'r Escobion.

Meddwch chwi, *Fe dorrwyd ymmaith plant yr Iddewon, ac fe dderbynniwyd y cenhedloedd a'u plant i mewn i fod yn gyfrannogion o'r vn braintiau ac oedd gan yr Iddewon*, &c.

*Atteb* 1. Sr os mynnwch brofio fod yr eglwys tan yr efengyl yn genhedlig, sef, yn cymmeryd i mewn holl blwyfion, teuluoedd o theyrnasoedd, y mae'n rhaid i chwi ddyfod a phrawf am yr ordeiniad hyn oddiwrth y Testament Newydd; Sr, dangoswch pa le yr ordeiniodd neu'r appwyntiodd Christ y fâth ffurf eglwysig, neu pa genedl oll ymmhlith y cenhedloedd, y rhai oeddynt grediniol a'u plant, ac anghrediniol neu bobl annuwiol yn gwneuthur proffes o gristnogrwydd a'u plant, a appwintiwyd gan yr Apostol i fod yn eglwys Efangylaidd; canys y mae'n eglur fod yr holl

holl Iddewon credadwy neu dduwiol a'u plant, a'r holl Iddewon anghredadwy, y rhai oeddynt yn arddel crefydd yr Iddewon a'u plant, yn aelodau o eglwys genhedlig *Israel* tan y gyfraith.

2. Profiwch hefyd, os gellir profio y fath ordeiniad eglwysig Efangylaidd o'r Testament Newydd, fod gan hynny yn rhaid i holl fraintiau a defodau 'r Iddewon oddiallan berthyn i'r cyfryw eglwys Efangylaidd genhedlig ymmhlith y cenhedloedd, ac oedd yn perthyn i eglwys genhedlig yr Iddewon, a raid iddynt hwy gael yr un defodau a fraintiau ac etto heb fod yn un? A ydyw bedydd yn enwaediad?

3. Os daeth yn ei le ef, megis yr ydych chwi yn breuddwydio, yna fe ganlynei fod bedydd yn perthyn yn unig i'r plant gwrywaid, os nid yw felly, nid yr un fraint ydyw, eithr y mae gwahaniaeth mawr rhwngddynt; mae'n rhaid i chwi gan hynny gael rhyw air o ordeiniaid, neu ryw awdurdod oddiwrth Grist am helaethu y braint hwn cyn belled ai ganiattau i'r benywaid hefyd.

4. A pha ham y fraint hon yn unig? onid oedd gan yr Iddewon a'u plant laweroedd o fraintiau eraill oddiallan heblaw enwaediad? Paham na ddylei'r cenhedloedd a'u plant y rhai a impiwyd i mewn, mal yr ydych chwi yn tybied, yn eu lle, dderbyn y braintiau oll, yn gystal ac yn neu ddau; chwi a adawsoch y gwaith ar ei hanner.

5. Heblaw hyn, y peth yr ydych yn ddywedyd i'r rhieni cyntaf sancteiddio holl genedl yr Iddewon, sydd ffugiol; nid nhwy a neillduodd neu sancteiddiodd mo honynt, eithr Duw ei hun, sef, trwy ei lwyr orchymyn ai ordeiniad sanctaidd ef, am hynny mae'n rhaid i chwi brofio fod y fath orchymyn neu ordeiniad am y fath eglwys genhedlig tan yr efengyl ac oedd tan y gyfraith.

Sr, Nid wyf yn deisyf gwell swydd na phrofio na ddylei neb fod o'r eglwys Efangylaidd, yn ol appwyntiad ac ordeiniad Crist, ond pobl dduwiol ac y sydd yn credu ac yn professu ffydd ynghrist Jesu, gwedi eu ymgorphori ynghyd mewn cyfammod sanctaidd; a phan scrifennoch drachefn, gosodwch i lawr ych rhesymmau i ddiddymmu yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd, ac myfi a fyddaf barod trwy nerth Duw i roddi y fath Atteb i chwi ac a lwyr ddestrywia ych cymmundeb eglwysig babanaidd chwi: Ac yn gymmaint a bod yr hên gyfammod ac ysfâd eglwysig yr hên gyfammod gwedi eu cymeryd ymmaith, ai diddymmu pan sefydlwyd

wyd y gyfammod Efangylaidd ac eglwys Efangylaidd, y mae'n rhaid i chwi ddyfod a'ch rhessymmau a'ch prawf oddiwrth ewyllys newydd Crist a'i destament diweddaf, neu y cwbl ac a wnewch ni thalyff ddim.

Ynawr ddarllennydd, gan i'm ddangos it nad yw vniawn ddim o'r esponiad a wnaeth Mr. *Owen* o'r testun trawymasymudawl hwn, eithr y mae'n anghyttunol â'r gwirionedd megis y mae yn yr Jesu, mi roddaf ici fy meddyliau o herwydd y cywir arwyddoccâad o hono; ac yn gymmaint ac i'm wneuthur hyn vnwaith eissoes yn fy atteb i Mr. *Burkit*, myfi a âf yn y blaen gan ossod i lawr ei ressymmau ef a fy attebion innau ac fe ddwg hyn fi at y matter yn vniawn.

Y rhesswm y mae Mr. *Burkit* ac eraill gydag ef y rhai a dalant fedydd plant yn arfer i gynal eu harferiad angscrythurol gan fedyddio babanod oddiwrth y testun hwn, ydyw fel hyn, sef;

*Os ydyw* (medd efe) *babanod rhieni Cristnogawl yn sanctaidd mewn ffordd ammodol, yna y maent yn ddeiliaid addas i fedydd, eithr y mae'r scrythur yn dangan fod y cyfryw blant mewn modd ammodol yn sanctaidd, am hynny y maent yn addas i gael eu bedyddio ac a ddylent gael eu derbyn* Rhuf. 11. 16. *Os ydyw'r gwreiddyn yn sanctaidd y mae'r canghennau yn sanctaidd hefyd* &c. *Pa le* (medd efe) *wrth y gwreiddyn y mae i'w ddeall* Abram, Isaac a Jacob, *ac wrth y canghennau eu heppil, pobl yr Iddewon. Ynawr* (medd efe) *yn gymmaint a bod yr Iddewon, y canghennau wrth naturiaeth gwedi cael eu torri ymmaith o herwydd eu hanghredininaeth, y mae'r cenhedloedd credinniol gwedi eu himpio i mewn yn eu lle ac yn meddiannu eu braintiau yn yr rhyw yr oeddynt hwy yn sanctaidd, nid â sancteiddrwydd glynawl oddiwrth y rhieni i'r plentyn yn myned trwy genhedlaeth naturiol oddiwrth y rhieni i'r plentyn, eithr a sancteiddrwydd ammodawl perthynasol oddiallan yn cael ei sefydlu ar yr addewid a wnaethpwyd i'r ffyddloniaid a'u hâd.*

*Atteb.* Yr wyfi'n neccau'r rhesswm blaenaf, ac yn dywedyd, pe byddei plant y credadwy yn sanctaidd mewn modd ammodawl tan yr efengyl, etto nid ydynt addas i gael eu bedyddio, o herwydd nid y peth hynny sydd yn rhoddi iddynt hawl neu'n i gwneuthur hwy yn addas o hono. Eithr y peth a ordeiniodd ac appwyntiodd Crist, megis yr vnig briodol ac addas cymmhwysdra, yr hwn nid ydyw yr sancteiddrwydd ammodawl perthynasawl hynny oddiallan y mae efe yn crybwyll am dano, o ba vn nid yw'r Testament Newydd yn dywedyd vn gair, megis y

dangosaf

dangosaf yn y man, eithr ffydd mewn gwelthred, ail-enedigaeth a sancteiddrwydd oddisewn, yr hwn beth a arwyddocce'r gan fedydd; am hynny ni wna miloedd o'r sâth ressymmau ddim daioni, pan y mae bedydd yn ddesod bûr bennodol.

Y mae'n rhaid i gyfraith Crist ei hun ddibennu'r ymryssson, sef pa sâth gymmhwysdra yr ydys yn ofyn gan y cyfryw, ac a dylent gael eu bedyddio wrth ei awdurdod a'i gyfraith ef. Gadewch i vn gwr ac y sydd yn dal bedydd plant brofio os gall, fod y sâth sancteiddrwydd ammodawl oddiallan yn gwneuthur vn dyn yn gyfaddas o fedydd; Efangylaidd, oblegid os ydyw y sâth sancteiddrwydd ammodawl ac oddiallan yn gwneuthur dynnion yn addas o fedydd, yna yr Iddewon, cyn eu torriad ymmaith, a allasent gael eu gollwng at fedydd, yn gymmaint a bod ganddynt y pryd hynny y sâth sancteiddrwydd ammodawl, pa sâth sancteiddrwydd ni all neb profio fod plant y credadwy yn ei gael tan yr efengyl; ac oni's gwnaeth efe hwynt yn addas o fedydd, ni all wneuthur ein plant ni yn addas o fedydd; ac y mae'n eglur na wnaeth mo honynt hwy yn addas, gwel *Mat.* 3. 9. Pa le y daeth rhai o ganghennau y gwreiddyn hwn at *Joan* Fedyddiwr i gael eu bedyddio, ac efe a ballodd iw gollwng hwynt, gan ddywedyd y geiriau hyn, *ac na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae gennym ni* Abram *yn dâd ini, canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y dichon Duw, ie, o'r meini hyn gyfodi plant i* Abram, adnod 10. *Ac y nawr hefyd y mae'r fwyall gwedi ei gossod ar wreiddyn y prennau*; Ac oddiymma y mae'n eglur ddigon, na wna'r sancteiddrwydd perthynasawl hynny oddiallan, yr hwn a wnaeth ddynnion tan yr hên destament yn addas o enwaediad, a chymmundeb eglwysig ymmhlith yr Iddewon, na hên nag jevaingc, tan yr efengyl yn addas o fedydd a chymmundeb eglwysig Efangylaidd.

2. Yr wyfi hefyd yn gwadu ei resswm diweddaf, ac yn dywedyd, nad yw scrythur y Testament Newydd yn datgan fod plant rhieni crediniol yn sanctaidd mewn modd ammodawl: Nid yw'r testun *Rhuf.* 11. 16. Yn dywedyd vn gair am fabanod, nag vn gair am y sâth sancteiddrwydd ammodawl a hwn; Mr. *Thomas Goodwin* yr hwn oedd wr dyscedig jawn gan gymmell y testun hwnnw yn 1 *Cor.* 17. 14. Er ei fod yn dal bedydd plant a ddywed, *Yn y Testament Newydd ni ddywedir am ddim sancteiddrwydd arall, ond am ail-enedigaeth cywir a phersonawl*; o barthed pa vn, y mae efe yn annog yr holl fyd i ddangos yn y gwrthwyneb.

Ac Sr, gyda ych cennad, oni ellwch chwi brofio oddiwrth vn lle yn y Testament Newydd, fod y fath sancteiddrwydd a hwn yn cael ei crybwyll am dano, yr ydych ar fai am ddyfod â deongliad pasthod ac heb warand o'r testun hwn; yr wyf i'n gwybod fod amryw o farnau o herwydd y peth, Yr ydys yn ei feddwl wrth y gair *Gwreiddyn* yn y lle hwnnw.

1. Y mae rhai yn ei gymmeryd am y gyfammod.
2. Rhai am Grist.
3. Rhai am *Abram, Isaac* a *Jacob.*
4. Rhai am *Abram* yn vnig.

Beth pe bawn yn cyttunno â'r diweddaf a dywedyd mae *Abram* yw'r *Gwreiddyn?* eithr pa wreiddyn? *Gwreiddyn* ei holl hâd wir ysprydol; ac os felly yr oedd sancteiddrwydd y canghennau yn wir sancteiddrwydd mewn gair, ac yn ysprydol; oblegid y fath sancteiddrwydd ac y sydd yn y *Gwreiddyn* y sydd yn y canghennau; ac yn ddiau o ran bod gan lawer o honynt, ac oeddynt yn ganghennau naturiol eisieu ffydd, neu'r sancteiddrwydd gwîr ac ysprydol hynny (oblegid yr ydoedd efe yn wreiddyn ddau ddyblig neu Dâd megis ac y profiais o'r blaen) y cawsant eu gwrthod neu torri ymmaith trwy eu anghrediniaeth; ac fe impiwyd i mewn y cenhedloedd trwy ffydd, gan iddynt hwy gyrrhaeddydd brasder y *Gwreiddyn*, neu ffydd a chyfiawnder eu tâd *Abram*, yr hwn ydoedd wreiddyn neu Dâd y cyfryw oll ac a gredent. Gwîr yw (megis y mae Mr. *Tombs* yn dal' fulw) fod y sancteiddrwydd, yr ydys yn feddwl yn y man hyn i gael ei gymmeryd yn gyntaf o ran etholedigaeth Duw, am sancteiddrwydd personol oddifewn ym mhwrpas Duw, *Eph.* 1. 4. Yn ail, y mae'n sancteiddrwydd trwy ffordd goferlad, nid oddiwrth neb arall o'u henafiaid, eithr oddiwrth *Abram*, nid megis tâd naturiol, eithr megis tâd ysprydol, neu Dâd y ffyddloniaid, ac felly yn cael ei goferu oddiwrth y gyfammod o ras a wnaethpwyd ag *Abram.*

Ac felly yr ymdengis i chwi dywyllu y scrythur nodedig hon, gan feddwl y gallech brofio y fath sancteiddrwydd oddiymma, o ba vn ni wyr y Testament Newydd ddim am dano, gan fwrw y sancteiddrwydd yr ydys yn grybwyll yn y testun hwn at sancteiddrwydd ammodol a chyfattebol o ran goruchwiliaeth oddiallan yn vnig yn yr eglwys weledig, yr hyn beth yr ydys yn ei feddwl am rasusau safadwy, i'r eglwys anweledig, ac felly yn gwneuthur pôb rhieni crediniol y fath wreiddyn iw heppil ac ydyw

*Abram*

*Abram* iw hâd, yr hyn beth yr ydym ni yn ei wadu.

Eithr gedewch i gyfammod a sefydliad yr Iddewon cyn iddynt gael eu torri ymmaith fod fel y mynno, yr wyf yn sicr nad oes vn o'r cenhedloedd yn cael ei impio ynghrist onid trwy ffydd gweithredol, ac ni ddichon neb gael eu himpio i'r eglwys Efangylaidd heb wneuthur proffes o'r fath ffydd, am ni wnewch ddim ond curo'r awyr.

Yr Iddewon, gwir yw; o dorrwyd ymmaith trwy eu anghredinaeth, ac nid oeddynt ddim mwyach yn eglwys, sef, eglwys cenhedlig, canys y cyfryw ymmhlith yr Iddewon, ac oeddynt yn wir hâd ysprydol *Abram* gan dderbyn Crist trwy ffydd a blannwyd yn yr egiwys Efangylaidd; ac rhwngddynt hwy a'r cenhedloedd credadwy, ynawr nid oes dim gwahaniaeth; y mae'r Iddew a'r *Groegwr* yn sefyll yn yr eglwys ynawr trwy ffydd, nid trwy gyfammod oddiallan, braint, defod neu sancteiddrwydd: O Credadyn! Yr wyt yn sefyll trwy ffydd, noda, nid trwy fraint genedigaeth, eithr trwy ffydd (medd vn) etto nid dy hâd di trwy dy ffydd di, eithr tydi dy hun trwy dy ffydd dy hun, a hwynthwy trwy eu ffydd eu hunain; ffydd yw'r peth trwy ba vn (gan dy fod ti yn sefyll, ac nid dy hâd) y mae gennyt hawl i sefyll yn yr eglwys, ac nid hwynt hwy. Eithr od oes gan dy hâd ffydd, a thitheu heb ddim, yna y mae ganddynt hwy hawl yn yr eglwys, ac di gei di dy gau allan; ac er nad ydym yn naccau nad oedd hâd naturiol, neu eppil *Abram* oll tan y gyfraith yn sanctaidd â sancteiddrwydd ceremoniaidd cyscodawl oddiallan; ac gan hynny yr oeddynt yn cael i gadael y pryd hynny i fod yn gyfrannogion mewn modd oddiallan o'r braintiau eglwysig; etto ynawr nid yw fel hyn; *y mae hên bethau gwedi myned heibio*; am hynny nyni o hyn allan nid adwaenom neb yn ôl y cnawd, 2 *Cor*. 5. 16. Y mae'r ffurf eglwysig honno gwedi ei diddymmu, a'r modd hefyd o ollyngiad i mewn iddi, trwy fraint genedigaeth oddiallan, *&c*. Felly ac nad yw'r testun hwn yn rhoi dim cymmorth i chwi: Mysi a gâf agoryd y man hyn o'r scrythur ymmhellach.

1. Y mae'n eglur fod yr Apostol yn y nawfed a'r ddegfed bennod o'r *Rhufeiniaid* yn dywedyd am etholedigaeth grâs, ac am y gyfammod honno o râs a'r etholedigaeth a wnaeth Duw ag *Abram*; y rhain oedd ei bobl, ac ni thaflasai efe ymmaith mo honynt *Pen*. 11. 1. Ac yr oedd gan Dduw 7000 o fâth y rhain yn nyddiau *Eliah*, adnod 4. *Felly gan hynny*, medd efe, *y pryd hyn hefyd y mae gweddill ynôl*

M 2 *etho-*

etholedigaeth grâs, adnod 5. Oddiymma y mae efe yn dywedyd, Beth gan hynny ni chafas *Israel* y peth yr oedd yn ei geisio, &c. Eithr yr etholedigaeth a'i cafas, &c. *adn.* 7. Y mae'n dangos ymmhellach i lawer jawn o hâd naturiol *Abram* gael eu torri ymmaith; Pa ham, trwy eu anghredniaeth, gan iddynt beidio a derbyn Crist, eithr gwrthodasant yr Efengyl a'r ffurf eglwysig newydd, y torrwyd hwynt ymmaith; Eithr fel na byddei i'r cenhedloedd ymorfoleddu yn eu herbyn, y mae'r Apostol yn dangos fod achos etto ini gredu y caiff y cyfryw oll ac sydd yn perthyn at etholedigaeth grâs yn amser cyfaddas Duw i dwyn i mewn, ac felly bod yn gyfrannogion o fendithion y gyfammod Efangylaidd, neu'r gyfammod o râs a wnaethpwyd ag *Abram*; ac mal y profiei hyn, y mae efe yn rhoddi rhesswm yn *adnod* 16. Canys os sanctaidd y blaen-ffrwyth, y mae'r clamp-toes hefyd yn sanctaidd, ac os sanctaidd y gwreithyn, y mae'r canghennau hefyd felly; wrth y gwreiddyn yr wyf yn cymmeryd fod yn meddwl *Abram*, gwreiddyn a thâd yn arwyddoccau yr vn peth yn y man hyn, gan fod *Abram* yn wreiddyn neu dâd (megis ac y mae Duw yn ei osod allan) o'r etholedigion oll neu o'r cyfryw ac sydd yn credu, neu yn wreiddyn o'i holl hâd wîr ysprydol.

2. Wrth y blaen-ffrwythau y gellir meddwl *Isaac, Jacob* a'r Patriarchiaid etholedig a sanctaidd, o herwydd fe rhoddwyd hwynt megis y blaen-ffrwyth i *Abram* o'r gyfammod honno a rhydd addewid Duw; ac yr oedd y rhain yn sanctaidd â sancteiddrwydd wîr ysprydol ac oddifewn o'r gyfammod newydd.

3. Wrth y clamp-toes y dichon feddwl cyflawn gorph yr etholedigion, neu had ysprydol *Abram* o'r amser y rhoddwyd y blaen-ffrwythau iddo ef, hyd ddydd yr Efengyl; neu holl gorph gwîr *Israel* Dduw, y rhai oeddynt sanctaidd, a'r gwreiddyn a'r blaen-ffrwythau oeddynt sanctaidd.

4. Wrth y canghennau y gellir meddwl yr had wîr etholedig ac oedd yn fyw yn y cyfamser hynny megis *adnod* 5. ac yr oedd y rhain yn sanctaidd hefyd megis y rhai eraill oll, yn gystal ac yr oedd y gwreiddyn, blaen-ffrwythau a'r clamp-toes oll neu'r corph, yn sanctaidd; hynny yw, yr oedd holl hâd wîr ysprydol *Abram* yn debyg iddo ef ei hun, sef, yn sanctaidd mewn ystyr ysprydol, ac y nawr delwch sulw, y mae efe yn dywedyd am rai ganghennau, a dorrwyd ymmaith yr oedd y rhain yn cymeryd arnynt fôd yn ganghennau, neu'n blant i *Abram*, ac felly yr oeddynt yn ôl y cnawd, eithr yr oeddynt yn gyffelyb i'r canghennau hynny ynghrist, y rhai nid ydynt

yn dwyn ffrwyth, ac am hynny a gymerir ymmaith *Joa.*15.2,3.

4. Y mae efe yn cytgam at hâd naturiol *Abram*, i ba rai nid oedd efe yn sefyll megis tâd yspryd ol neu wreiddyn, eithr megis tâd naturiol a chyfreithlon, megis yr oeddynt hwy yn eglwys genhedlig, ac yn cael eu dechreuad oddiwrtho ef; a'r canghennau hyn oll a dorrwyd ymmaith, sef, am iddynt wrthod Crist (1) Ni thorrwyd mo honynt ymmaith oddiwrth etholedigaeth Gras, oblegid nid oeddynt yn perthyn atto ef, (2) Ac ni thorrwyd mo honynt ymmaith oddiwrth yr eglwys Efangylaidd, canys ni chawsant erioed mo'i himpio ynddi hi. Eithr (3) nhwy a dorrwyd ymmaith rag iddynt fod mwyach yn eglwys neu bobl mewn cyfammod â Duw, gan i'r hên ffurf ac ordeiniad oll fyned heibio, a nhwy gan iddynt beidio a derbyn Crist yn y goruchwiliaeth Efangylaidd a'i râs a ffurf eglwysig, a ddywedir gael eu torri ymmaith megis pobl colledig, o herwydd na chawsant mo'i plannu eilwaith ynghrist, a'r gyfammod wir Efangylaidd, a bod yr hên gysammod gwedi myned heibio a chael ei llwyr ddiddymmu a'i chymmeryd ymmaith, nid oes ganddynt ynawr vn gwreiddyn i sefyl arno gan iddynt golli eu braintiau deddfol, megis yr oedd *Abram* yn dâd iddynt a'r yr achos hynny, ac y darfu iddynt hwy ymddangos nad oeddynt wir ganghennau neu hâd *Abram*, megis ac yr ydoedd yn dâd i'r hâd etholedig oll, neu i'r cyfryw oll ac y gredant ynghrist Jesu; y mae'n anghenraid iddynt hwy oddiymma gael eu torri ymmaith, rhag bod yn bobl i Dduw, neu'n perthyn i vn pen neu wreiddyn o ran bod o honynt mewn vn cyfammod â Duw mewn vn modd, canys y mae'r goruchwiliaeth ynawr gwedi cael ei newidio; *Hên bethau a aethant heibio, ac y mae pob peth ynawr yn newydd*, eithr y mae'r ffurf newydd hyn, bendithion, defodau, eglwys a braintiau eglwysig gwedi cael eu gwrthod; ac fel hyn y torrwyd ymmaith rai o'r canghennau naturiol, a'r cenhedloedd y rhai oeddynt wyllt wrth naturiaeth, sef, y rhai ni fuasant erioed mewn vn mâth o gyfammod weledig â Duw nag mewn vn ystyr yn perthyn at *Abram*, megis gwreiddyn, a gawsant eu himpio yn y wir olew-wydden Crist Jesu, ac yn yr eglwys wir Efangylaidd, ac felly yn gyfrannogion o frasder y gwreiddyn; ac o'r olew-wydden, hynny yw, o fendithion ysprydol a braintiau *Abram*, ac o'r gyfammod o râs a wnaethpwyd ag ef, ac o felys fendithion a braintiau yr eglwys Efangylaidd: a hyn y maent hwy yn ei dderbyn, ac yn cael bod yn gyfrannogion o honaw, megis y maent

yn gyntaf yn cael eu himpio ynghrist trwy ffydd sefydlog, ac felly yn cael eu huno a'i gorph cyfrinachol ef: Eithr yn gymmaint a bod mwy rhyfedi o'r hên ganghennau wrth naturiaeth yn cael eu caru er mwyn eu tâd, hynny yw, er mwyn *Abram*, megis y gwreiddyn neu dâd yr hâd etholedig oll, nhwy a gânt mewn amser cyfaddas iw himpio i mewn drachefn, ac felly ddyfod yn bobl weledig yn cael eu harddel gan Duw, ac mewn cyfammod ag ef, megis y mae'r gwîr hâd oll ynawr, ac yr oeddynt hwy gynt; ac os ystyrier hyn, beth y wna'r testun hwn tros, brofio fod hâd naturiol y crediniol, megis y cyfryw, oddifewn y gyfammod Efangylaidd? Canys os ni all hâd naturiol *Abram* wneuthur dim arddeliad, ac nad oes ganddynt ddim hawl i'r braintiau Efangylaidd, eithr cawsant eu torri ymmaith, pa le sydd gennym ni i dybied y ceiff ein heppil naturiol ni (megis y cyfryw) i gymmeryd i mewn? Nid yw'r Apostol yn dywedyd am y fâth ganghennau, neu o fod yn sanctaidd â sancteiddrwydd ammodawl oddiallan, eithr am y fâth sancteiddrwydd ac oedd yn y gwreiddyn, sef, *Abram* yr hwn a gredodd yn Nuw: ac fel hyn y mae ei holl hâd wîr ysprydol ef (y rhai ydynt mewn gweithred yn ganghennau ac mewn cyfammod gwedi cael eu himpio ynghrist trwy ffydd) yn sanctaidd, ac hefyd y mae holl hâd etholedig *Abram* felly, y rhai sydd etto heb gael eu galw, mewn modd o rag-appwyntiad, neu yn olwg Duw, yr hwn sydd yn galw y pethau nad ydynt, megis pe baent; y maent hwy oll yn sanctaidd ac yn cael eu caru er mwyn eu tâd *Abram*, â phwy yn y gwnaethpwyd y gyfammod o râs, trosto ei hun a thros ei hâd wîr ysprydol ef oll; ac oddiwrth y rhesswm hwn y mae'r Apostol yn ymresymmu tros alwedigaeth yr Iddewon a'u himpio i mewn drachefn, y rhai ydynt yn perthyn at etholedigaeth grâs. Y cyfryw gan hynny ac a fynnent wneuthur pawb o rhieni crediniol yn wreiddyn iw heppil naturiol megis ac yr oedd *Abram* iw hâd neu eppil wîr ysprydol, neu'n dâd cyffredin neu'n wreiddyn o'u heppil naturiol, megis ac yr oedd efe iw eiddo ei hun, ni's gwyddent beth y maent yn ddywedyd neu'n haeru; oblegid yna fe fyddei cynifer o dadau cyffredin a gwreiddiau yn yr un môdd ac y galwyd *Abram* yn wreiddyn ac yn dâd; ac yna hefyd fe fyddei cydnabyddiaeth o ddynnion etto yn ôl y cnawd, pa beth y mae'r Apostol *Paul* yn dywedyd yn ei erbyn, 2 *Cor.* 5. 7. Ymmhellach, yr Iddewon,

y rhai

y rhai a dorrwyd ymmaith, ydynt etto yn hâd naturiol i *Abram*, ac os gan hynny yr oedd y sancteiddrwydd hyn yn sancteiddrwydd ammodawl cyfattebawl oddiallan, y maent hwy etto yn yr ystyr hynny yn sanctaidd cyn belled ac y gellir dywedyd fod plant vn cenedl-ddyn crediniol yn bod felly; eithr y mae'n eglur, nad y sancteiddrwydd hynny ydyw hwn, o ba vn y mae'r Apostol yn dywedyd, ac nid oes dim mo'r fath sancteiddrwydd yn cael ei grybwyll am dano tan oruchwiliaeth yr efengyl.

Fel hyn ddarllennyd y darfu imi ymholi esponiad Mr. *Owen* ar y testun hwn, ac a ddangosais mae esponiad ffugiol ydyw, a cham-gymmeriad eglur o'r testun sanctaidd, ac a agorais y testun, yr wyf yn gobeithio, yn vniawn; y mae gan hynny yn canlyn oddiwrth yr hyn a ddywedais, yn wrthwyneb i'r peth a ddywedodd Mr. *Owen* yn niwedd ei nawfed bennod;

1. Yn gyntaf, nad oedd y canghennau naturiol y rhai a dderbynniasant rinwedd a brasder oddiwrth y gwreiddyn cyn dyfodiad Crist, yn hâd naturiol *Abram*, megis y cyfryw, o herwydd ni dderbynniodd, nid yw ac ni all vn dyn annuwiol dderbyn rhinwedd neu frasder y wîr olew-wydden, neu fendithion safadwy y gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw ag *Abram*; pa rinwedd neu frasder sydd mewn proffes ammodawl, vnigol oddiallan, neu sancteiddrwydd, llaill ai yn y grefydd Iddewig neu gristnogawl mal y mae'n perthyn yn vnig at didoliad i gymmundeb eglwys weledig?

2. Y mae'n eglur hefyd o ran yr Iddewon a gredasant ynghrist, er na thorrwyd mo honynt ymmaith oddiwrth y gyfammod o râs a wnaethpwyd ag *Abram*, etto na safasant hwy na'u plant ddim ymmhellach yn y gyfammod ammodawl honno oddiallan yr hon a wnaeth Duw yn neillduol ag *Abram*, a holl dy *Israel*, ond bod yr hên gyfammod honno gwedi ei diddymmu.

3. Fod yr Iddewon hyn y rhai ni chredasant a'u plant, gwedi cael eu torri ymmaith rhag bôd mwyach mewn vn cyfammod â Duw, megis ei bobl, a hyn o herwydd eu anghrediniaeth.

4. Fe ymddengys hefyd nad oes neb o'r cenhedloedd yn cael eu derbyn i mewn neu himpio ynghrist ac yn y wîr olew-wydden, neu'n y gyfammod o râs a wnaeth Duw ag *Abram*, ond y cyfryw ac sydd yn credu, nid

nhwy a'u hâd cnawdol megis y cyfryw, eithr hwynt hwy eu hunain a'u plant hefyd ac y sydd yn credu, ie, neb ond y cyfryw ac y sydd trwy ffydd yn gyfrannogion o'r brasder, hynny yw, y bendithion goreu eu gyd ac y sydd yn perthyn at gyfammod grâs; nid bendithion oddiallan a braintiau yn unig, nage, nage; y rhain nid ydynt y brasder, sef, y rhai goreu a mwya gwerth fawr o fendithion y gyfammod; eithr undeb â Christ, cyfiawnhâad, maddeuant pechodau, mabwsiad, a bywyd tragwydol; yn y pethau hyn y mae brasder y wîr olew-wydden yn sefyll, o ba un nid yw plant y credadwy megis y cyfryw yn gyfrannogion, na neb heblaw 'r etholedig a'r rhai a elwir gan Dduw yn ôl ei fwriad tragwyddol yn unig.

5. Y mae'n eglur hefyd na chaiff neb ond yr Iddewon etholedig gael eu galw a'u himpio drachefn yn eu olew-wydden eu hun, ac nad yw eu olew-wydden eu hunain yn perthyn at fraintiau'r gyfammod oddiallan a wnaeth Duw mewn modd neillduol â hâd naturiol *Abram*, megis y cyfryw; eithr nhwy a gânt dderbyn brasder eu olew-wydden eu hun, yr hwn ydyw 'r gyfammod o ras, canys honno yn bennaf a wnaethpwyd â hâd naturiol *Abram* y rhai sydd yn credu, megis y cyfryw, ac y mae hefyd yn perthyn at holl etholedigion Duw megis olew-wydden o'u eiddo eu hun, pa un ai Iddewon ai cenhedloedd; felly ac pan gaffo'r Iddewon eu galw, ni allwn fod yn siccr na phlediant hwy ddim o'r braintiau oddiallan o'r gyfammod hên honno a ddidymmwyd, ac a ddeuant i fynu at gynnigion yr Efengyl, a'r cyfryw o'u plant ac a gredont, ac neb heblaw; ac pe byddei'r ymryson ynghylch hawl plant i fedydd a chymmundeb eglwysig, yn cael ei adael heibio hyd oni's caffont hwy eu galw, y rhai y pryd hynny a ymwrthodant a'r hên hawl ammodawl a phôb braintiau oddiallan o'r hên destament, yn ddiammeu fe a ddibennyff y pryd hynny.

---

PEN.

# PEN. XIII.

## *Gan roddi Atteb i seithfed Rhesswm Mr.* Owen *trwy brofio, nad yw babanod, megis y cyfryw, yn gyfrannogion o'r pethau hynny a ragddelwyd mewn bedydd.*

CYmmerwch seithfed rhesswm Mr. *Owen*, yr hwn sydd yn rhedeg fel hyn; sef, *Os dichon plant y ffyddloniaid fod yn gyfrannogion o'r bendithion a arwyddocawyd ym medydd, nhwy a ddylent fod yn gyfrannogion o fedydd hefyd, os ydyw'r grâs anweledig yn perthyn iddynt hwy, ni ellir pallu mo'r arwydd weledig iddynt hwy*, &c.

*Atteb.* Pe baem yn caniattau y gall ac y mae plant y ffyddloniaid megis y cyfryw, fod yn gyfrannogion o'r bendithion a arwyddocceir mewn bedydd; etto nid yw er hynny yn canlyn y dylent hwy gael eu bedyddio, o herwydd nad oes na gorchymyn na siampl am hynny yn y Testament Newydd.

Canys oni allasi ymresymmu yn llyn, sef, os gall plant ffyddloniaid fod yn gyfrannogion o'r bendithion a ragddelwyd yn Swpper yr Arglwydd nhwy a ddylent fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd; os y grâs anweledig sydd yn perthyn iddynt hwy, ni ellir pallu mo'r arwydd weledig iddynt hwy; y mae'r rhesswm hwn gan hynny mo'r rymmys tros i ni ddyfod a'n plant at fwrdd yr Arglwydd, ac y mae at fedydd.

*Y mae bedydd yn arwyddoccau tri pheth, pa rai* (meddwch chwi) *y gall plant bychain fod yn gyfrannogion o honynt.*

Chwychwi a ddywedwch ei fod yn arwyddoccau maddeuant pechod trwy rinwedd gwaed Crist, *Marc* 1. 4. *Actau* 2. 38.

*Y mae hwn* (meddwch chwi) *yn perthyn i blant bychain ddwy sath o ffyrdd.*

1. *Y mae arnynt eisiau grâs er maddeuant Pechod.*

2. Y

2. *Y mae llawer o honynt yn derbyn maddeuant Pechod, o herwydd llawer o honynt ac a fu farw a aethant i'r nefoedd.*

*Atteb* 1. Y mae cymmaint o rym yn eich rhesswm cyntaf tros fedyddio cenhedloedd a'u plant a thros blant y credadwy, canys onid oes arnynt eissiau grâs er maddeuant.

2. O ran ych ail resswm a ydyw plant y credadwy oll ac sydd yn marw yn myned i'r nefoedd, ac a oes neb o blant yr anghredadwy yn myned yno, a feiddiwch chwi haeru fod plant yr anghrediniol oll ac sydd yn marw felly yn golledig; os nid ydynt, pa ham na allant hwy gael eu bedyddio yn gystal a phlant y crediniol?

3. Eithr a ydych chwi yn bedyddio neb o blant y credadwy ond y cyfryw ac sydd yn marw; onid yw llaweroedd o honynt yn byw ac yn myned yn annuwiol pan dyfont i fynu ac yr ydych chwi yn fedyddio.

Y mae'n rhaid i chwi brofio dau beth, os mynwch ddywedyd dim i'r perwyl yn y lle hyn.

1. Fod holl plant y credadwy ac y sydd yn marw felly yn etholedig, ac felly a gânt fod yn gadwedig.

2. Y gall ac y dylei'r cyfryw oll ac y sydd yn myned i'r nefoedd, neu'n gadwedig, gael eu bedyddio a bod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd; ie, ac y mae'n canlyn hefyd y dylech chwi fedyddio yn unig y rhai hynny o blant y crediniol ac y sydd yn marw, neu'r cyfryw ac y mae gennych achos i gredu a gawsant eu hethol er iechawdwriaeth, yn ôl eich ymresymmiad eich hun. Eithr gedewch imi ddywedyd wrthych, pe byddech yn gwybod, pa rai o blant y credadwy neu'r anghredadwy a gawsant eu dewis, ni ddylech mo'i bedyddio ddim mwyach na rhoddi Swpper yr Arglwydd iddynt; Sr, nid etholiad sydd yn rhoddi hawl i fedydd, eithr gorchymmyn pennodol Christ; oni allei *Melchisedec* neu *Job* ddywedyd; y mae eisiau ar ein plant o'r peth a ragddelwyd yn yr Enwaediad, am hynny nyni a enwaedwn arnynt, a fuasei hyn yn ei cyfiawnhau hwynt, pe buasent yn anturio gwneuthur y fâth beth heb orchymyn Duw? oblegid y gorchymyn pûr pennodol o enwaedu a roddwyd yn unig i *Abram*, ac yr oedd yn cyrhaeddyd yn unig atto ef ei hun, a'i blant gwrywaid, neu'r cyfryw ac oeddynt yn ei Dy neu deulu, neu a brynodd â'i arian.

Am hynny yr holl ressymmau ac yr ydych chwi yn arfer fel hyn, ydynt yn egwan ac yn ddisail.

Peth

Peth oset gan hynny yr ydych yn ddywedyd wrth rieni annuwiol, *Y rhai* (meddwch chwi) *a draddodasant lygredigaeth iw plant, y dylent hwy roddi meddyginiaeth iddynt, ac felly yr ordinhâad o fedydd, yr hon a appwyntiodd Crist i'r perwyl hwnnw, fel na byddei iddynt ddescyn i'r pwll diwaelod.*

*Atteb.* 1. Y mae'n rhaid i chwi brofio i Grist appwyntio bedydd i blant, gwnewch hyn, ac y mae'ch gwaith ar derfyn.

2. Profiwch fod bedydd yn feddyginiaeth er jachau y clefyd o'r pechod dechreuol, ac i gadw plant (neu bobl o oedran ychwaith) oddiwrth syrthio i'r pwll diwaelod.

Yr ydych yn gwneuthur fel pe mynnech ddychrynu dynnion i roddi coel i'ch traddodiad chwi; a ddichon dim peth gadw hên ai jevaingc oddiwrth boenau vffernol, heblaw gwaed a haeddedigaethau Crist, trwy sancteiddiad yr yspryd, o ba vn ni all bedydd onid bod yn ddull o hono (meddyginiaeth nid yw) ac nid ordeiniwyd i neb am fod yn ddull o hono, &c. Ond i'r credadwy yn vnig, gan ba rai y mae'n ddiau y pethau a arwyddocceir.

*Yn ail* (meddwch chwi) *mae bedydd yn arwyddoccau tywalltiad yr yspryd glân*, Actau 2. 38. Tit. 3. 5. *Y mae'n sicr* (meddwch chwi) *y gall plant bychain dderbyn yr yspryd glân o grôth eu mammau*, Luc. 1. 15.

*Atteb.* Yr ydym yn naccau fôd bedydd yn arwyddoccau tywalltiad yr yspryd glân, nid yw'r scrythur a grybwyllwyd gennych yn profio mo'r fâth beth.

1. Y mae'n arwyddoccau (fel y dangosais) farwolaeth claddedigaeth ac adgyfodiad Crist, gyda'n marwolaeth ni i bechod neu'n marwhâad o bechod a'n adgyfodiad drachefn i newydd-deb buchedd.

2. Beth er bôd yr addewid gwedi ei gwneuthur i Grist ac iw hâd yn *Esau* 44. 3. ac 59. 11. A ydyw plant y credadwy (megis y cyfryw) yn hâd i Grist ac yn y gyfammod o râs.

Yr addewid o dywalltiad yr yspryd a wnaethpwyd yn vnig i'r credadwy ac i'r *cyfryw* o'u hâd ac a gredont, neu i holl etholedigion Duw, profiwch i fabanod y crediniol, mal y cyfryw dderbyn yr yspryd glan yn myddiau'r efengyl; fe ddichon Duw, gwir yw, roddi ei yspryd i faban yn y grôth, ac fe allei iddo wneuthur felly i vn neu ddau, felly hefyd vnwaith

yr

yr agorodd efe enau yr Asſyn, a raid i bob Asſyn gan hynny chwedleua â llais dyn.

3. *Yr ydych yn dywedyd fod bedydd yn arwyddoccau ail-enedigaeth; ac y mae'n possibl* (meddwch chwi) *y gall plant gael eu hadgenedlu; beth a ddichon rwystro grâs anfeidrol Duw rhag gweithio ar eu calonnau; fe sancteiddiwyd* Jeremi *yngbroth ei fam.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb fe all paganod a chenhedloedd gael eu adcenhedlu, y mae hyn yn possibl; beth a all rwystro gwaith Duw ar eu calonnau; ie, ac y mae'n debygol hefyd, y gwnaiff Duw hyn, pan y rhoiff yr Efengyl iddynt; a phan y caffont eu hadgenhedlu, gedewch iddynt gael eu bedyddio, pan fo ganddynt y peth a arwyddoccawyd, gedewch iddynt gael yr arwydd hefyd.

Y mae Mr. *Baxter* yn dywedyd, fod bedydd yn arwydd o ail-enedigaeth presennol, nid o'r hwn ſydd i ddyfod; nid appwyntiwyd Bedydd gan Chriſt i fod yn arwydd o'r peth y allei, neu ni's gallei fod yn y jawn ddeiliaid o hono yn ôl llaw, eithr o'r adcenhedliad hynny a wnaethpwyd yn ſiccr yn y dyn cyn iddo gael ei fedyddio; *os ydwyt yn credu* (od oes gennyt wîr ffydd, neu gwedi cael dy ddychwel) *ti a elli*; nid os gall yn ol llaw fod yn gredadyn, eithr os ydwyt y nawr y fâth vn ac y ſydd yn credu.

*Fe all Duw* (meddwch chwi) *yn hawdd ddigon roddi cynneddfau sanctaidd i eneidiau plant; oni ddichon Duw adnewyddu ei ddelw ei hun ar blant bychain*—— *Nid wyf yn dywedyd* (meddwch chwi) *fod holl blant y ffyddloniaid yn derbyn grâs yr ail-enedigaeth yn eu mebyd; y mae'n eglur fod y peth hyn yn y gwrthwyneb oblegid y mae llaweroedd o honynt yn annuwiol; eithr ar yr ochr arall, y mae gwaith grâs yn ymddangos yn foreu jawn o ddydd i ddydd yn eraill o honynt.*

*Atteb.* Ac os fel hyn y mae'r peth, fe ddarfu am ych gwaith chwi; Pa fodd? Os nid yw plant y credadwy oll gwedi eu adcenhedlu ac mewn cyfammod â Duw, pa ham gan hynny yr ydych chwi yn ei bedyddio hwynt eu gyd, ie, y cyfryw ac nid yw ganddynt y peth a arwyddoccawyd pan gawſant eu bedyddio, na byth gwedin. Gwelwch, *Fritanniaid* anrhydeddus, fod Mr. *Owen* yn cyfaddef yn y lle hyn, nad yw plant y credadwy, megis y cyfryw, yn y gyfammod, o herwydd y cyfryw oll ac ydynt oddifewn y gyfammod o râs, ydynt

ydynt hawl ganddynt iw sêl, ac gwedi eu hadcenhedlu; Gwaesi! beth yw'r sêl, ond sêl o'r ail-enedigaeth, ac felly o fywyd tragwyddol, *Eph.* 1. 13, 14. *Pen.* 4. 30.

*Eithr yr ydych yn dywedyd fod yr ail-enedigaeth yn ymddangos yn rhai eraill yn foreu jawn o ddydd i ddydd, hynny yw, mewn rhai plant bychain.*

*Atteb* 2. Eithr onid oes rhai o blant rhieni annuwiol yn cael gweithio arnynt cyn gynted; a'u hail-eni, a phlant y duwiol; pa ham gan hynny na all eu plant hwy hefyd gael eu bedyddio; yr ydych yn dywedyd fod Mr. *Eliot* yn ei Lyfr a elwir *Dagrau Edifeirwch* yn crybwyll am ddau blentyn *Indiaid* a ddychwelwyd cyn eu bod yn dair blwydd oedd; Sr y rheini nid oeddynt blant i rieni duwiol.

3. Caniattewch fod hyn yn wir, ac os ydyw Duw weithiau yn adcenhedlu plant o dair neu beder blwydd oed.

Mysi a allaf fedyddio y cyfryw blant trwy awdurdod Crist, a'l Gommisliwn ac trwy rinwedd ei orchymyn sanctaidd; ac nid oes neb ond y fath blant ac sydd yn credu a hawl ganddynt i fedydd; yr ydych yn dywedyd fod *Solomon* yn jevangc jawn pan y carwyd ef gan yr Arglwydd.

*Atteb.* Yr Arglwydd a garodd ei etholedigion, cyn iddynt gael eu geni, *ie o dragwydoldeb*; ond beth y mae hyn, y pryd y maent yn cael eu galw a'u adcenhedlu ac nid cyn yr amser hynny y dylent gael eu bedyddio.

Yr wyf yn dywedyd mae'r pethau y sydd yn gwneuthur dynnion yn addas o fedydd a ragofynnir cyn bedydd, a'r fath bethau ydynt ac y mae Crist yn gofyn i fod yn y rhai ac sydd yn wir ddeiliaid o hono, pa rai ydynt ffydd a phroffes o honi; neu ffydd ac edifeirwch; fe ddichon fod gennych bwer o wneuthur Justus yr heddwch, etto nid oes i chwi wasanaethu'r swydd hynny heb Gommisliwn cyfreithlawn; felly gedewch i'n plant sôd yn addas o'r peth y fynnont neu y gallont, etto ni ddylent heb awdurdod oddiwrth gair Duw gael eu gollwng at yr ordinhâad o fedydd neu Swpper yr Arglwydd, nag i vn ordinhâad Efangylaidd arall.

Nid ydym yn naccau na all Duw roddi gweddau a chyneddfau sanctaidd i blentyn, hyd oni wnelo hyn, nid oes i chwi roddi iddynt hwy arwyddion y cyneddfau grasusol hynny, ac os nid oes dim arwyddion gweledig o'r cynheddfau sanctaidd hynny yn y cyfryw fabanod, ac yr ydych

yn

yn fedyddio, nid yw ar y goreu ond bedydd gwatwarus.

Gwrthdd. *Pe baem ni yn gwybod fod plant bychain gwedi eu badgenhedlu, nyni a fyddem yn eu bedyddio hwynt,*

Y mae ych gwrthdaddl chwy yn ych erbyn eich hunain, fel pe byddem yn ymreffymmu yn llyn.

*Atteb.* Nage Sr, yr ydych chwi yn ein camadnabod ni, Pe byddem yn gwybod fod plant bychain gwedi eu hadgenhedlu, pa beth y mae'n ammhossibl i ni mo'i wybod (er nad wyf yn ammeu nad yw'r plant hynny ac y fydd yn myned i'r nefoedd yn cael eu gwneuthur yn fanctaidd mewn rhyw ffordd ddirgel, nad ydym ni yn ei adnabod; oblegid na all dim peth aflan fyned i mewn i'r nefoedd) etto ni feiddiwn ni mo'i bedyddio hwynt, o herwydd nad oes gennym awdurdod am wneuthur felly, yn gystal nag am roddi iddynt Swpper yr Arglwydd.

*Ni ellir gwybod hynny* (meddwch chwi) *yn ficcr am y rhai ac y fydd o oedran, am hynny yn ôl y gwrthddadl hyn, ni all neb gael eu bedyddio; y mae'n ddigon* (meddwch chwi) *yn yr achos hyn, fod addewid Duw yn perthyn i hâd babanaidd y ffyddloniaid; y maent yn aelodau o'r eglwys weledig trwy ba un y mae llinyn etholedigaeth Duw yn redeg,* Rhuf. 9. 4, 5, 6. ac Pen. 11. 7.

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, er nad ydym yn gallu, megis ac na allei'r Apostolion yn ficcr ac yn ddidwyll wybod, pwy oedd gwedi cael eu gwîr adcenhedlu, neu yn wir gredinìol, etto ni ddarfu iddynt fedyddio neb ond y cyfryw, yr oeddynt yn gweled y fath arwyddion o râs ynddynt, ac a wnaeth iddynt trwy gariad gredu, neu obeithio, i bod hwy yn credu; nhwy a wnaethant broffes a chyfaddefiad o'i ffydd; eithr mewn plant bychain ni oes dim gwybodaeth, nid oes dim ffydd.

2. Ac yn gymmaint a'ch bod chwi yn dywedyd, i bod hwy yn aelodau o'r eglwys weledig tan yr Efengyl, peth ffugiol ydyw; nid yw'r eglwys Efangylaidd yn cael ei gwneuthur i fynu o holl wledydd a theuluoedd, megis yr ydoedd eglwys yr Iddewon tan y ddeddf, mewn ffordd naturiol; y mae'r eglwys Efangylaidd yn dy yfprydol gwedi ei adeiladu â cherrig bywiol ac yfprydol, nid trwy ffordd cenhedlaeth eithr trwy adgenhedlaeth, 1 *Pet.* 2. 5, 6.

3. Ac

3. Ac nid yw'r addewid yn rhedeg i neb, eithr i'r cyfryw ac a elwir gan yr Arglwydd ein Duw, *vid. Act.* 2. 39. ie, i'r Iddewon a'u heppil y rhai ac sydd yn awr yn en galw, ac felly i'r cenhedloedd y rhai oeddynt vnwaith o hirbell.

4. O ran etholedigaeth, y mae'n rhyfedd gennyf ych bod chwi yn haeru, ei fod yn rhedeg yn llin naturiol y credadwy a'u hâd megis y cyfryw, ac yn dyfod a'r testun hynny i brofo ef *Rhuf.* 9. 4, 5. Ym mha vn y mae St. *Paul* yn profio yn vniawn, yn y gwrthwyneb, *Nid am fod gair Duw wedi myned yn ddirym, canys nid Israel yw pawb ac sydd o* Israel, adnod 6. *Nag o herwydd eu bod hwy yn hâd* Abram, *yr ydynt i gyd yn blant, eithr yn* Isaac *y gelwir iti hâd*, adnod 7. *hynny yw, nid plant y cnawd y rhai hynny sydd yn blant i Dduw, eithr plant yr addewid a gyfrifir yn hâd*, adnod 8.

Sr, er bod y cyfammodau a'r addewidion yn perthyn i'r *Israeliaid*, etto chwi ellwch weled pa fodd y mae'r Apostol yn en egluro hwynt, nid i neb ond i'r etholedigion, yn vnig i'r cyfryw ac a fyddei i Dduw gan ei yspryd trwy nerth a rhinwedd yr addewid adcenhedlu a galw trwy ei râs.

Am hynny yn wrthwyneb i'r hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd, ni chyfrifwyd neb yn hâd i *Abram* ac yn blant yr addewid ond y cyfryw ac oeddynt ynghrist, *Gal.* 3.29.

*Yr ydych chwi yn dywedyd fod plant y ffyddloniaid i gyd tan yr addewid, eithr Duw a weinidogaethodd râs yr addewion i'r etholedig yn vnig, ac i laweroedd o honynt yn eu mebyd.*

*Eithr yn gymmaint* (meddwch chwi) *ag nad ydym ni yn gwybod, ar ba rai y mae'r etholedigaeth yn descyn, ewyllys Duw ydyw i ni fedyddio y cyfryw oll ac ydynt tan yr addewid.*

*Atteb* 1. Os ydyw plant y ffyddloniaid i gyd tan yr addewid, y maent hwy oll gwedi eu hethol; o herwydd yr addewid i bwy bynnag ac y gwnaethpwyd sydd yn sicer i'r hâd i gyd; gwelwch, *Rhuf.* 4. 16. Os i'r had naturiol megis y cyfryw, y mae efe yn sicer iddynt hwy oll, ac ni chaiff vn o hâd y credadwy fod yn golledig; eithr os ystyr y peth yn vnig ydyw am yr had wîr ysprydol, yna y mae'n sicer yn vnig iddynt hwy, canys iddynt hwy y siccrhawyd, i ba rai y gwnaethpwyd yr addewid trwy air a llw Duw, fel y gallei etifeddion yr addewidion gael cyssur cryf, *Heb.* 6. 18.

Am

Am hynny ar y cyfryw ac y mae'r addewid yn perthyn iddynt, Duw a ffoſa ras neu fendith yr addewid, ac onide ei addewid a wneir yn anfuddiol ac yn ddiryw. Profiwch fod neb o rhai ſydd tan yr addewid neu'n blant yr addewid, ac etto heb i Dduw roddi gras yr addewid iddynt, neu fod neb yn blant yr addewid ac etto heb eu hethol.

2. Ond yn gymmaint a'ch bod chwi yn dywedyd rod, di gras yr addewid i rai yn eu mebyd, yr ydym ni yn naccau hynny, ond i'r cyfryw ac ſydd yn marw yn eu mebyd, diſbrofiwch hyn os gellwch. Eithr

3. Y gwaethaf oll ſydd yn dyfod, Sr. yn ddiwedaf; pa le y mae'r hyn yr ydych chwi mo'r éofn yn ei haeru yn ſcrifennedig? ſef, *O herwydd nad ydych yn gwybod ar ba rai y mae'r etholedigaeth yn deſcyn, ewyllys Duw ydyw iddynt hwy eu gyd gael eu bedyddio ac ſydd tan yr addewid*, ac yr ydych trwy anwybodaeth mawr yn haeru fod plant y ffyddloniaid oll tan yr addewid.

Sr, yr wyt yn ymreſſymmu yn llyn, os ewyllys Duw ydyw, y dylei plant y ffyddloniaid eu gyd gael eu bedyddio, efe a ddatcuddiodd hyn yn ei air, eithr nid oes dim o'r fath beth yn ei air ef; ie, ac nid oes dim am i neb o honynt tra ſyddont yn fabanod gael eu bedyddio, am hynny ewyllys Duw nid yw y dylent.

Oni allwn ni yn ôl ych rheſſwm chwi fedyddio yr anghrediniol, ymmha rai nid oes dim grâs yn ymddangos, oblegid nad ydym yn gwybod pa fodd y mae'r etholedigaeth yn redeg; hwynt hwy a allant fod tan yr addewid, ac oddifewn yr etholedigaeth er dim ac y wyddom ni; pa ffordd o ymreſſymmiad annhrefnus yr ydych chwi yn ei arfer ymma, eithr hyd yn hyn trwy ffordd o Atteb i'ch degfed bennod a'ch ſeithfed reſſwm tros fedydd plant.

---

PEN.

# P E N. XIV.

*Yn rhoddi Atteb i vnfedbennod ar ddeg Mr.* James Owen *a'i wythfed resswm oblegid y bedyddiadau hynny ac oeddynt tan y ddeddf, gan brofio fod ordinhâad Crist o fedydd yn ordinhâad wîr Efangylaidd, ac nad oedd dim o honi yn bôd, hyd oni appwyntiodd efe hi yn yr eglwys Efangylaidd.*

SR, Er y gall y peth a ddywedasoch chwi yn eich vnfed bennod ar ddeg, yr hon sydd yn cynnwys ych wythfed rhessWm fod â lliw o newydd-deb i rai; myfi a gâf ddangos nad yw ddim oll i'r perwyl.

Yr ydych yn dywedyd am ffurf Bedydd cyn y gyfraith ac wedi rhoddi y gyfraith, ac oddiymma yr ydych yn casclu y dylei plant gael eu bedyddio tan yr Efengyl.

*Atteb* 1. Chwi a ellwch gasclu oddiwrth yr vn rhyw achos a rhesswm, y dylei dillad, crochanau, bwrddau a llestri gael eu bedyddio tan yr Efengyl, megis ordinhâad Crist, o herwydd iddynt gael eu soddi, golchi neu bedyddio cyn a than y ddeddf.

2. Ymmhellach, nyni a allwn gasclu yn gystal, y dylei'r anghrediniol, ie, yr dynnion gwaethaf ac anifeiliaid gael eu bedyddio tan yr Efengyl, oblegid i *Noah* a'u blant gael eu bedyddio yn yr *arch*, Ymmhlith pa rai yr oedd *Cham* felltigedig; yr ydych yn dangos i *Cham* gael ei fedyddio ar ffydd ei dâd; yn gymmaint ac yr ymddengis wrth hyn fod ffydd y tâd a cadw nid yn vnig hâd babanaidd y credadwy, eithr y cyfryw hâd pan dyfont i fynu.

Eithr Sr, oni chaedd yr anifeiliaid a ehediaid y nefoedd eu bedyddio a'u cadw yn yr *Arch* yn gystal a *Noah*, a'i blant, yn enwedig ei fab *Cham*; eithr o ran y tessun hwnnw, 1 *Pet*. 3. 20. Pa fod y gallei *Arch Noah* fod yn ar-

wydd o fedydd, myfi a gaf ddywedyd yn fwy cyflawn o barthed hyn yn y man.

3. O herwydd fod pôb math o olchiadau neu foddiant yn y jaith *Groeg* yn arwyddoccau bedydd; a ydyw gan hynny yn canlyn fod pôb math o fedyddiadau, foddiant neu olchiadau yn ordinhâad Crist o fedydd mewn modd ffurfiol. Y mae Mr. *Burkit* yr hwn sydd wr mawr tros fedyddio plant a'r gwyr dyscedig eraill oll yn haeru, fod y pethau hyn yn anghenrheidiol i wîr ffurf bedydd Efangylaidd.

1. Y person yr hwn sydd yn bedyddio, neu'r gweinidog a ddylei fod yn weinidog cyfreithlawn, y cyfryw ac y gaedd awdurdod a Chommisiwn gan Grist am wneuthur felly.

2. Y mae'n rhaid i'r person ac sydd yn cael eu fedyddio fod yn ddeiliad addas o fedydd.

3. Y mae'n rhaid i'r elfen ymmha vn y mae'r person i gaêl ei fedyddio fod yn ddwfr.

4. Mae'n rhaid gweinidogaethu bedydd wîr Efangylaidd yn enw neu i enw'r tâd a'r mâb a'r yspryd glân.

Ynawr Sr, a gaedd vn dyn pa vn ai hên a'i jevaingc cyn y gyfraith neu tan y gyfraith eu bedyddio yn llyn.

Pa fodd y beidiwch chwi ddywedydd i *Jacob* dderbyn plant bychain i gyfammod Duw trwy fedydd, o herwydd iddo ddywedyd wrth ei deulu; *Bwriwch ymmaith y Duwiau dieithr sydd yn eich plith chwi, ac ymlanhewch a newidiwch eich dillad.*

*Atteb* 1. A roddwyd y gorchymyn hyn i blant bychain, neu a oeddynt hwy gwedi halogi eu hunain trwy eulunaddoliaeth, neu adoliad o dduwiau dieithr, neu pwy a appwyntiwyd ganddo ef iw bedyddio hwynt.

2. Beth er bod y gair *Hebreaeg* yn arwyddoccau glanhaad neu olchiad â dwfr; ydoedd hyn gan hynny mewn modd ffurfiol yn ordinhâad o fedydd; a ymreffymmodd vn gwr erjoed yn y modd hyn o'r blaen? y mae'n arwydd fod arnoch eisiau prawf tros ych bedydd babanaidd yn y Testament Newydd, pan yr ydych yn myned at *Genesis* am dano, ac at destun cyn belled; testun nad yw yn cynnwys dim oll o'r peth yr ydym yn ymryson yn ei gylch.

*Eithr yr ydych chwi yn dywedyd fod enwaediaid yn beth ffiaidd gerbron y cenhedloedd; o herwydd i blant* Jacob *i wneuthur yn ordinhâad o sarwolder i'r* Schechemiaid, Gen. 34.

ac

*ac yr ydych yn dywedyd fod y rhan fwyaf o deulu* Jacob *yn genhedloedd, am hynny* Jacob *a dderbynniodd eu gwragedd a'u plant i gyfammod Duw trwy olchiad â Dwfr neu fedydd; ac yn ôl siampl* Jacob *yr oeddynt yn arfer* (meddwch chwi) *bedyddio y cenhedloedd eu gyd a dderbynniodd enwaediad; oblegid eu gwyr doethion a ddywedant yn llyn; nid oes neb yn Proselytiaid hyd oni chaffont enwaedu arnynt a'u bedyddio* Lightf. Vol. 1. tu dalen 110. *ac nhwy a fedyddiasant y plant gydâ'r rhieni, y mae rhai hychain i gael eu bedyddio yn ôl ordinhâd y Cyngbor.*

*Atteb* 1. Os fel hyn y mae'r peth yn bod, gan fod bedydd plant ymmhlith yr Iddewon neu'n eglwys yr Iddewon o'r dechreuad, pa ham yr ydych chwi yn pledio tros fedydd, iddo ddyfod yn lle enwaediad; y mae'n ymddangos fod ych bedydd babanaidd yn agos neu'n gwbl oll môr hên ac enwaediad ei hun, am hynny ni allei ddyfod yn ei le ef.

2. Yr wyf yn addef i'm ddarllen mewn rhai awdwyr fod yr Iddewon yn derbyn eu Proselytiaid trwy enwaediad a bedydd hefyd; eithr fe debygir ych bod chwi'n meddwl fod hên *Jacob* mor ddoeth a gadael heibio enwaediad heb mo'i ddodi ar ei Proselytiaid o blith y cenhedloedd (o herwydd i *Simion* a *Levi* i wneuthur ef mor ffiaidd) ac ordeinio bedydd yn ei le, megis yr vnig ddefod er derbyn mo honynt i gyfammod Duw; mae'n rhaid i'm gyfadded fod *Jacob* yn euog o amryw feiau, eithr ni chlywais erioed iddo gael ei gyhuddo yn y modd hyn, a'i wneuthur yn euog o'r fath ffieiddra o'r blaen.

Pa fodd Sr, y gallei efe droi heibio ordinhâad fanctaidd Duw o enwaediad yn ôl ei feddwl a'i ewyllys ei hun, a hyn hefyd oblegid i feibion dynnu gwarthrudd arni? ac a ddychymygodd efe ordinhâad newydd, fef, Bedydd, yn ei lle; o ba fâth adnewyddiad ffiaidd y buasei efe yn euog, pe buasei yn gwneuthur y peth ymma, yr hyn y mae'n debyg yr ydych chwi yn haeru yn bennodol.

3. Ie, A hwn nid yw waethaf pechod *Jacob* ychwaith; canys y mae'n eglur oddiwrth ych geiriau chwi, ych bod chwi yn tebyf i'r Iddewon yn ôl Siampl *Jacob* arferyd bedyddio yr holl genhedloedd y rhai a dderbynniasant enwaediad; er fod y peth yn eglur na ddilynodd yr Iddewon mo Siampl *Jacob* gan droi heibio yr enwaediad ai gyfnewio yn lle bedydd; etto yn ôl Siampl *Jacob* yr oeddynt hwy yn bedyddio y Proselytiaidoll o blith y cenhedloedd, pa

ai gwyr, gwragedd ai plant oeddynt, felly ac mal y gwnaeth efe iddynt hwy osod i fynu neu chwanegu traddodiad a ddychymygodd efe ei hun at ordeiniad Duw. Canys yr wyf yn ych annog chwi neu vn dyn bwy arall brofio, i Dduw orchymyn i *Jacob* neu neb o'r *Patriarchiaid* neu *Rabbiaid* ymmysc yr Iddewon fedyddio vn Proselyt pa vn ai hên ai jevaingc pan gawsant eu derbyn i'r Eglwys.

4. Gwelwch, Chwychwi y rhai ydych yn dal' bedydd plant gyfodiad neu sail ych Bedydd babanaidd yn ôl delw Mr. *Owen*; Beth, pa le y mae i'n ei gael, ie, yn *Arch Noah*, ymmha vn y bedyddiwyd yr holl fyd, oblegid gedewch imi ymresymmu yn llyn; os bedyddiwyd yr holl fyd sef y creaduriaid rhesymmol ac anrhesymmol hefyd yn *Arch Noah*, yna fe ddichon babanod gael eu bedyddio ie, a'r anghrediniol eu gyd, ac anifeiliaid hefyd; eithr y cyntaf sydd wir, Am hynny——

Eithr onid oes ei ddechreuad ef yn y man hyn, Y mae efe gennym yn *Gen.* 35. 2, *Yna y dywedodd* Jacob *wrth eu deulu, ac wrth y rhai oll ac oedd gydag ef, Bwriwch ymmaith y Duwiau dieithr sydd yn eich plith chwi ac ymlanhewch a newidiwch ych dillad.*

1. Ynawr y mae Mr. *Owen* yn casclu oddiwrth hyn, sef i *Jacob* erchi iddynt ymlanhau, i fod efe yn gorchymyn iddynt eu gyd gael eu bedyddio (eithr heb ddim awdurdod neu orchymyn oddiwrth Dduw) ie, ei holl deulu, Iddewon a chenhedloedd, gwyr a gwragedd, Credadwy ac angrhedadwy.

Attolwg cymmerwch y peth a ellir ei gasclu neu y sydd yn canlyn oddiymma (y mae'n well, fe allei, i brofio bedydd plant oddiwrtho, nag oddiwrth y teuluoedd cyfan hynny, am y rhai a ddywedir iddynt gael eu bedyddio yn y Testament Newydd.) *Jacob* a orchymynnodd i holl deulu a'r rhai oll ac oeddynt gydag ef gael eu bedyddio, ymmlith pa rai yr oedd cenhedloedd a'u plant; am hynny nyni y cenhedloedd a'n plant a allwn gael ein bedyddio.

Ie, a'n gwasanaeth-wyr a'n gwasanaeth-ferched, er eu bod yn *Flacmoors*, pa vn ai bod hwy yn credu neu peidio; canys fe allei fod gan *Jacob* rai eulun-addolwyr ffiaidd yn ei deulu, am hynny y dynnion gwaethaf yn gystal a phlant bychain a allan gael eu bedyddio.

*Bri-*

*Britaniaid* anrhydeddus, ni welsoch ddim llawer o'r ymryson hyn yn eich jaith chwi; ond Mr. *Owen* pan welodd yr hên resswm ac a arferwyd gan y cyfryw a safasant tros fedydd plant, yn rhy wan er cadarnhau mo hono o fod yn tarddu oddiwrth Dduw ac o'r nefoedd, ac yn cael ei gynnwys yn y Testament Newydd, efe ynawr a ddychymygodd rai newydd na chlywais ddim am danynt o'r blaen; fy meddwl yw, y rhesswm hwn y mae efe yngymeryd oddiwrth orchymyn *Jacob* iw holl deulu a'r cyfryw oll ac oeddynt gydag ef, fod yn lân; hynny yw, medd efe, iw bedyddio eu gyd. Felly eich arferiad o fedyddio plant a gafodd ei ddechreuad nid oddiwrth orchymyn Crist, eithr oddiwrth orchymyn *Jacob*, ac hyn hefyd nid oddiwrth enwaediad, canys *Jacob* a troawdd ef heibio; oblegid i ddau fab wneuthur enwaediad yn ffaidd ac yn atgas gan y cenhedloedd, efe am hynny a ddychymygodd yr ordinhâad o fedydd yn ei le ef; Och! pa amser y dibennyff y gwr hyn drawswyro ffordd sanctaidd ac vniawn Duw, yn ei ordeiniad o fedydd plant.

5. Yr wyf yn gweled hefyd i Mr. *James Owen* gael cwrdd â dechreuad cyntaf y traddodiad dynol hynny ymmhlith yr Iddewon gan fedyddio eu Proselytiaid o blith y cenhedloedd, sef gwyr, gwragedd a phlant, eithr y mae'n ddrwg jawn gennyf i fôd efe yn bwrw hyn ar *Jacob* dduwiol.

*Y mae Mr.* Burkit *(yr wyf yn cyfaddef) yn gwneuthur yr arfer hwnnw ag oedd ymmhlith yr Iddewon yn rhesswm mawr tros fedydd plant, megis pe na byddei 'r Testament Newydd heblaw'r hên yn rheol ddigonol am arfer bedydd Efangylaidd, ond y mae'n rhaid ini fyned at yr hên destament yn gystal ar Newydd.*

I ba beth yr wyf yn *Atteb*, er bod ffydd ac ymarferiad mewn rhyw bwngciau yn yr hên destament a'r Newydd ynghyd yn rheol, yn ol pa vn y dylem rodio, etto y mae ei vtgorn ef a'ch vtgorn chwithau yn rhoddi fwn anwadal yn y peth hyn; oblegid o ran ymarferiad, o ni roddwyd llawer o gyfreithau a gorchymynion i bobl yr Iddewon, y rhai nid ydynt yn vn modd lleiaf yn perthyn ini, neu *Israel* ysprydol Duw tan yr Efengyl? oni eglurwch ych meddwl ddim gwell, chwi a ellwch anrheithio y bobl yn glau ddigon a'i dwyn hwynt ymmaith yn llwyr at ffurf yr Iddewon, ie ac yn lle bedyddio plant ar y fâth achos babanaidd a chyfeiliornus i beri iddynt hwy dybied y dylent enwaedu arnynt, megis ac y twyllwyd rhai ymma yn *Lloegr* yn

ddiwedar i wneuthur: Am hynny yr ydym ni yn dywedyd am orchymynnion yr Efengyl oll y rhai ydynt gyfreithiau wîr bennodol, mae'r Testament Newydd ydyw ein vnig reol ni heb gymmorth yr hên. Crist yn vnig yw gwneuthurwr-cyfraith, ac arno ef ac nid a'r *Moses* y mae i ni wrando vn vnig; er y gall yr hên destament fod yn fuddiol ini o ran pethau ffydd a'r llaweroedd o achosion, a'r gorchymynion i gyd hefyd ac ydynt wîr moesawl yn ei natur ei hun, Y mae'r hên destament yn rheol ini yn gystal a'r newydd, pa beth mi a allwn ddangos ar lawer o achosion nid o ran cyfraith y dêg gorchymyn, eithr hefyd o ran gweddi, rhoddi moliant i Dduw, dyddiau ympryd, &c. Eithr o barthed i neb fynegu a'r achos enwaediad fod yr hên destament yn rheol ein arferiad, neu a'r achos cymmundeb eglwysig yr Iddewon, y mae'r cyfryw yn datcuddio eu anwybodaeth yn rhyfedol, fel yr ymddengis ymmhellach yn ôl llaw; canys myfi a gâf yn y man profio yn eglur fod enwaediad yn ddefod bûr gyfreithlon yr Iddewon.

Yr ydych chwi a Mr. *Burkit* gydag eraill a ddalant fedydd plant yn haeru, *Mae'r achos pa bam yr ydys yn dywedyd cyn lleied o barthed bedyddio plant yn y Testament Newydd ydyw, oblegid fod yr arfer o'u bedyddio yn gyffredin, ac yn waith sefydlog yn eglwys yr Iddewon yn a chyn amser ein jachawdwr; tra yr ydoedd enwaediad yn arwydd ammodawl, Bedydd oedd yn ceremoni a buredigaeth ymmhlith yr Iddewon, canys pan ollyngwd neb o'r cenhedloedd i mewn i eglwys yr Iddewon, yr oeddyt yn gyntaf yn enwaedu ar y rhieni a'u plant, ac yna yn eu golchi hwynt megis nôd o'i bod yn cael eu glanhau oddiwrth aflendid y grefydd paganaidd; felly ac bod bedydd yn myned yn wastadol ymmhlith yr Iddewon ynghyd gyda'r enwaediad hyd amser ein jachawdwr.*

*Atteb.* Y mae'n arwydd o fatter drwg pan fo dynnion yn gorfod profi ei synwyr mewn môdd môr ynfyd er golfod allan y peth y maent yn ceisio ei profio; attolwg a oedd yr arfer hynny ymmhlith yr Iddewon o fedyddio babanod, pan ollwngwyd rhai o'r cenhedloedd i eglwys yr Iddewon, gwedi cael ei orchymyn gan Dduw; a roddodd Duw i'r Iddewon y fâth gyfraith neu orchymyn vn amser? Neu onid oedd hyn yn vn o'i traddodiadau ei hun; y rhai o'i doethineb ei hun, heb ddim mâth o awdurdod oddiwrth eu Prophwyd mawr, a'u gwneuthurwr-cyfraith a ddychymygasant

mygasant y ceremoni hynny, ysgatfudd er golchi ymmaith budreddi y paganodd, megis ac y gwnaeth eich henafiaid chwi yn yr vn modd, heb ddim awdurdodd neu orchymyn oddiwrth Jesu Grist, gan ddychymygu bedyddio plant er golchi ymmaith fudreddi y pechod dechreuol; onid ydyw eid jachawdwr bendigedig yn dywedyd *iddynt hwy ddiddymmu gorchymynion Duw trwy eu traddodiadau eu hunain?* Yr wyf yn haeru na roddwydd hyn erjoed iddynt hwy megis cyfraith neu orchymyn gan y Duw mawr, ac nid ydych chwi yn ceisio vnwaith brofio mo'r sath beth; canys nid oes mo'r cyscod lleiaf am y fath beth yn yr hên destament oll; am hynny traddodiad pûr ddynol ydoedd.

2. A ddichon vn gwr call, yr hwn nl fynnei wneuthur dim yn wasanaeth Duw, heb lawn reol neu awdurdod oddiwrth gair Duw, gymmeryd y peth hyn a ddywedwyd yn rheswm da tros fedydd plant? mae'n rhaid i'm ddywedyd wrthych (mal y dywedais eisioes wrthynt hwy y rhai a elwir y *Cymdeithas Atheniaid*, yn erbyn pa rai y darfu i'm ymresymmu ar yr achos hyn) fod traddodiad *Pabaidd* yn gwbl gystal ac vn o draddodiadau'r Iddewon; fe fyddei gwell i chwi bledio fel hyn; *Eglwys Rhufain* a dderbyniodd heb ddim awdurdod oddiwrth air Duw, fedydd plant megis traddodiad Apostolic angscrifenedig; ac mewn rhai cymanfaodd yr ordeiniwyd yn glau ddigon *Quicunque parvulos recentes ab uteris matrum baptizandos esse negat, Anathema esto.* Milev. Can. 2. Ac fe ddarfu iddynt felldigo y cyfryw oll ac a fyddei yn pallu bedyddio plant newydd eni: Pa ham yr ydych yn myned at draddodiadau ffugiol ac ofer y *Rabiniaid* er profio eich bedydd babanaidd, pan y mae gennych dystiolaeth cynifer o Ddoctoriaid *Rhufein*, a chymanfaodd cyffredin, y rhai ydynt yn haeru yn llawn ddigon y dylech fedyddio 'ch plant? yn ddiau y mae awdurdod y rhai dywedaf cystal a rhai cyntaf.

3. Eithr a ydyw'r peth fel hyn mewn gwirionedd? a ddywedodd ein jachawdwr ddim am fedyddio plant? neu megis yr ydych chwi yn annog, sef, iddo adael cyn lleied, o'i herwydd yn y Testament Newydd, oblegid mae arfer cyffredin ydoedd ymmhlith yr Iddewon o fedyddio plant y paganodd cyn iddynt eu gollwng iw heglwys? y mae'r peth a ddywedodd y Doctoriaid *Hammond*, *Taylor* a *Lightfoot*

font ar yr achos hynny er cywilyd a gwradwydd iddynt yn hytrach nag iw anrhydedd; er y môd yn gwybod mae eu noddfa diwethaf ydoedd hyn, pan welsont na allei ych testunau o'r scrythur brofio mae gwirionedd Crist yw'r peth hyn: Och! pa rwymedigaeth sydd arnom i Dalmud yr Iddewon ac i'r Rabiniaid ymmhlith yr Iddewon am ein bedydd babanaidd! Ie, pa rwymedigaeth sydd ar Grist (ac y mae hyn yn waeth etto) iddynt am y dychymyg rhagorol hynny, gan ddywedyd cymmaint trosto a'i wneuthur yn arferiad mor gyffredin yn eu plith, fel na byddei iddo gymmeryd mo'r poen arno o roddi y cyffarwyddiad lleiaf am dano? onid ydyw hyn yn agos i gabledd? A ddichon vn dyn yn ei lawn synwyr dybied y byddei i'n Harglwydd Jesu siccrhau traddodiad ffieidd ac adnewyddiad yr Iddewon? neu gymeryd ei ordinhâad fawr a'r Sacrament o fedydd oddiwrth ofergoelion ac arferiad ffieidd afreolus eu Doctoriaid a'u Rabiniaid hwy? Ymmhellach, a oedd bedydd i gael ei bregethu neu arfer gan neb ond yr Iddewon? Onid oedd yn perthyn i'r cenhedloedd hefyd? oni orchymynnodd ein jachawdwr iw ddiscyblion fyned at yr holl genhedloedd a'u gwneuthur yn ddiscyblion a'u bedyddio hwynt, &c. Ai feddwl ydoedd am i fabanod gael eu bedyddio, ac etto ni ddywedodd ddim am hyn; o herwydd mae gwaith ac arfer cyffredin ydoedd ymmhlith yr Iddewon? eithr attolwg pa beth sydd raid i'r cenhedloedd mo'i wneuthur, mal y gallont wybod fod hyn yn ddyledswydd arnynt? (fy meddwl yw, y cenhedloedd hynny y rhai a dderbyniasant y ffydd Gristnogawl) sef, y dylent fedyddio eu plant, y rhai ni wybuant ac ni clywsant erjoed am yr arferiad hyn ymmhlith yr Iddewon? neu a anturiwch chwi ddywedyd nad yw ein Testament Newydd yn ddilys neu'n ddigonol er ein dyscu ni yn holl ddyledswyddau yr efengyl ac vfyddod, heb Dalmud yr Iddewon? ni ddylasech (y mae'n eglur) vn vnig ddywedyd nad yw'r Testament Newydd heb yr hên yn rheol ein arferiâd, eithr hefyd nad yw'r Testament Newydd a'r hên, heb Dalmud yr Iddewon yn ddigonol, ac yna chwychwi a wnaethech eich gwaith ar vnwaith; onid oes arnoch gywilydd fyned yn y modd hyn i ddallu a thwyllo dynnion truenus?

Onid yw ewyllys Jesu Grist oll, ie ei holl gyfreithiau a'i orchymynnion neu ei holl gynghor yn cael eu cynnwys yn eglur yn ei air bendigedig, eithr a fynnwch chwi fod

pobl

pobl yn doethion vwchlaw yr hyn a scrifennwyd, a dyscu i ddynnion roddi bai ar ofal o ffyddlondeb y Jesu bendigedig, gan adael allan o'r bibl-cyssegr-lân yn o wirioneddau mawr Duw, a'n gadael ni i ymofyn ef allan yn nhraddodiadau yr Iddewon?

4. Os arfer ydoedd ymmhlith yr Iddewon, y mae'n rhaid iddo fod yn arfer sanctaidd, fy meddwl yw, y fâth arfer ac y gaedd ei appwyntio gan Dduw ac a orchymynnodd efe iddynt hwy ei gadw; onide rhaid iddo fôd yn draddodiad dynol neu arfer ofer; pe buasei yn ddefod gwedi ei ordeinio trwy weinidogaeth *Moses* ai roddi gan Dduw ei hun i'r Iddewon; Christ yn ddiau ai diddymmodd hi ac a'i hoeliodd wrth ei groes, gyda ei holl gyfeillion, ac fe ddarfu am dani yn dragywydd, pan na roddodd mo honi allan drachefn.

Cymmerwch y rheswm hyn.

Nid oedd yr arfer hynny ymmhlith yr Iddewon, yr hwn ni orchymynnwyd gan Dduw erioed, ac nid yw yn vn man gwedi cael ei roddi gan *Moses* iddynt hwy (yr hwn ydoedd ffyddlon yn ei holl dy) yn ordinhâad Duw, eithr traddodiad wîr ddynol; eithr ni orchymynnwyd erjoed gan Dduw yr arfer hynny ymmhlith yr Iddewon o fedyddio y cenhedloedd a'u plant, y rhai oeddynt yn cael eu gollwng iw eglwys hwynt; ac ni roddwyd mo hono yn vn man iddynt hwy gan *Moses*, yr hwn ydoedd ffyddlon yn ei holl dy; am hynny nid oedd yr arfer hwnnw yn ordinhâad Duw eithr traddodiad pûr ddynol ydoedd.

5. Yn ddiweddaf, cymmerwch y peth a ddywedodd awdwr dyscedig ac anrhydeddus o——— er gwrth brofi y rheswm ffôl ac anghysson hwn tros fedydd plant; yr hwn ydyw Sr *Norton Knatchbal*; 'Y mae'r peth (medd 'efe) yn annilys, mal na ellir dywedyd am y Rabiniaid 'nad oedd llaweroedd yn eu plith yn anghyttuno yn ddir-'fawr ynghylch y peth hyn. Canys y mae Rabbi *Eliezar* yn gwrthddywedyd Rabbi *Joshua* yn eglur, yr hwn 'oedd y cyntaf (cyn belled ac yr wyf yn gwybod) ac a 'haerodd y fâth ryw o fedydd a hwn ymmhlith yr Idde-'won; oblegid y mae Rabbi *Eliezar* yr hwn ydoedd yn 'byw yr vn amser â Rabbi *Joshua*, (onid oedd o'i flaen ef) 'yn haeru fod Proselyt gwedi cael enwaedu arno, ac heb

'eu

'eu fedyddio, yn wir Brofelyt; canys felly yr ydym
'yn darllen am y Patriarchiaid *Abram*, *Isaac* a *Jacob*,
'iddynt hwy gael enwaedu arnynt ac nid i'w bedyddio;
'eithr y mae Rabbi *Joshua* yn haeru, mae efe yr hwn a
'gaedd ei fedyddio, ac nid efe a enwadwyd arno ydoedd
'yn Brofelyt cywir; I bwy y rhoddaf goel, pa vn a'i i *Eli-
'ezar* yr hwn sydd yn haeru yr vn peth ac y mae'r scry-
'thur yn ei gadarnhau, a'i i *Joshua* yr hwn sydd yn hae-
'ru'r peth na ellir cael cwrdd ag ef yn vn man yn y
'scrythur? eithr y Rabiniaid a gynnalasant i fynu ochor
'*Joshua*, ac nid yw ryfedd iddynt wneuthur felly? canys
'yr oedd hyn yn gwasanaethu eu tro hwynt; hynny yw,
'yn tueddu er anrhydedd crefydd yr Iddewon, pan fyddei'r
'Cristnogion yn ceisio benthyg eu Ceremoniau hwynt. Ei-
'thr pan yr ydwyf yn gweled gwyr dyscedig jawn yn
'yr amseroedd hyn yn tynnu sailiau gwirionedd oddiwrth
'y Rabiniaid ni allaf lai nag arswydo dros ychydig; ca-
'nys o ba le y danfonwyd y *Talmud*, mal y mae *Buxtorf*
'yn ei Lyfr a elwir *Synagoga Judaica* yn dywedyd, mal
'y mae'n rhaid i'n roddo coel iddo, megis ac y dylem gre-
'du y gall neu y dylei cyffraith *Moses* gael ei deall oddi
'yno? a'r Efengyl yn llai o lawer, i ba vn y maent yn
'elynion cyhoeddus; canys y *Talmud* a elwir yn Laby-
'rinth o gamsyniadau ac yn sail chwedlau ofer yr Iddewon;
'fe ddaethpwyd ag ef i berthffeithrwydd, ac a gynnali-
'wyd megis peth awdurdedig bum cant o flynyddau yn
'ôl Crist; am hynny y mae'n beth di-resswm i neb se-
'fyll ar ei dystiolaeth ef; a'r peth y sydd yn fy nghynyr-
'fu i fwyaf ydyw hyn, nad yw *Josephus* (gan ddywedyd
'dim am y tadau oll ac oeddynt fyw cyn dibennu y *Tal-
'mud*) yr hwn oedd Iddew ac yn byw yr vn amser â
'Rabbi *Eliezar*, a'r hwn hefyd a scrifennodd yn neilltuol
'oblegid defodau, arferion a gweithredoedd yr Iddewon,
'yn dywedyd vn gair am y peth hyn; felly mal y mae'n
'rhesswm ychydig lai na dangosawl imi, fôd dau o'r sâth ber-
'sonau rhagorol, ill dau yn Iddewon ac yn byw yn yr vn
'amser, ac etto y naill yn naccau yn vniawn, a'r llall heb
'crybwyll am bedydd ymmhlith yr Iddewon; heblawn
'hyn, pe buasei fedydd mal yr ydys yn ei gymmeryd yn
'yr ystyr diweddar, yn cael ei arfer ymmhlith yr Iddewon
'megis yn yr hên amseroedd: pa ham y gofynnodd y
'*Pharisæaid* i *Joan* fedyddiwr, *Pa ham yr wyti yn bedyddio,
'os nid ydwyt na Christ*, *nag* Elias, *na'r Prophwyd hwnnw?*

'Onid

'Onid ydynt hwy yn dangos yn eglur, nad oedd bedydd 'yn cael ei arfer o'r blaen, ac mae barn a dderbynniwyd 'yn eu plith hwynt ydoedd, na byddei dim bedydd hyd 'oni ddelei Crist, neu *Elias* neu'r Prophwyd hwnnw: Hyd yn hyn y scrifennodd yr anrhydeddus Sr *Norton Knatchball* yn ei nodiadau a brintiwyd yn *Rhyd-ychen* yn y Flwyddyn 1677. Gyda chennad y Vice-Canghellawr, gwr dyscedig jawn ac aelod o eglwys *Lloegr*; Sr, Beth yr ydych yn dybied ynawr am ych arfer Iddewig, o fedyddio'r cenhedloedd a'u plant y rhai a gawsant eu gollwng i'r eglwys? Onid ydych chwi yn tybied nad oedd achos crybwyll am fedydd plant yn y scrythur lân pe buasei'n wirionedd? a ydyw'r chwedl annilys hwn o barthed arfer yr Iddewon yn ddigon er peri i chwi adeiladu ych ffydd a'ch arferiad arno ef; pan y gellir yn vniawn ddigon fod yn betrus oblegid gwirionedd y chwedl, o ran y weithred? Eithr pe buasei'n wîr, nid yw ond sail pwdr i adeiladu vn o Sacramentau mawr Crist arni, sef traddodiad aflan, halogedig a dynol Rabbiniaid yr Iddewon.

*Yr ydych yn dywedyd i'r* Israeliaid *a'u plant gael eu bedyddio yn y cwmmwl ac yn y môr coch*, 1 Cor. 10. 2, 3. *Mynediad* Israel *tan y cwmwl a thrwy y môr oedd* (meddwch chwi) *yn fedydd iddynt hwy, y cwmwl a lawiodd arnynt hwynt, a'r Môr a ddiserodd arnynt, yr hwn ydoedd fûr vchel oddiamgylch iddynt.*

2. *Yr ydych chwi yn dywedyd, fod y bedydd hwn tan y cwmmwl yn y môr o ran ei sylwedd yn arwyddoccau yr vn peth â bedydd yr Efengyl, sef yr Arglwydd Jesu Grist a'i fendithion; yr oedd y golchiadau ysprydol yn y môr, a'r diod ysprydol o'r graig yn arwyddoccau yr vn peth, sef Crist; efe ydoedd sylwedd y cyscodau oll tan y gyfraith, yr oedd piler y cwmwl a philer y tân yn rhag-ddangos* (meddwch chwi ) *y bedydd dwfrllydd, a'r bedydd tanllyd, neu'r bedydd gan yr yspryd glân; descynniad y dwfr oddiwrth y cwmmwl oedd yn arwyddoccau tywalltiad yr yspryd glân*, &c.

3. *Y plant* (meddwch chwi) *a gawsant eu bedyddio gyda eu rhieni â bedydd* Moses; *nhwy a gawsant eu gyd eu bedyddio i* Moses, *&c.*

*Atteb.* Y mae'n rhaid i'm wneuthur dau beth er gwrthod yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd ymma.

1. Nad oedd descynniad y glaw oddiwrth y cwmmwl yn arwydd o fedydd.

2. Nad

2. Nad yw'r testun hwn yn profio fod babanod yn ddeiliaid bedydd.

Yn gyntaf os gelli'r dywedyd i ddynnion gael eu bedyddio pan y bo hi yn glawio arnynt, pa sawl amser y cawsech chwi a minneu ein bedyddio felly; heblaw hyn a ydych chwi yn tybied na fwrodd hi law erioed ar yr *Israeliad* cyn iddynt syned trwy y môr.

2. Profiwch os gellwch iddi lawio arnynt hwy y pryd hynny oddiwrth y cwmmwl neu i'r môr ddiferu arnynt; nid yw hyn ond ych dychymyg chwi heb sail iddo.

Profiwch fod glaw yn syrthio arnynt yn cael ei alw yn vn rhyw ystyr yn olchiad neu fedydd.

Am hynny gedewch i'r darllennydd ystyried yn ddyfal beth y mae ein nodadwyr yn ddywedyd ar y lle hwn, gwelwch nodiadau Mr. *Pool* ar 1 *Cor*. 10. 2,3. *Eraill* (medd efe) *sydd yn tybied yn hytrach, fod yr Apostol yn arferyd yr ymadrodd hwn o achos y cyffaddiad mawr sydd rhwng bedydd* (*megis ac yr arferwyd ef y pryd hynny*) *gan fod y rai a oeddynt i gael eu bedyddio yn myned i lawr i'r dwfroedd ac yn cael eu trochi ynddynt, a'r* Israeliaid *yn myned i lawr i'r môr yr hwn ydyw dderbynniwr mawr y dwfr; er bod y dwfr ar y cyfamser hynny yn sefyll yn dyrrau o bob ochor iddynt, etto yr oeddynt mal pe buasent gwedi cael eu claddu yn y dwfr, megis ac yr oedd dynnion yn yr oes honno wrth eu bedyddio:* Mal hyn y mae eich brodyr yn dywedyd y rhai a orphennasant nodiadau Mr. *Pool*, y maent hwy yn dywedyd ymmha ystyr, y dywedwyd i'r tadau gael eu bedyddio i *Moses* yn y môr a than y cwmmwl; Sr, nid oes ymma ddim am daenelliad, tywalltiad neu lawio arnynt hwy; eithr yr oeddynt megis pe buasent yn cael eu claddu yn y môr a than y cwmmwl, ac felly y mae'n arwyddoccau soddiad neu drochiad, yr hwn ydyw gwîr fedydd Crist.

Yr ydym ni yn cael ein *claddu* nid ein taenellu gyda Christ mewn bedydd yn gystal yn yr arwydd ac yn y peth a arwyddocceir hefyd; i ddangos iddo ef farw, cael ei gladdu ac adgyfodi drachefn trossom ni, ac ein bod ni gwedi marw i bechod ac y dylem rodio mewn newydddeb buchedd.

Eithr Sr, na chyfeiliornwch; pan yr ydys yn dywedyd i'r tadau gael eu bedyddio i *Moses* yn y môr a than y cwmmwl, nid bedydd cywir eithr bedydd cyscodawl ydoedd.

2. Nid yw'r lle hyn yn profio fod babanod yn ddeiliaid bedydd Efangylaidd.

1. Yr ydys yn dywedyd i'n tadau oll gael eu bedyddio, ni ddywedir iw plant gael eu bedyddio i *Moses* yn y môr a than y cwmmwl.

2. Eithr yr ydych yn honni fod llawer o blant gyda hwynt, pan aethont trwy y môr, i ba beth yr wyf yn Atteb, felly yr oedd yno lawer o bobl annuwiol, nid oedd yr *Israeliaid* oll yn ddynnion duwiol; eithr amryw yn eu plith oedd yn halogedig ac annuwiol; heblaw hyn yr oedd pobl cymmyscedig yn myned trwy y môr gyda'r tadau hefyd, ac fe allei fod rhai o'r *Aiphtiaid*, ac eraill o wledydd dieithr, a llawer o anifeiliaid hefyd, ac fe gaedd y rhain eu gyd eu bedyddio yn llwyr gwbl cystal a'r plant bychain.

A allwn ni gan hynny fedyddio y rhain, y mae gennym gymmaint o achos, oddiymma am fedyddio y cyfryw, ac y sydd gennych chwi am fedyddio ych babanod, ie mwy o achos, os descynniad y glaw ar yr *Israeliaid* ydoedd y peth ai bedyddiodd hwynt; y mae'n beth annilys pa vn ac i ddim glaw syrthio ar y plant bychain, os syrthiodd ar eu rhieni; oblegid eu rhieni a allent eu gorchguddio hwynt gan dala rhyw beth dros eu pennau a'u cyrph.

Yr ydys yn dywedyd am yr vnrhyw ddynnion, oblegid pa rai y dywed yr Apostol iddynt gael eu bedyddio yn y môr a than y cwmmwl, iddynt hefyd fwytta *o'r vn bwyd ysprydol, ac yfed o'r vn ddiod ysprydol*; ynawr oni bu y plant gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd (fy meddwl yw) Swpper gyscodawl honno yr Arglwydd; y mae'r testun hwn am hynny yn profio cyn gryfed y gellwch, roddi iddynt Swpper yr Arglwydd a bedydd, o herwydd iddynt fwytta o'r *Manna* a syrthiodd i lawr o'r nefoedd, ac yfed o'r dwfr a darddodd allan o'r graig.

4. Sr, Bwriad yr Apostol yn y man hyn ydyw er peri i'r *Corinthiaid* ochelyd rhag yddynt gwympo mal y cwympodd y tadau yn yr anialwch; ac mal y byddei iddynt fôd yn fwy gochelgar, y mae efe yn dangos iddynt, fôd gan y tadau y rhai a syrthiasant (nid y plant) yn yr anialwch, yr vn mâth fraintiau mawr ac oedd ganddynt hwy, sef Bedydd cyfrinachol a Swpper yr Arglwydd o'r vn fâth.

Am hynny nid oedd dim o'r peth hyn yn perthyn iw plant bychain hwy na'n plant ninnau ychwaith.

O ran

O ran yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd oblegid bôd teuluoedd cyfan yn cael eu bedyddio yn y Testament Newydd yn y bennod hon, myfi a adawaf fy Atteb hyd ni delofi at y bennod honno yrmha vn yr ydych yn traethu yn enwedigol oblegid y rhesswm gwan hyn.

'Yr ydych yn dywedyd i'r rhieni a'u plant gael eu be-'dyddio pan rhoddwyd y gyfraith ar fynydd *Sinai*, *Ex.* '19. 10. *Dos at y bobl, a sancteiddia hwynt a golchant eu* '*dillad.*

'Y nawr (meddwch chwi) yr oedd golchiad eu dillad 'a golchiad eu cyrph yn myned ynghyd *Lev.* 15. 5, 6. Gol-'ched ei ddillad ac ymdroched mewn dwfr, a phan gaw-'sant ei golchi yn llyn, y mae'r Apostol yn dywedyd i'r holl 'bobl fyned mewn cyfammod â Duw trwy fedydd, *Heb.* 9. 19. '*Canys gwedi* Moses *adrodd yr holl orchymyn yn ôl y gyfraith,* '*wrth yr holl bobl, efe a gymerodd waed lloi a geifr dwfr, ac* '*a'u taenellodd ar y Llyfr a'r bobl*; y mae'r Apostol yn ga-'lw'r taenelliad hyn yn fedydd, *Heb.* 9. 10. amryw fedy-ddiadau, &c.

Yr wyt yn atteb ddarfod i chwi vnwaith eisioes er cywilydd mawr i chwi, ac y mae arnaf ofn yn erbyn goleuni eich cydwybod haeru yr hyn nid yw wir; yr wyf yn appelio attoch chwi a'r cyfryw oll ac a allant ddarllen y iaith *Groeg* pa vn ai bôd y gair hynny yn *Heb.* 9. 10. Διαφόροις βαπτισμοῖς, *amryw olchiadau*, yr hwn nid wyf yn naccau na all gael ei gyfieuthu, *Amryw fedyddiadau* yr vn â'r gair yn *Heb.* 9. 19. sef ἐῤῥάντισε *taenelliad* neu *efe a daenellodd y Llyfr a'r bobl oll*, pa vn ai'r gair βαπτίσω, neu ῥαντίζω sydd yno, dywedwch a chyfaddefwch ych anwybodaeth, ac onide cyffesswch ych pechod gan gymeryd arnoch dwyllo y bobl, wrth wneuthur iddynt goelio fod taenelliad yn y *Groeg* yr vn peth a bedydd neu fedyddio.

Canys er bod Golchiad yn *Heb.* 9. 10. Yr vn peth a bedydd neu fedyddio, etto yn *Heb.* 9. 19. taenellu y Llyfr a'r bobl, ni ellwch ammeu, yn y *Groeg* sydd yn arwyddoccau *rantizing.*

2. A pheth er bod yr amryw olchiadau hynny yn cael eu galw yn fedyddiadau; myfi a ddangosais eisioes oddiwrth awdwr ffyddlon a dyscedig sef Mr. *Henry Ainsworth*, fod yr holl olchiadau cyfreithlon hynny yn cael eu gwneuthur trwy soddi yr holl gorph trosto. Cymmerwch ei eiriau ar *Levit.* 11. 32. 'Y cyfryw oll ac ydynt aflan pa vn ai dynnion 'neu lestri, nid ydynt yn cael eu glanhau onid trwy soddi 'neu fedyddio mo honynt mewn dwfr, a pha le bynnag y

'mae'r

'mae'r scrythur yn dywedyd am olchiad cnawd dyn, neu 'olchiad dillad o barthed aflendid, trwy soddiad yr holl 'gorph ynddo y mae yn dywedyd, a pha vn ai dynnion 'neu lestri ydynt ni dylei fod dim peth rhwngddynt hwy 'ar dwfr iw cadw oddiwrth ei gilydd, megis llaidd, Pyg 'neu'r fâch beth ac y sydd yn glynu wrth y corph neu'r 'llestr; os bydd; fe ddywedir i bod hwynt yn aflan ac 'ni thal eu golchiad ddim iddynt *Maim Mikvaoth C.* 1. §. '12. 21.

Sr, Gochelwch beth y haeroch yn oll llaw, yr oedd y gwr hyn fel yr ydych chwi a phawb yn gwybod, yn ddeallus yn nefodau a Ceremoniau'r Iddewon; a pheth a ddichon ddiddadlu yn fwy cyflawn yr hyn yr ydych chwi yn ei haeru oblegid golchiadau neu fedyddiadau 'r Iddewon; Eithr pa le yr ydym yn darllen am daenelliad gwaed neu ddwfr, nid bedydd ydyw, Onid ydyw *baptizo* a *rantizo* ill dau yn vn rhyw air neu beth, yr hyn yr ydym ni yn naccau yn llwyr gwbl.

Sr beth er i'r bobl oll gael eu golchi, ie yr holl gynulleidfa; onid eglwys cyscodawl ydoedd, ac onid oedd yn arwyddoccau y dylei y gwîr crediniol oll gael eu golchi yngwaed Crist trwy gyfiawnhâad, yr hwn a arwyddoccawyd wrth daenellu gwaed lloi a geifr; ac hefyd cael ein golchi mewn dwfr oedd yn arwyddoccau i ni gael ein golchi gan yr yspryd glân trwy sancteiddiad; y pethau hyn oeddynt yn cael eu dal allan oddiymma, ac nid bedydd; chwi a fynnwch wneuthur vn peth yr hwn sydd yn ddull neu gyscod, yn arwydd o beth arall, nad yw ei hun onid dull neu gyscod; oblegid y mae bedydd yn arwyddoccau marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Crist, a'n marwolaeth ni i bechod, a'n bywhau i newydd-deb buchedd.

Eithr y dulliau hyn oeddynt gyscodau o bethau da i ddyfod, ie, o Grist; efe ydoedd y sylwedd o honynt hwy oll; y mae'n rhaid iddynt hwy (meddafi) rag-arwyddoccau sylwedd ac nid cyscod.

4. Chwi a gollasoch ych holl boen yn y man hyn ynghylch yr amryw fedyddiadau cyfreithlawn a'r defodau hynny tan yr hên destament, ac ynghylch bod plant yn y gyfammod honno, o herwydd arwyddion oll oeddynt, y cae yr etholedigion oll neu'r cyfryw oll ac a gredent ynghrist eu golchi yngwaed Crist, neu y caffent daenelliad ei waed

ef

ef arnynt a'u sancteiddio gan ei yspryd hefyd: cyfammod gyfreithlon gyscodawl oddiallan ydoedd neu eglwys gyscodawl oddiallan, yn arwyddoccau yr eglwys wîr ysprydol Efangylaidd, a hynny yn yr vn modd ac yr oedd enwaediad a'r amryw olchiadau hynny yn perthyn i holl dy *Israel* pa vn ai duwiol neu annuwiol oeddynt.

Felly holl wîr *Israel* tan oruchwiliaeth yr Efengyl y gaent y sylwedd neu'r eilun o honynt, a phan gyrhaeddo neb at ffydd ynghrist ac y caffont y peth ac y sydd yn cael ei arwyddoccau mewn bedydd; nhwy a ddylent y pryd hynny ac nid o'r blaen gael eu bedyddio.

Eithr y peth hyn sydd i wneuthur, nid am eu bod hwynt mewn cyfammod neu fod y peth sydd yn cael ei arwyddoccau mewn bedydd ganddynt, eithr o herwydd gorchymyn vniawn a phennodol Crist.

Ni all dim roddi hanffod i ordinhâad ac y sydd yn sefyll yn gwbl ar ddefod pûr bennodol, heblaw ewyllys bennodol a gorchymyn y gwneuthurwr-cyfraith.

1. Y mae'n ymddangos yn eglur oddiwrth y cwbl yn wrthwyneb i'r hyn ac y mae Mr. *Owen* yn ei ddywedyd; nad yw taenelliad dwfr yn fedydd.

2 Fod Duw yn derbyn pôb vn i'r gyfammod o râs a'r eglwys Efangylaidd trwy olchiad ysprydol yr ail-enedigaeth a sancteiddiad yr yspryd, a'r cyfryw yn vnig yn ôl gorchymyn pennodol Christ y ddylent gael eu bedyddio.

3. Nad oedd dim bedydd Efangylaid, dim o fedydd Crist tan y ddeddf, eithr gorchymyn pûr bennodol ac ordeiniad ein Harglwydd Jesu ydyw.

4. Na dderbynniodd Duw neb o'i bobl tan y gyfraith iw gyfammod trwy fedydd neu dywalltiad dwfr a gwaed. A bod taenelliad gwaed yn ddull o gymmod trwy offrwm gwaedlyd Crist, ac wrth daenelliad dwfr yr oeddyt yn arwyddoccau rhinwedd sanctéiddiol yr yspryd yn y grâs o sanctéiddiad, ac nid bedydd Efangylaidd.

5. Mae gorchymyn pûr bennodol Christ yn y Testament Newydd sydd yn rhoddi hanffod a gwîr hawl i fedydd Efangylaidd.

6. Er bod y plant gydag eu rhieni yn cael eu cymmeryd i mewn i'r eglwys gyfreithlon neu eglwys yr Iddewon, a hyn hefyd trwy orchymyn pennodol Duw, gan fod yr eglwys honno yn eglwys genhedlig a chyscodawl, etto

etto nid oes neb plant na rhieni yn ôl gorchymyn Crist yn y Testament Newydd i gael eu derbyn i'r eglwys Efangylaidd, eithr y cyfryw o honynt yn unig ac y sydd yn credu ac yn cael eu golchi yngwaed Crist a'u sancteiddio trwy ddwfr sanctaidd yr yspryd glân, yn gymmaint ac nid yw eglwys Duw ynawr yn eglwys cenhedlig eithr yn eglwys ymgynnulliedig, nid yn cael ei hanffod o hâd cnawdol, megis y cyfryw, ond o hâd ysprydol *Abram*; ac pan nad oes na gorchymyn na siampl yn y Testament Newydd trwyddo am i un baban oll gael ei fedyddio neu gymeryd i mewn i'r eglwys Efangylaidd, y mae'n canlyn, mae traddodiad dynol ydyw.

7. Y gyfammod a wnaethpwyd ar *Sinai* a'r gyfraith Ceremoniaidd nid oeddynt y gyfammod o râs, er iddynt gael eu rhoddi er gwasanaeth iddi, a bod y diweddaf yn ddull eglur o'r gyfammod o râs; ac yn ei dal allan i'r cyfryw rai ac trwy ffydd a fyddent yn edrych o'r tu hwynt i'r offrymmau hynny at yr eulun o honynt.

Yn ddiweddaf y mae Mr. *Owen* yn dywedyd; *os caedd plant eu bedyddio gynt i'r gyfammod, oni ddylent hwy gael eu bedyddio i'r gyfammod hon ynawr, yn enwedig o herwydd bod grâs y gyfammod gwedi cael ei amlhau, tan oruchwiliaeth yr efengyl a'r breintiau yn lledanach.*

Yr wyf yn Atteb, y mae efe yn ceisio'r gofyniad, gan haeru yr hyn ni's profiodd ac nid yw fyth yn gallu mo'i brofio.

1. Am i blant gael eu bedyddio i'r gyfammod tan y ddeddf, pwy o honynt hwy ac y sydd yn dal bedydd plant a haerodd hyn o'r blaen, ac y mae efe yn ei haeru yn ofer ynawr oni allei brofio, fod taenelliad yn fedydd; ac yn ail, i fabanod oll gael eu derbyn i gyfammod â Duw trwy'r taenelliad cyfreithlon ac nid cyn hynny, eithr yn ddiau babanod yr Iddewon oll a anwyd yn aelodau o'r eglwys genhedlig honno, ac am hynny ni chawsant mo'i derbyn i'r eglwys a'r gyfammod trwy enwaediad, pa beth y mae'r rhan fwyaf o'r rheini a ddalant fedydd plant yn ei haeru, pa faint llai ni chawsant wrth daenelliad gwaed a dwfr arnynt; etto nid wyf yn naccau na allei'r taenelliad hynny o waed a dwfr fod yn arwydd i bod nhwy a holl dy *Israel* yn bobl mewn cyfammod cyfreithlon â Dduw, ac felly yn ddull o holl *Israel* ysprydol y rhai a fyddent i gael eu golchi yngwaed Christ, neu waed y gyfammod newydd, ai sancteiddio gan eu yspryd.

2. Ymmhellach, y mae'n eglur, er bod y gyfammod o râs yn y goruchwiliaeth o honi tan yr Efengyl gwedi cael ei ymyftyn, a bod y braintiau yfprydol yn lledanach na braintiau 'r gyfammod cyfreithlon a'r eglwys gyfreithlon etto y mae 'r braintiau oddiallan yn llai, ac nid ydynt môr gyflawn y nawr ac yr oedd eu braintiau hwynt; pa faint o fraintiau daiarol oddiallan oedd gan yr Iddewon a gweinidogion Duw tan y gyfraith, pa rai y darfu i'm gyfrif yn nechreu'r traethiad hwn; ac fel hyn yr wyf yn dibennu â'ch wythfed Reffwm.

---

# P E N. XV.

*Gan brofio nad oes gan blant ddim hawl i fedydd oddiwrth weinidogaeth* Joan *fedyddiwr, ymmha vn yn wrthwyneb i'r hyn y mae Mr.* James Owen *yn ei ddywedyd yn ei 12 bennod, yr ydys yn dangos na fedyddiodd* Joan *fedyddiwr ddim babanod, nag yn ôl arfer eglwys yr Iddewon, nag trwy rinwedd vn Commiffiwn a gafodd efe oddiwrth Dduw yr hwn ai hanfonodd; Gan gynnwys Atteb i nawfed Reffwm Mr.* Owen *tros fedydd plant.*

Y Mâe Mr. *Owen* yn dywedyd os bedyddiodd *Joan* fa-'banod, y mae bedydd bôb amser yn perthyn iddynt 'hwy, oblegid Bedydd *Joan* a bedydd yr Apoftolion oe-'ddynt o'r vnrhyw o ran fylwedd; efe a fedyddiodd yn 'enw Crift yr hwn oedd i ddyfod, ac hwynt hwy a fedy-'ddiafant yn enw Chrift yr hwn oedd gwedi dyfod.

*Atteb.* Os gellwch brofio i *Joan* fedyddio babanod yr ydych yn gwneuthur ych gwaith yn dra jawn.

'Ynawr

'Ynawr (meddwch chwi) yr hyn sydd gennym ni iw 'brofio yn y bennod hon ydyw, i *Joan* fedyddio babanod, 'ac er eglurhau y peth hyn gedewch f'n ystyried ;

'Ni ddaeth *Joan* fedyddiwr i ddiddymmu cysammod '*Abram*, eithr yn hytrach i chyflawni hi ; a chysammod '*Abram* ydoedd hyn, y byddei Duw yn Dduw iw bobl ac iw 'hâd, ac yr oedd holl eglwys weledig yr Iddewon yn y 'gysammod hon ; y mae *Joan* yn eu rhybuddio hwynt, na 'fyddei iddynt fwrw eu hyder a'r fraintiau'r gysammod 'hon, trwy fyw bywyd annuwiol ; nid yw efe yn vn lle yn 'diddymmu'r gysammod hon ; eithr y mae yn hytrach yn 'ei chadarnhau, gan ddywedyd y cyfodyff Duw blant 'eraill i *Abram*, oni ddwgei'r Iddewon ffrwyth addas er 'edifeirwch ; efe a ddaeth i fedyddio hâd *Abram*, y rhai 'oeddynt bawb o honynt oddifewn cysammod Duw, nid 'yn vnig y rhieni eithr eu plant hefyd ; am hynny yr oedd 'gan y plant yr vn rhyw hawl i fedydd ac oedd gan eu 'rhieni.

*Atteb* 1. Nid wyf yn gwadu nad oedd holl dy *Israel* mewn cysammod â Duw, y rhieni a'r plant hefyd, ac felly y darfu iddynt barhau, hyd oni thaflwyd ymmaith yr hên gysammod, a hâd yr hên gysammod ; *Eithr beth y mae'r scrythur yn ei ddywedyd, Bwrw allan y wasanaeth-ferch ai mâb Gal.* 4. 30. Ynawr y mae'r Apostol yn dywedyd wrthych, mae wrth y wasanaeth-ferch yr ydys yn meddwl Mynydd *Sinai* ac wrth ei mâb, hâd naturiol *Abram*, megis y cyfryw. *Gal.* 4. 22, 23, 24, 25.

2. Yr ydych chwi wrth ganiattau hyn yn profio nad oedd cysammod yr Iddewon yr hon a gymeroedd i mewn yr holl bobl, sef y rhieni a'r plant hefyd, yn vn peth â'r gysammod o râs, o herwydd nad oedd nemmor o'r Iddewon oddifewn yr etholedigaeth ac felly yn y gysammod o râs.

Gwelwch yr hyn a scrifennodd Dr. *Owen* ar yr *Heb.* y drydydd Ran ; *tu dalen* 256. Y gysammod o râs yngHrist a wneir yn vnig ag *Israel* Duw, eglwys yr etholedigion, *tu dalen* 291. *Y gysammod newydd a wnaed â'r cyfryw oll ac a fyddant gyfrannogion o honi yn effeithiol ac yn ddamwainol, ac os nid ydynt felly, â pha rai yr ydys yn gwneuthur y gysammod newydd, y mae hi yn llai effeithiol na'r hen gysammod ; y rhai oeddynt yn gyfrannogion o fendithion honno yn weithredol :* hynny yw o'r bendithion hynny oddiallan.

Ac nid yw'r hyn yr ydych yn grybwyll yn ych cynnorthwyo chwi, pan yr ydys yn dywedyd yn y gyfammod honno a wnaethpwyd ag *Abram* a holl dy *Israel*, *y byddei Duw yn Dduw iddynt hwy*, neu yn Dduw iddynt hwy a'u hâd yn eu cenhedlaethau; oblegid Fe ellir dywedyd fod Duw yn Dduw i bobl, amryw o ffyrdd, mal y mae Dr. *Bates* yn dal' sulw.

1. Ac achos creadigaeth, y modd hyn y mae efe yn Dduw ag yn Dâd ini; *Ynawr o Arglwydd ein tâd ni ydwyt ti, nyni ydym glai, a thithau yw ein lluniwr ni, ie gwaith dy law ydym ni oll.* Esau 64. 8.

2. Medd efe, y mae trwy alwedigaeth a proffes oddiallan garennydd y tâd a'r mâb yn redeg rhwng Duw ai bobl, fel hyn y mae hiliogaeth *Seth* yn cael eu galw yn feibion Duw, *Gen.* 6. Ac yr ydys yn galw holl genedl yr Iddewon felly, *Pan oedd* Israel *yn jevaingc, myfi a elwais fy mâb o'r Aipht* Hos. 11. *Fel hyn Dr.* Bates *yn ei bregeth ar gladdedigaeth Mr.* Baxter.

3. Duw a ddichon fod yn Dduw i bobl mewn ffordd o hawl neilltuol trwy etholedigaeth, adenedigaeth a mabwsiad, nid oedd yn Dduw fel hyn i holl dy *Israel* i'r rhieni a'r plant hefyd.

Etto yr ydym yn caniattau fod Duw yn Dduw iddynt gan wneuthur cyfammod weledig oddiallan â hwynt, ac yn yr ystyr hynny fe ddywedir i fod efe yn Dduw ac yn wr iddynt, *Jer.* 31. 31. *Pa gyfammod hwynt hwy a dorrasant er fy môl yn wr iddynt, medd yr Arglwydd.* Eithr attolwg delwch sulw, yr ydys yn dywedyd nad yw'r gyfammod newydd *Yn ôl y gyfammod honno a wnaeth Duw â'r bobl hyn, pan gymerodd efe hwynt wrth ei llaw ac y dygwys efe hwynt allan o dir yr* Aipht.

4. Ynawr os y gyfammod honno, yn yr hon yr ydys yn dywedyd i Dduw fod yn Dduw iddynt, oedd yr hên cyfammod, neu'r gyfammod gyntaf, yr hon a gymerwyd ymmaith gan Duw er cadarnhau yr ail gyfammod; beth y dâl hyn yr ydych chwi yn haeru ymma.

Yn ddiau ni fuasei *Joan* yn myned ynghylch cadarnhau y gyfammod honno; yr hon yr oedd efe yn gwybod, fod ei feistr yn barod i gymeryd ymmaith, sef, y gyfammod neilltuol honno a wnaeth Duw ag *Abram* a'i hâd naturiol megis y cyfryw; Nid ydym yn naccau nad yw'r rhydd addewid a wnaeth Duw ag *Abram*, yn vn peth â'r cyfammod

o râs; eithr nad oes dim ychwaneg yn perthyn at hâd y credadwy megis y cyfryw, na hâd yr anghredadwy, canys rhai o'u hâd hwynt a allant fôd oddifewn y gyfammod o râs a rhai o hâd y credadwy ni's gallant; hynny yw, fe ddichon plant yr addewid neu'r gyfammod o râs, neu'r etholedigaeth Duw fôd yn gorwedd ymmhlith plant yr anghredadwy yn gyſtal ac ymmhlith plant y credadwy, er nad wyf yn ammeu nad yw mwy o blant y crediniol yn cael eu galw nag o'r rhai eraill, a bod ganthynt fwy o fraintiau, ſef trwy athrawiaeth, gweddiau a ſiampl dda eu rhieni. Ac,

5. Er na ddiddymmodd *Joan* y gyfammod honno oddi-allan; etto yn gymmaint ai fod efe i barattoi ffordd Chriſt, efe a roddodd fynegiad eglur i'r Iddewon am ei diddymmiad neu ddiben o honi, ac na wnei ynawr ddim llês iddynt.

Hwynt hwy yn wîr a wnaethant yr hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd, yn rheſſwm am iddynt ddyfod at ei ſedydd ef; ſef o herwydd y gyfammod honno a wnaethpwyd ag *Abram*, neu o ran eu bod hwy yn blant iddo ef; eithr beth a ddywedodd *Joan*, *Na thebygwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae* Abram *yn dâd ini.* Mal pe buaſei efe yn dywedyd, nid yw ych bod yn hâd i *Abram* grediniol yn ôl y cnawd yn rhoddi i chwi hawl i'r bedydd Efangylaidd, nag i vn o ordinhadau neu fraintiau eraill yr efengyl, er iddo roddi i chwi hawl i enwaediad a'r braintiau tan y gyfraith.

*Yr ydych chwi yn dywedyd nad yw efe yn diddymmu y gyſammod a wnaethpwyd ag* Abram, *eithr yn hytrach yn ei cadarnhau hi, gan ddywedyd y gallei Duw gyſodi plant eraill i* Abram, *oni ddygei'r Iddewon ffrwyth addas i ediſeirwch.*

*Atteb.* Er na ddiddymmodd efe y gyfammod gyfreithlawn honno, etto efe a eglurhaodd ei natûr i'r Iddewon, ac a ddangoſodd iddynt eu camſynniad a'u cyfeiliornad mawr o'i phlegid, gan fynegi yn eglur fod y gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw ag *Abram* a'i hâd yſprydol yn anghyttuno ac heb fod o'r vnrhyw natûr â'r gyfammod honno a wnaeth Duw ag ef a'i hâd naturiol megis y cyfryw; 'Canys (medd efe) Duw a all gyſodi o'r cerrig 'hyn blant i *Abram*, gan ſeddwl y cenhedloedd, mal y 'mae eſponwyr yn dywedyd; od oedd y gyfammod yr hon 'a wnaethpwyd ag *Abram* yn redeg yn vnig iw hâd cnaw-

 'dol

'dol ef, megis y cyfryw, pa ham y dywedodd *Joan* y 'gallei Duw gyfodi i fynu rai eraill i fod yn blant iddo 'ef, ie y cyfryw ac nid oeddynt o'i hâd naturiol ef, ac hefyd pa ham y gwrthododd efe hwynt y rhai oeddynt o'i 'hâd naturiol, ac ni ddygasant allan ffrwyth addas i edi-'feirwch neu a ballasant a chredu, ac felly dangos eu hunain 'fod yn hâd gwîr ysprydol *Abram*.

5. Oddiymma y mae'n canlyn, yn wrthwyneb i'r hyn yr ydych chwi yn ei dywedyd, nad yw'r bedydd Efangylaidd yn cyrrhaeddyd cyn belled ag enwaediad; *Megis ac yr ydoedd yr holl wlâd* (meddwch chwi) *tan yr enwaediad, felly y mae* Joan *yn eu derbyn hwynt i'w fedydd, ni wrthododd neb ac a ddaethant at ei fedydd, eithr efe a dderbynniodd Publicanod, Pharisæaid, Saducæaid, sef, y cenhedlaethau gwiberod* Mat. 3. 7, 8. Ac a ellir tybied iddo wrthod plant bychain.

*Atteb.* Y mae'n rhyfedd gennyf ych bod chwi yn haeru i *Joan* dderbyn yr hollwlâd i'w bedydd, ac na wrthododd efe neb, ie na'r cenhedlaethau gwiberod; yr wyf yn naccau 'r peth hyn, ac nid oes gennych liw o resswm am y fâth haeriad, gan iddo ef eu ceryddu hwynt, pan welodd eu bôd yn dyfod at ei fedydd ef, ac a orchymynnodd iddynt ddwyn allan ffrwyth addas i edifeirwch; profiwch os gellwch iddo fedyddio vn dyn ond y cyfryw yn vnig ac oeddynt yn edifeiriol ac yn dangos gwirionedd eu hedifeirwch wrth ddwyn allan ei ffrwythau ef.

Y mae'n rhyfedd gennyf fod vn dyn yn haeru i *Joan Fedyddiwr*, ar athrawiaeth a gweinidogaeth pa vn, y mae'r difeinwyr oll yn edrych megis pethau *tôst* a *chaled*, fedyddio y gwaethaf a ddynnion, ie, yr cyfryw ac a alwodd efe yn genhedlaethau gwiberod; Sr, Beth yw meddwl y rhesswm hyn sydd gennych tros fedydd plant, yn ddiau fe all pawb ei weled yn hawdd, onid ydyw yn tueddu i brofio fod i holl wyr a gwragedd annuwiol ac anghrediniol gael eu bedyddio cystal a babanod.

Gadewch i'm gasglu yn vniawn ddigon oddiwrth yr hyn ac yr ydych yn ei ddywedyd ymma, ychydig bethau yn y modd hyn; sef,

Os bedyddiodd *Joan Fedyddiwr* y cyfryw oll ac a ddaethant etto ef, ie, 'r Iddewon annuwiol eu gyd, sef Publicanod, Saducæaid, Pharisæaid, ie, y cenhedlaethau gwiberod hynny, yna y mae'r anghrediniol, ie, y gwaethaf a ffie-

iddiaf

eiddiaf o iddynnion cymmaint yn wir ddeiliaid o fedydd a'r crediniol.

Nid oes matter pa vn a'u bod hwynt yn credu neu peidio, yn edifarhau neu peidio, neu'n bresennol yn dwyn ffrwyth addas i edifeirwch neu peidio; fe gymerodd Duw eu gair, eu addewidion y gwnaent y pethau hynny yn ôl llaw.

Pa bethau dieithr yr ydych yn osod ar ych darllenwyr anochelgar, mysi a dybiais bod yn rhaid i'r cyfryw oll ac sydd o oedran (yn ôl gwyddorion eglur y rhai a ddalant fedydd plant cystal a'r Bedyddwyr) gredu a mynegu gwîr edifeirwch cyn iddynt gael eu bedyddio; Darllennydd gwêl Lyfr Mr. *Baxter* yr hwn a elwir *Cadarnhâad ac edfryd*, Printiedig yn *Llundain* yn y flwyddyn 1658. fel hyn y mae efe yn haeru: sef;

*Y mae'n ddiammeu ddigon fod crediniaeth personol yn cael ei ofyn er profio titl y cyfryw ac ydynt o oedran. tu dalen* 16.

*1. Y mae'r addewid ei hun yn gofyn yn eglur ffydd gan y cyfryw oll ac y sydd o oedran. Yr hwn sydd yn credu ac yn cael ei fedyddio a fydd cadwedig* Marc. 16. 16. *beth sydd yn sy rhwystro i gael sy medyddio, a* Phylip *a ddywedodd os ydwyt yn credu â'th holl galon di elli*: Y mae Mr. *Baxter* yn crybwyll y ddau destun hyn gyda llaweroedd o rai eraill.

Ei ail resswm sydd fel hyn, *Oni byddei proffes ffydd yn angbenraid* coram Ecclesia, *am i ddynnion fod mewn cymundeb eglwysig ac chael braintiau, yna fe fyddei hawl gan yr angbrediniol a'r cenhedloedd.*

Y mae ei drydydd Rhesswm yn rhedeg fel hyn sef, *Y mae'n beth yr ydys yn ei ganiattau ymmhlith Christnogion eu gyd, fod proffes fel hyn yn anghenraid; nid oedd yr Apostolion a'r hên eglwys yn gollwng neb i mewn hebddo.* tu dalen 17. 21.

Ymmhellach y mae efe yn dywedyd *tu dalen* 24. *Ni wyddom pan ossododd* Joan Fedyddiwr *ei weinidogaeth i fynu, efe a wnaeth i'r bobl gyfaddef ei pechodau* ——— *ac yn gymmaint* (medd efe) *a bod rhai yn dywedyd i* Joan *fedyddio y cyfryw ac a alwodd efe yn genhedlaeth gwiberod; yr wyf yn Atteb* (medd efe) *nyni a gredwn hyn pan allont ei brofio ef*; y mae yn debygol yn hytrach iddo i troi hwy heibio; *o ran yr rheini* Actau 2. 37. (medd efe) *y mae'n eglur iddynt wneuthur proffes cyhoeddus, os ystyriwch*;

1. *Yr athrawiaeth hynny gael ei gyhoeddi iddynt, i ba vn yr oedd yn rhaid iddynt gael eu bedyddio os byddent yn gwbl gytuno.*

2. *Yr ydys yn dywedyd iddynt hwy a dderbyniasant y gair gael eu bedyddio.*

3. *Y mae môr sicer gan hynny iddynt hwy yn gyntaf fynegu eu derbyniad parod o'r gair.*

4. *Nid oes i'n i debygu fod* Petr *yn Dduw, neu iddo ef fod yn gwybod calonnau yr amryw filoedd hynny, ac am hynny yr oedd yn rhaid iddo wybod hyn wrth eu proffes hwynt, am iddynt derbyn y gair yn llawen.*

5. *Y mae eu genenau eu hun yn crio allan am gynghor pa fodd y gallent fod yn safadwy.*

6. *Peth annaddas y fuasei yn yr Apostol anturio rhoi bedydd i ddynnion y rhai na wnaethant yn gyntaf broffes o'u bod yn foddlon.*

7. *Nid yw'r scrythur* (medd efe) *yn rhoddi ini lawn histori o'r-hyn oll ac a ddywedwyd ar y fath achosion, eithr o gymmaint ac ydoedd angbenreidiol.*

8. *Y mae natur a threfniad yr ordinhâad yn dywedyd wrthym* (medd efe) *na allei bedydd gael ei weinidogaethu i'r rhai ac oeddynt o oedran heb broffes, oblegid yr oeddynt i gael eu bedyddio yn enw'r tâd a'r Mâb a'r yspryd glân, am hynny yr oedd iddynt wneuthur proffes i bod hwy yn credu yn y tâd a'r Mâb a'r yspryd glân, &c.* tu dalen 25.

9. *Fe roddodd* (medd efe) *arfer gwastadol yr eglwys gyffredin ini trwy draddodiad didwyll, gymmaint o siccrwydd o ran trefn bedydd, ac yn enwedigol o ran gwneuthur eglur broffes â'r gyfammod a wnaethpwyd y pryd hynny, ac am vn pwngc a ellir ei derbyn trwy ddwylaw'r eglwys;* tu dalen 26.

10. *Ac yr ydoedd yn y dyddiau hynny yn broffes fwy nodedig gan gael eu bedyddio yn y modd hynny, a'u vno â'r cymanfaodd sanctaidd, nag y mae y nawr; Pan yr oedd proffes o Gristnogrwydd yn gosod pobl mewn perigl o'u bywyd-dyd rhydd a'u meddiannau trwy gael eu bedyddio y pryd hynny yn gyhoeddus ar iddynt fyned mewn cyfammod â Duw y tâd a'r Mâb a'r yspryd glân,* &c. *Ymmhellach* (medd efe) *yr ydys yn dywedyd am y cyfryw oll ac a gawsant eu bedyddio ( gan eu bod y pryd hynny o oedran) iddynt yn gyntaf gredu; a pha fodd y gallei'r Bedyddwyr wybod i bod hwy yn credu onid wrth eu proffes* , tu dalen 26.

Ie

'Ie fe ddywedir am *Simon Magus* iddo gredu a chael 'ei fedyddio; pa beth, er y gallei fod ganddo mewn gwi-'rionedd beth ffydd hiſtoriawl; etto yn mae'n cynnwys 'iddo wneuthur proffes yn gyhoeddus o fwy nag yn 'ddiau oedd ganddo ef; onide yn brin y buaſei'n cael ei 'fedyddio; yr hyn beth a barodd i'r deonglwyr debyg, 'mae wrth ffydd yn y man hyn yr ydys yn meddwl pro-'ffes o ffydd; ac os felly y mae, yna yn ſiccr y mae proffes 'etto yn anghenrheidiol.

'Ie, y mae efe yn dywedyd fel hyn, Chriſt yn ei Gom-'miſſiwn ſydd yn cyfarwyddo ei Apoſtolion i wneuthur diſcy-'blion, ac yna iw bedyddio hwynt, gan wneuthur adde-'wid, y bydd i'r cyfryw ddyn ac y ſydd yn credu ac yn 'cael e fedyddio fod yn gadwedig, a phwy (medd efe) 'a ddichon ddywedyd pa vn ai bod dyn yn ddiſcybl, yn 'gredadyn neu'n anghredadyn, onid wrth ei broffes.

'Pa fodd yr oeddyd yn gwybod ond wrth eu proffes, 'i'r *Samariaid* gredu wrth bregethiad *Philip* y pethau ob-'legid teyrnas Duw, ac enw Jeſu Griſt cyn iddynt gael eu 'bedyddio *Actau* 8. 12.

'*Philip* (medd efe) a barodd i'r Efnuch wneuthur proffes, 'cyn iddo ei fedyddio ef, i fod ef yn credu fod Chriſt Jeſu 'yn fâb Duw, *&c.*

'Yr oedd gan *Saul* fwy na phroffes brin, cyn iddo gael 'ei fedyddio, *Actau* 9. 15, 17.

'Yr oedd (medd efe) gan *Cornelius* hefyd a'i gymdeithas 'ychwaneg na phroffes, oblegid yr oedd yr yſpryd glân gwedi 'ei dywalltu arnynt gan chwedleua â thafodau———Ac y 'ſâth rodd o'r yſpryd a wnaeth i'r Apoſtol gaſclu i Dduw 'roddi i'r cenhedloedd edifeirwch i fywyd, *Actau* 11. 18.

'Y cenhedloedd y rhai a gawſant eu dychwelyd *Actau* 13. '48. a ddangoſaſant eu ffydd a'u llawenydd; *tu dalen* 27.

'Gorchymyn Duw ydyw (medd efe) i'r rhai ſydd o oe-'dran, yn gyntaf anfon pregethwyr i fynegu'r efengyl, a 'phan trwy y modd hynny y mae pobl yn cael eu dwyn 'cyn belled a gwneuthur proffes neu fynegu fod eu lly-'gaid yn agoryd, ac eu bod gwedi cael eu troi oddiwrth 'tywyllwch i'r goleuni ac oddi tan bwer Satan at Dduw, 'yna y mae'n rhaid iddynt gael eu bedyddio er maddeuant 'pechodau.

'Megis ac nad ydynt yn cael maddeuant pechod hyd 'oni caffont eu dychwelyd *Marc.* 4. 12. Felly (medd efe) 'nid oes iddynt gael eu bedyddio, hyd oni wnelont

'broffes

broffes o'i ymchweliad, yn gymmaint a bod *non esse*, ac *non apparere*, i'r eglwys yn vn peth; Edifeirwch tuag at Dduw a ffydd tuag at Jesu Grist ydyw Swm y pregethiad hynny ac y sydd yn gwneuthur discyblion *Actau* 20. 21. Am hynny y rhain ill dau y ddylent, o'r lleiaf mewn tebygolaeth, gael eu derbyn, cyn y caffo neb ac y sydd o oedran gael eu bedyddio, *tu dalen* 30. 31.

'Os cynifer ac a fedyddir ydynt yn cael eu bedyddio iw farwolaeth ef, a'u claddu gydag ef trwy fedydd iw farwolaeth, megis yn gyffelyb ac yr adgyfodwyd Crist oddiwrth y meirw, felly y dylem ni rodio mewn newydd-deb buchedd, yna yn ddiammeu y cyfryw ac a gawsant eu bedyddio, a wnaethant yn gyntaf broffes o'r marwolaeth hwn a'u cydsyniad i gael eu claddu a'u adgyfodi gyda Christ, ac felly i fyw iddo ef mewn newydd-deb buchedd, *Rhuf*. 6. 3, 4, 5, 6.

'Oblegid St. *Paul* (medd efe) nid oedd erioed yn sefyll cymmaint tros *opus operatum* vwch law y *Papistiaid*, mal yr oedd efe yn tybied, y gallei bedyddio anghredadyn weithredu y pethau vchel a rhagorol hynny.

'Yn ein bedydd (medd efe) yr ydym yn gossod heibio gorph pechodau'r cnawd, trwy enwaediad Crist gan gael ein claddu gydag ef a'n adgyfodi gydag ef trwy ffydd, gwedi cael ein bywhau gydag ef a chael maddeuant o'n holl gamweddau, *Col*. 3. 11, 12, 13. Ac a gyfrififf vn dyn (medd efe) ie, a gyfrififf *Paul* hyn oll i'r cyfryw ac na wnaethant broffes o'r pethau ag oeddynt yn cael eu arwyddoccau neu o'r cymhwysdra anghenreidiol? a wneiff bedydd yn ôl barn gwr call yr hyn oll tros yr anghredadyn (a gadewch imi chwanegu tros faban) neu tros vn (medd efe) yr hwn nid yw yn gwneuthur proffes o'i fod yn Gristion.

'Bedydd (medd efe) a ddywedir fod yn ein achub ni, 1 *Pet*. 2. 21. am hynny y rhai a fynnant gael eu bedyddio, y mae'n rhaid iddynt wneuthur proffes o'r cynneddfau sydd raid fod gan y cyfryw ac a fyddant gadwedig. *tu dalen* 32.

'Allweddau teyrnas nefoedd a ossodwyd yn nwylaw'r eglwys, a'r [illegible] ac a ollyngir yn rhydd ar y ddaiar a ollyngir yn rhydd yn y nefoedd (os ni chyfeiliorna'r allwedau) ac am hynny ni ddylei bugeiliaid yr eglwys ryddhau neb trwy fedydd, ac nad ydynt trwy broffes yn debyg a chael eu rhyddhau yn y nefoedd; y mae'n rhaid

iddynt

'iddynt gyfaddef fod yr hên ddyn gwedi cael ei groes-
'hoelio gyda Christ, fod corph pechod i gael ei ddiny-
'strio, fel na byddent yn oll-llaw i wasanaethu pechod
'*Rhuf*. 5. 5, 6, 7, 8.

'Os cynnifer o honynt a fedyddiwyd yn Ghrist (medd
'efe) a wiscasant Grist ac vn oll ydynt ynghrist, a hâd
'*Abram* ac etifeddion yn ol yr addewid *Gal*. 3. 27, 28. fel
'hyn y mae'r Apostol yn dywedyd am debygolrwydd a faili-
'wyd at broffes a ellit ei choelio;
'ac felly y mae'n eglur i bod
'nhwy yn tebygu fod y broffes
'o'r blaen yr hon a allei gynnal
'y farn gariadus hon. Ein be-
'dydd yw cyhoeddiad ein prio-
'das â Christ; mâth o briodas
'newydd a rhyfedd ydyw, pa le
'nid oes dim proffes o cyttundeb;
'yr ydys yn galw y rhai a fe-
'dyddiwydd yn y scrythur yn bobl gwedi cael eu golchi,
'sancteiddio a'i cyfiawnhau.

Brittaniaid *anrhydeddus, gwelwch mal y torrodd Mr.* Rich. Baxter *i lawr fedydd-plant â'i gleddyf ei hun; a all babanod ddangos eu cyd-synniad i briodi Crist neu wneuthur proffes o'i ffydd ynddo ef.*

'Y maent yn cael eu galw yn Sainct ac eglwysi'r Sein-
'ctiau.

'Y mae'r holl gristnogion yn cael eu galw, Y rhai a
'sancteiddiwyd neu Seinctiau; am hynny y mae'n siccr iddynt
'wneuthur proffes o'u hunain fod felly. Hyd yn hyn Mr.
*Richard Baxter*.

Sr, Myfi a fwriadais ddisbrofio eich haeriad eofn chwi, sef i *Joan Fedyddiwr* fedyddio y cyfryw oll ac a ddaethant atto ef, ie y Pharisæaid hynny y rhai a alwodd efe yn genhedlaeth gwiberod, trwy arferyd cleddyf *Goliah*: gwel ddarllennydd, pa fodd y distrywiodd y gwr hwn ac oedd yn dal bedydd plant nid yn vnig resswm Mr. *Owen* yn y lle hyn tros fedydd plant, eithr hefyd a ddestrywiodd yn llwyr gwbl fedydd babanaidd ei hun.

1. Oblegid y mae efe yn dywedyd fod y Commissiwn yn dangos i Apostolion Crist wneuthur discyblion ac wedin eu bedyddio hwynt; *tu dalen*, 27.

2. Fe ddywed, mae *Swmm* y pregethiad hynny, yr hwn a wnaeth y discyblion, yw edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd tuag at ein Harglwydd Jesu Grist; *tu dalen* 30. 31.

Pa le gan hynny y mae'r Commissiwn am fedyddio babanod? ni ddichon bedydd wneuthur mo honynt yn discyblion,

discyblion, na ffydd eu rhieni ychwaith, nage, pregethiad y gair sydd yn gwneuthur hyn; yr hwn ac nid oes ganddo ffydd yn ein Harglwydd Jesu Ghrist, nid yw yn ddiscybl i Grist.

Sr, Y mae'n rhaid i chwi gael Commissiwn newydd am fedyddio yr anghrediniol neu fabanod ychwaith, cyn y dylech wneuthur felly.

6. 'Yr ydych yn dywedyd i *Joan* ddyfod i barattol 'ffordd yr Arglwydd; diben ei fedydd ydoedd er rhwymo 'yr holl bobl i gredu yn yr Arglwydd Jesu yr hwn oedd 'i ddyfod——— Nid oedd ffydd (meddwch chwi) yn 'ammod o fedydd *Joan*, eithr ei diben hi; ei fedydd 'ef a ossododd rwymedigaeth neilltuol ar holl hâd *Abram* 'i dderbyn Christ; y plant yn gystal ac eraill oeddynt 'yn rhwym i dderbyn ef pan ddaethent o oedran, o 'herwydd fôd bedydd yn arwydd o'r rhwymedigaeth 'hwnnw, *&c.*'

*Atteb.* 1. Pe gallech brofio yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd, fe fyddei'n rhyw beth tuag at wasanaethu eich tro, sef i *Joan* fedyddio pawb, ie, rhieni annuwiol cystal a phlant, yr hyn beth a ddisbrofiwyd yn gyflawn gan Mr. *Baxter* oddiwrth air Duw.

2. Yna y mae'n rhaid i hyn ganlyn, fôd gwahaniaeth mewn rhan sylweddol rhwng bedydd *Joan* â'r bedydd hwnnw a weinidogaethwyd gan yr Apostolion; pa beth yr ydych chwi eich hunain yn naccau ychydig o'r blaen, ac yn haeru eu bod nhwy ill dau yn vn bedydd ac o'r vnrhyw o ran sylwedd; yn vnig bod vn o honynt, iddo ef yr hwn oedd i ddyfod a'r llall iddo ef yr hwn oedd gwedi dyfod, marw ac adgyfodi drachefn: Ynawr Sr, onid oedd ffydd ac edifeirwch yn ammod o'r bedydd hwnnw a weinidogaethwyd gan yr Apostolion; onid oeddynt hwy yn gofyn ffydd a phroffes gan y cyfryw oll ac oeddynt yn cael eu gollwng at fedydd; fe ddarfu i'r scrythurau y rhai y nododd Mr. *Baxter* yn y Llyfr a grybwyllwyd o'r blaen brofio yn gyflawn i bod nhwy felly; a bod y pethau hynny yn cael eu rhag-ofyn tuac atto, am hynny bedydd megis y caedd ei weinidogaethu gan *Joan* a discyblion Crist nid oedd yn vnig i'r diben hwn fel y byddent yn rhwym i gredu ac edifarhau, eithr ffydd ac edifeirwch oeddynt ansod neu gymhwysdra yn y cyfryw oll ac a

gawsant

gawsant eu bedyddio ganddynt: Oblegid ni chymmerei na *Joan*, na'r Apostolion ychwaith broffes o edeifeirwch mewn gair yn vnig gan y rheini a ddaethant at fedydd; *Joan* a orchymynnodd iddynt ddangos ffrwyth edifeirwch neu *ddwyn allan ffrwyth addas i edifeirwch*; ac dymma ei arferiad ef i barattoi ffordd yr Arglwydd neu i barattoi pobl i fod yn adeiladaeth ysprydol yr Arglwydd: Efe a bregethodd, *Edifarhewch, canys y mae teyrnas nefoedd gerllaw*; ni yw'r adduned neu'r addewid mewn bedydd, yr ydych chwi yn breuddwydio am dano, yn parattoi vn dyn i Grist, nag yn gwneuthur neb yn addas o'i eglwys; nage, nage, hyn a wneir trwy ymchweliad, ffydd a'r ail-enedigaeth ei hun.

7. *Yr ydych yn dywedyd fod plant bychain yn aelodau o eglwys Duw yn amser* Joan, *ni all neb wadu hyn, oblegid fod enwaediad yr hwn oedd sêl y gysammod, arnynt hwy; yr oedd holl hâd* Abram *y pryd hynny o eglwys weledig Duw, ac hwynt hwy oeddynt ei vnig eglwys weledig ef ar y ddaiar, nid oeddynt oddifaes yr eglwys cyn iddynt gael eu bedyddio, ac ni chawsant ychwaith eu derbyn i eglwys Duw trwy fedydd, megis y cyfryw ac oeddynt oddifaes yr eglwys o'r blaen; eithr yr holl genedl a gawsant eu bedyddio, oblegid i bod hwy yn aelodau o eglwys weledig Duw; ac o herwydd bod plant bychain yn aelodau o'r eglwys weledig yr oedd bedydd* Joan *yn perthyn iddynt hwy.*

*Atteb* 1. Nid ydym yn naccau nad oedd plant yr Iddewon yn aelodau o eglwys Duw tan y ddeddf, eithr yr wyf yn gofyn i chwi pa vn ai bod bedydd *Joan* yn ordinhâad gyfreithlon neu'n ordinhâad bûr Efangylaidd; os ordinhâad gyfreithlon ydoedd mal enwaediad, profiwch hynny; yr ydym ni yn ei wadu ac yn dywedyd mae ordinhâad Efangylaidd ydoedd, ac na pherthynei i'r Iddewon neu hâd *Abram* yn ol y cnawd, megis y cyfryw.

2. Pe gallech brofio mae ordinhâad gyfreithlawn ydoedd, etto nid yw er hynny yn canlyn, y dylei babanod gael eu bedyddio, megis yr oedd eu plant gwrywaid i gael enwaedu arnynt; oblegid yr ydoedd gorchymyn eglur a phennodol am enwaedu arnynt hwy, eithr nid oedd dim oll am eu bedyddio.

3. Os byddwch yn ymresymmu oddiwrth hawl enwaediad, yna y mae'n canlyn, na ddylei neb ond eu plant gwrywaid gael eu bedyddio; pa awdurdod oedd gan *Joan* am fedyddio benywaid, pa vn ai 'r oeddynt rai o gyflawn oedran neu fabanod.

4. Yr

4. Yr wyf yn gofidio gan weled pa fodd yr ydych yn cymmhyrfu dealltwriaeth eich pobl; a oedd eglwys yr Iddewon neu eglwys weledig Duw tan y ddeddf, o'r vn fâth â'r eglwys weledig tan yr Efengyl o ran ffurf a defnydd.

A oedd hawl gan yr Iddewon i ordinhadau a braintiau'r efengyl oll, oblegid iddynt sefyll yn ei eglwys gyfreithlawn ef hyd farwolaeth Christ; yr ydym yn caniattau fod eglwys anweledig Duw tan y gyfraith a'r efengyl yn vn ac o'r vn fâth; eithr onid oes llawer o wahaniaeth yn yr eglwys Efangylaidd o ran ei hordinhadau, gweinidogaethau, defodau a'i braintiau; onid oedd eglwys weledig Duw tan y ddeddf yn eglwys cenhedlig yn cynnwys pobl yr Iddewon yn vnig; ac onid yw eglwys yr efengyl yn eglwys ymgynylltiedig, yn cynnwys Iddewon a chenhedloedd y rhai ydynt yn credu, neu yn cael eu geni o'r yspryd.

5. Beth er na ddiddymmodd *Joan* y gyfammod neilltuol honno a wnaethpwyd ag *Abram*; etto efe a osododd y fwyall ar y gwreiddyn, ac yn gymmaint a bôd iddo barattoi matter tuag at ffurf eglwysig newydd, a bod ei weinidogaeth ef yn cynnwys yr efengyl; a'r ordinhâad a weinidogaethodd yn ordeiniad Efangylaidd; efe a ddywedodd wrth yr Iddewon a'r Pharifeaid, nad oedd, eu bod nhwy yn hâd i *Abram* neu fod ganddynt *Abram* yn dâd, *Ynawr* yn achos neu resswm da, gan eu bledio megis hawl i'r weinidogaeth newydd hwn; fe derfynodd athrawiaeth *Joan* mewn rhyw ran y gyfraith a'r Prophwydi neu oruchwyliaeth yr hên gyfammod; er na ddaeth ei lawn ddiwedd hyd farwolaeth Crist.

Oddiymma y mae'n jachawdwr yn dywedyd *y gyfraith a'r Prophwydi oeddynt hyd* Joan, *ac o'r amser hynny y dechreuodd teyrnas nefoedd* gael eithr eisio, a phobl oeddynt yn ymorchestu i fyned i mewn, er na ddaeth ei ddechreuad cyflawn a pherffaith, hyd oni thorrodd ein Harglwydd i lawr y fûr o wahaniaeth, ac y hoeliodd y llennau cyfreithlon a'r ordinhadau cnawdol wrth ei groes, ac y trôdd heibio y gelyniaeth hynny ac ydoedd rhwng yr Iddewon a'r cenhedloedd, gan wneuthur y ddau yn vn dyn newydd ac felly yn eglwys newydd Efangylaidd; Attolwg cymmerwch beth y mae vn o'ch brodyr ych hun, yr hwn fydd yn dal bedydd plant, Yn ei ddywedyd oblegid gweinidogaeth *Joan*: Mr. *Cotton* anrhydeddus o *Loegr Newydd* ydyw.

Yr

Yr hwn gan ddywedyd oblegid y testun hwn, Mat. 3.10. *Ac yr awrhon hefyd y mae y fwyall gwedi ei gossod ar wreiddyn y prennau.*

*Y cyntaf* (medd efe) *eu gwreiddyn cyfammod* Abram, *ar ba un yr oedd y bobl hyn yn ymddiried, ac am hyn y mae* Joan Fedyddiwr *yn dywedyd yr awrhon hefyd y mae'r fwyall gwedi ei gossod ar wreiddyn y prennau, na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae gennym ni* Abram *yn dâd i ni; felly ac mal y mae eu holl ymddiried, sef, fod ganddynt gyfammod* Abram, *y deml, Babell a'r cyfryw bethau gwedi ei osso i fynu, ac felly nid oes ganddynt ddim gwreiddyn ar ba un y gallant sefyll; a dymma un peth yr ydys yn feddwl wrth y gwreiddyn:* Hefyd y mae efe yn dywedyd; *Yr Arglwydd a'n torrodd ni ymmaith rag gobeithio yngbyfiawnder ein rhieni ac rhag ymffrostio mewn ordinhadau. Drachefn* (medd efe) *yr ydym yn darllen am hyn yn* Mat. 4. 1. *hyn a ddywedwyd yngbylch gweinidogaeth* Joan Fedyddiwr *yr hwn a loscodd megis ffwrn yn erbyn yr holl scrifennyddion a'r Phariseaid, ac ni adawodd iddynt na gwreiddyn cyfammod* Abram *na changhen o'u gweithredoedd da eu hunain, y mae efe yn eu torri hwy ymmaith oddiwrth gyfammod* Abram, *&c. Ac wrth i torri hwy ymmaith oddiwrth y gwreiddyn nid yw yn gadael iddynt ddim lle i ymddiried ynddo.* Cotton ar y gyfammod; *tu dalen* 177. *a thu dalen* 21, 22.

Pa mor vniawn y mae'r hyn ad dywedodd efe at y perwyl yn llaw, ac y mae'n dinystrio mor gyflawn y cwbl ac yr ydych yn ei ddywedyd yn y rhesswm hwn: Y mae'r awdwr anrhydeddus hwn yn dibennu yn llyn, fod cyfammod *Abram* yr hon a wnaethpwyd â'i hâd natoriol, megis y cyfryw, gwedi cael ei thorri i lawr gan *Joan*, er nad oedd y pren etto gwedi ei ymsymmud, n'ar ys gwedi ei chwythu, neu chwâl ymmaith.

Eithr yr ydych chwi trwy annwybodaeth ddigon yn ceisio gwneuthur pobl i gredu i *Joan* gadarnhau hawl yr hên gyfammod honno, a bedyddio yr holl Iddewon ar awdurdod cyfammod *Abram*; megis pe buasei, yn lle torri i lawr y pren wrth y gwreiddyn yn myned ynghylch i blannu o newydd, neu gynnal i fynu ei sefydliad; pa beth pe buasei felly, efe a fuasei yn dywedyd yn hytrach, *Meddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae gennym ni* Abram *yn dâd i ni, canys ar yr achos hynny yr wyf i'ch bedyddio chwi oll, gan ych bod chwi eu gyd oddifewn cyfammod Duw, er ych bod yn genhedlaeth gwiberod.*

Eithr

Eithr pa mor vnion y pregethodd *Joan*, yn erbyn yr athrawiaeth hwn sydd gennych chwi, iddynt hwy; ac y cymerodd efe hwynt yn eglur ymmaith oddiwrth y fath hawl hudolawl i'r bedydd Efangylaidd, sef, o herwydd eu bôd mewn cyfammod ag *Abram*.

Chwychwi a ddywedwch, na thorrodd *Joan* ymmaith vn gangen oddiwrth y gyfammod honno; y mae Mr. *Cotton* yn dywedyd iddo dorri y pren i lawr wrth y gwreiddyn; yr ydych chwi yn dywedyd iddo fedyddio babanod ar y sail hynny, eithr yn gymmaint ac nad yw gair Duw yn dywedyd dim oll am y fath beth, y mae'n eglur ych bôd chwi yn haeru ych drychiolaeth eich hunan heb sail iddo.

'Ni ellir ammeu (meddwch chwi) na ddygodd y rhieni 'eu plant gyda nhwy at fedydd *Joan*, oblegid Duw a 'orchymynnodd iddynt ddwyn eu plant gyda nhwy i'r 'gynnulleidfa, *Deut*. 29. 10, 11, 12. &c. Eu eiddigedd yd-'oedd gryf tros eu plant, *Actau* 15. 12. ac 21. 20. am hynny '(meddwch chwi) os buasei *Joan* yn gwrthod eu plant, 'ni fuasent yn dyfod mor rhwydd at ei fedydd ef; Hwy a ddy-'gasant eu plant at Grist, am hynny, nhwy a ddygasant eu 'plant at fedydd *Joan*.

*Atteb*. Yr wyf yn *Atteb*, yr ydych chwi yn dywedyd yn ddiammeu iddynt ddyfod â'u plant at fedydd *Joan*; eithr yr wyf fi yn dywedyd, yn ddiammeu na ddygasant mo honynt; canys pe buasent yn gwneuthur felly, yn ddiammeu nyni a gawsem hyn yn scrifennedig: eithr yn gymmaint ag nad yw yn vn lle yn scrifennedig iddynt wneuthur felly, nag i *Joan* fedyddio vn plentyn; nid oes dim ammeu nad ydym ni ar yr vniawn, sef, na fedyddiodd *Joan* ddim babanod na neb ond dynnion edifeiriol, o herwydd i fod efe yn gofyn edifeirwch a'i ffrwythau ymmhôb vn ac a ddaeth at ei fedydd ef.

2. A ydyw yn canlyn, *O herwydd i bôll* Israel, *eu plant, eu gwragedd a'r dieithr ddyn, y cymynuddion-coed, a gwabennuddion Dwfr syned tan y gyfammod gyfreithlon honno yr Arglwydd Deut*. 29. 10, 11, 12. Fod yn raid i ni yn amser yr efengyl ddyfod â'n plant eu gyd a'n gweision iw bedyddio ac i fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd; yr oedd ganddynt hwy orchymyn oddiwrth Dduw am wneuthur yr hyn a wnaethant, a yr oedd ffurf eglwysig yr hên gyfammod honno yn gofyn iddynt wneuthur felly; eithr ni ofynnodd Duw ddim mwy i ni ddyfod â'n plant

iw

iw bedyddio, nâg y gofynnod ini enwaedu arnynt, neu roddi *ein cyntaf anedig* i'r Arglwydd yr hyn beth ydoedd gorchymyn Duw iddynt hwy tan y ddeddf.

Sr, Yr wyf yn dywedyd wrthych drachefn, gan fod bedydd yn sefyll wrth hawl pûr bennodol ni ellwch dynnu dim fâth ddibennion am yr hyn yr ydych yn pledio trosto; eu dyledswydd hwy yn vnig yw cael eu bedyddio, y rhai a orchymynnodd Crist weinidogaethu bedydd iddynt; hynny yw, y cyfryw ac a wnaethpwyd yn ddiscyblion trwy bregethiad y gair, neu y cyfryw ac sydd yn credu ynghrist, neu yn gwneuthur proffes o'i ffydd ynddo ef; y Testament Newydd yn vnig sydd i'n cyfarwyddo ni pa rai sydd ddeiliaid ordinhadau Efangylaidd, y rhai ydynt yn sefyll yn vnig a'r gyfreithiau pûr pennodol yn ôl ewyllys arbennig yr hwn a'u hordeiniodd hwynt neu'n gwneuthurwr-cyfraith sanctaidd Jesu Grist.

*Yr ydych chwi yn dywedyd iddynt ddyfod â'u plant at Grist, am hynny iddynt ddyfod â hwynt at fedydd* Joan.

*Atteb.* Pe buasei *Joan* yn gwneuthur gwrthiau, ac yn jachau'r cleifion, nid oes dim ammeu na buasent hwy yn dyfod â'u plant atto ef i gael eu jachau, yn gystal ac y dygasant hwynt at Grist, eithr ni wnaeth *Joan* ddim gwrthiau; ac hefyd yr oedd ein jachawdwr yn jachau y cleifion, pan ddygasant blant atto ef; ac fe ellir casclu yn dêg ddigôn iddynt ddyfod â phlant bychain atto ef y rhai oeddynt afiachus, er mwyn cael ganddo osod ei dwylaw arnynt, yr hwn oedd ei arfer ef wrth jachau y cleifion.

*Yr ydych chwi yn dywedyd fôd bedydd plant yn beth arferol yn eglwys yr Iddewon lawer can mlynedd cyn amser* Joan, *ac yn adrodd wrthym chwedl am* Moses Ben Maimon, *yr hwn a gasclodd ddefodau hên eglwys yr Iddewon.*

*Atteb.* Mysi a reosym Atteb i'r peth hyn eisioes, oblegid chwychwi a gymmhellasoch y rhesswm hwn o'r blaen.

Y mae'n eglur nad oedd hyn, ond traddodiad dynol yr Iddewon, os ydoedd mal yr ydych chwi yn dywedyd, ni orchymynnodd Duw i'r Iddewon erjoed fedyddio eu babanod; er y mynnech chwi o'r blaen i'ch darllennydd anochelgar dybied i *Jacob* ei ddychymyg ef; y mae'n ddrwg gennyf weled peth mor wael oddiwrth wr dyscedig.

Pa goel a ellir roddi i *Dalmud yr Iddewon*, mysi a ddangosais fod y peth y mae vn o Rabbiniaid yr Iddewon

yn ei haeru o barthed y matter hyn, yn cael ei naccau gan vn arall o honynt, y mae *Rabbi Honab'* yn addef fod yr Iddewon yn bedyddio babanod yn ôl gorchymyn yr eisteddfod, nid yn ôl dim awdurdod oddiwrth Dduw trwy *Moses* neu vn o'i brophwydi sanctaidd ef; a gawn ni dybied i *Joan* fedyddio babanod trwy rinwedd vn traddodiad dynol ac ydoedd ymmhlith yr Iddewon?

Sr, Y mae gan draddodiad Pabaidd, a dychymyg dynol gystal awdurdod a thraddodiad yr Iddewon; chwi ellwch haeru i'r *Papistiaid* dros lawer cant o flynyddoedd fedyddio babanod; eithr pa le y mae'n scrifennedig yngair Duw iddo ef orchymyn i'r Iddewon fedyddio eu Proselytiaid, neu y dylei Cristnogion fedyddio eu babanod: *At y Gyfraith a'r Testament.* Rheol berffaith yw'r scrythur sanctaidd.

'Yr ydych chwi yn dywedyd i *Joan* fedyddio plant bychain, oblegid iddo fedyddio'r holl wlâd yn gyffredin, 'o ba vn yr oedd plant yn rhan fawr; ni wrthododd efe 'neb ac a ddaeth neu a ddygwyd atto ef, *Mat.* 3. 5, 6. 'Ynawr fe aeth allan atto ef *Jerusalem* a holl *Judea*, a'r holl 'wlâd o amgylch yr *Forddonen*, a hwy a fedyddiwyd gantho ef yn yr *Forddonen*: Ynawr, meddwch chwi, os *Joan* 'a fedyddiodd holl *Jerusalem*, a holl *Judea* a'r holl wlâd o 'amgylch yr *Forddonen* a'r holl bobl, y mae'n siccr iddo 'fedyddio babanod, oni fynnwn dybied nad oedd dim plant 'yn *Jerusalem*, &c.

*Atteb* 1. Yr wyf yn Atteb; y nawr yr ydych yn tybied i chwi wneuthur ych gwaith; eithr Sr, onid ydyw'r rhesswm hwn sydd gennych yn profio mor rymmus y gall pob dyn annuwiol a drwg gael ei fedyddio hefyd sef, tyngwyr, Putteinwyr, Llofruddion a'r gwaethaf o ddynnion, oblegid a allwn ni dybied nad oedd neb o'r fâth hyn yn *Jerusalem*, *Judea* a'r gwledydd oddiamgylch, ie y gallwn fedyddio paganod a chenhedloedd; canys yn ddiammeu yr oedd rhai o bôb cenedl yn *Jerusalem*.

2. Yr ydych yn haeru i *Joan* fedyddio holl genedl yr Iddewon (ac onide yr wyf yn camgymeryd ych meddwl) sef, pôb gwr, gwraig a phlentyn; ynawr pe buasei'r peth fel hyn, pa fodd yr ydys yn dywedyd *i Grist wneuthur a bedyddio mwy o ddiscyblion na* Joan, *Joan* 4. 1. Y mae i gael hefyd yn *Joan* 3. 26. *i'r Jesu fedyddio ac i bawb ddyfod atto ef:*

ef; Pa fodd Sr, y bedyddiodd *Joan* y cwbl oll, ac y bedyddiodd Christ wrth ddwylaw ei ddiscyblion fwy o'r bobl na *Joan*; Beth, a ydych chwi yn tybied iddynt gael eu ailfedyddio; yn ddiammeu chwi a gwnewch hwy yn wyr yr ailfedydd yn vnlawn; Ymmhellach os bedyddiodd *Joan* yr holl Iddewon, pa le yr ydoedd y tair mil hynny a gawsant eu bedyddio gan *Petr* a'r discyblion eraill *Actau* 2. 40, 41, 42.

Onid oeddynt hwy yn Iddewon ac yn trigo yn *Jerusalem*, pe bawn yn scrifennu fel yr ydych chwi fe fydde arnaf gywilydd, canys er y mae'n scrifennedig i Grist fedyddio ychwaneg o discyblion na *Joan*; etto fe ddywedir yn yr *Actau* 1. 15. Nad oedd rhifedi y discyblion ac oeddynt yn *Jerusalem* ond ynghylch chwech vgain.

3. Mysi a ddangosais fod rhan yn ôl *rhaithyddiaeth y scrythur*, yn fynych yn ôl dull a elwir *Synecdoche* yn cael ei ossod tros y cwbl, ac weithiau y rhan lleiaf o lawer hefyd: fe ddywedir i *holl anifeiliaid yr Aipht* farw, *Exod.* 9. 6. hynny yw, y cyfryw oll ac oeddynt yn y maes; y mae Christ hefyd yn dywedyd, pan y cae ei dderchafu i fynu efe a dynnei bawb atto ei hun, *Joan* 12. 32. a ydyw hyn yn meddwl pawb yn gyffredinol; felly y mae *Paul* yn dywedyd, *y mae Pawb yn ceisio eu budd eu hunain*; ac y mae Crist yn dywedyd, chwychwi a gewch eich casau gan bawb er mwyn fy enw i, gwelwch y scrythurau hyn *Ex.* 32. 3. 26. *Jer*, 6. 3. 1 *Cor.* 10. 7. *Esau* 2. 2, 3. *Actau* 2. 5. Gwelwch *Glassius Illiricus* ac scrifenwyr eraill o'r fath hyn; Darllennwch hefyd *Philologiæ* a'n nodadwyr diweddar ar y Bibl sanctaidd yr hwn a elwir *Nodiadau Pool* oblegid y testun hwn; y gair, meddant hwy, yr hwn yr ydys yn ei all gyrchu ymma sydd ddigon i beri ini wybod, i fodd yn fynych yn arwyddoccau dim ymmhellach na *Llawer*——— canys ni ellir meddwl, i bob dyn neilltuol yn *Jerusalem* a'r wlâd o gylch y *Jorddonnen* fyned i wrando *Joan* fedyddiwr, eithr llawer; oddiymma yr ymddengis, nad oes dim lle i Mr. *Owen* haeru fod wrth holl *Jerusalem* a *Judea*, &c. yn rhaid bwriadu pôb person neilltuol, sef gwyr, gwragedd a phlant, eithr rhai o bôb math o raddau, rhywogaeth, a chyflwr; y mae'n dangos i lawer oedd gael eu bedyddio ganddo ef yn yr *Jorddonnen* gan gyfaddef eu pechodau trwy edifeirwch didwyll.

'Eithr yr ydych chwi yn dywedyd nad yw'r testun 'yn dywedyd wrthym pa fâth o gyfaddefiad ydoedd hwn, 'pa vn ai mewn geiriau ai mewn gweithredoedd yr oedd; 'eu ymostyngiad i fedydd oedd gyfaddefiad gweithredol o'u 'afiendid a bod achos ganddynt o gael eu golchi, ni ellir 'tybied mae cyfaddefiad mewn geiriau ydoedd, oblegid na 'allei vn dyn dderbyn cyfaddefiad neillduol oddiwrth yr 'holl wlâd. os gwnaethant eu cyfaddefiad mewn geiriau, 'y mae'n debygol i vn wneuthur y peth yn enw y lleill, 'megis ac y gwnaeth yr offeiriad yn enw'r bobl *Lev.* 16. '21. fel hyn y gallei'r rhieni gyfaddef eu pechodau trostynt 'eu hunain a'u plant, *&c.*

*Atteb* 1. Gadewch i resymmau Mr. *Baxter* wasanaethu er gwrth brawf o'r hyn yr ydych yn haeru yn y man hyn; y mae efe yn dywedyd oddiwrth y scrythur ac ymarferiad cyffredin yr hên eglwys, fod ffydd a chyfaddefiad o ffydd, ie, a chyfaddefiad trwy eiriau yn cael eu gofyn gan y cyfryw oll ac oeddynt yn cael eu bedyddio, *â'r galon y credir i gyfiawnder, ac â'r genau y cyffesir i iechydwriaeth*, Rhuf. 10. 10.

2. Y mae ych meddwl yn ddiau gwedi cael ei adael i dywyllwch rhyfeddol oblegid y peth hyn; a haerodd erioed vn gwr hebddoch chwi ac vn Mr. *Excel*, i'r hwn y gwneuthum Atteb yn ddiweddar, fod gwyr a gwragedd annuwiol ac anghrediniol, y rhai ydynt yn foddlon i gael eu bedyddio, yn ddeiliaid addas o fedydd, canys fe ddichon pawb weled fôd y rhesswm hwn yr ydych yn ei arfer, yn tueddu am iddynt hwy gael eu bedyddio; ac y mae mor rymys i brofio y dylent hwy gael eu bedyddio, ac y mae i brofio bedydd plant; oblegid os bedyddiodd *Joan* yr holl wlâd, ie, pôb dyn neillduol, yna gweinidogion a allant ynawr fedyddio pawb ymmhôb gwlâd, ie yr holl fyd, byddant beth y fynnont, pa vn ai byddont *Dwrciaid*, *Paganod*, *Cenhedloedd*, *Tyngwyr*, *Meddwon*, *Eulun-addolwyr*, *Lladron*, *Llofruddion*, os gwnant ond addaw ymadael â'u pechodau ac edifarhau, pa vn ai gwnelont ai peidio; etto os ych rhesswm chwi fydd dda, nhwy a ddylent gael eu bedyddio; eithr pa faint yn wrthwyneb i hyn ydyw'r peth y mae'ch holl frodyr yn gyffredinol yn haeru, sef yn y prif amseroedd, pan y pregethwyd yr Efengyl yn gyntaf ac y plannwyd eglwysi, fod pawb ac a gawsant eu bedyddio yn credu, ac yn bobl sanctaidd a duwiol; ac ar eu ffydd

hwy y caedd eu plant (meddant hwy) eu bedyddio hefyd, yr hyn beth yr ydym ni yn naccau; er eu bôd nhwy ar yr vnlawn o barthed yr hyn y maent yn ei ddywedyd o ran y crediniol eu hunain; eithr gan gymmaint ac i'm wrthbrofi mor gyflawn yr hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd oblegid bedyddio pobl o oedran y rhai ydynt anghrediniol, ni ddywedaf ddim ychwaneg am hynny yn y lle hyn.

3. Y mae'n eglur fôd yr hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd yn ffugiol, sef, i *Joan* fedyddio'r holl wlâd, ie, pôb dyn neilltuol, a hyn hefyd oddiwrth fan amlwg; onid ydys yn dywedyd *i'r Phariseaid a'r cyfreithwyr wrthod cyngbor Duw yn erbyn eu hunain*, heb eu bedyddio gantho; *Luc.* 7. 30. hynny yw, medd ein nodadwyr, *gan beidio a derbyn athrawiaeth* Joan *o edifeirwch er maddeuant pechodau, a dwyn allan ffrwyth addas o wellhâad buchedd; gan beidio a darostwng i fedydd megis tystiolaeth o'r fâth edifeirwch, oblegid bedydd* Joan *oedd yn arwyddoccau ei holl weinidogaeth.* Gwelwch nodiadau *Pool* ar y lle; fe ddichon pawb weled pa fath gyfaddefiad yr oedd bedydd *Joan* yn ei ofyn; yr oedd yn fwy na chyfaddefiad trwy eiriau o bechod, sef, ffrwyth calon cyfnewidiol, a bywyd newydd, a pha le ni dderbynniwyd yr athrawiaeth hyn, ac ni ymddangosodd y frwythau hyn, ni fedyddiei *Joan* mo honynt.

Ac ynawr fel y byddo i'm ddibennu ar y bennod hon, y mae'n canlyn yn eglur oddiwrth y cwbl yn wrthwyneb i'r hyn y mae Mr. *Owen* yn ei ddywedyd, na fedyddiodd *Joan* Fedyddiwr mo'r holl wlâd, nag vn baban oll, ie, na fedyddiodd efe vn dyn ond y cyfryw ac oedd yn credu, neu'n ymddangos o'r lleiaf o fôd yn dwyn ffrwyth cyfaddas o edifeirwch, ac mal y mae efe yn dywedyd mae dechreuad efengyl Jesu Grist oedd bedydd *Joan*, y mae'n canlyn na ddylei vn plentyn gael ei fedyddio, a bod braintiau'r efengyl oddiallan gwedi eu cyfyngu ac yn gulach na defodau a braintiau eglwys yr Iddewon oddiallan, er bod braintiau ysprydol yr efengyl yn fwy ac yn cyrrhaeddyd ymmhellach nag yr oedd y rheini o'r gyfraith.

---

# PEN. XVI.

*Ymmha yn yr ydys yn profio na ddylei plant y Ffyddloniaid megis y cyfryw gael eu bedyddio, oblegid y dywedir fod holl deuluoedd yn cael eu bedyddio, gan fod yn Atteb i'r hyn a ddywedodd Mr.* James Owen *yn ei 13 Bennod ac felly yn gwrthbrofi ei ddegfed resswm tros fedydd plant.*

'Y Mae Mr. *Owen* yn dywedyd mae ffordd Duw ydoedd 'o ddechreuad y byd dderbyn holl deuluoedd i'r gy'fammod; y plant a dderbynniwyd gyda eu rhieni, felly '*Noah* a'i dylwyth oeddynt yn yr vn gyfammod; er ei 'fwyn ef ei deulu a dderbynniwyd gydag ef i'r *Arch*, ac a 'gawsant eu bedyddio gydag ef yn nyfroedd y duliw; *A'bram* a gredodd ai holl deulu a dderbynniwyd, gydag ef i 'gyfammod Duw, *Gen.* 17. *Heb.* 11, 7. 1 *Pet.* 3.20.21. Nid 'efe ei hun ai hâd, eithr ei wasanaeth-wyr ai wasanaeth'ferched ac o'r cenhedloedd y rhai oeddynt foddlon i dder'byn y wîr grefydd a'u hâd *Gen.* 17, 23. *Exo.* 12. 40. Ac 'felly cyfammod Duw a barhaodd yn nheulu y Ffyddlo'niaid hyd ddyfodiad Christ yn agos tros bedwar mîl o 'flynyddoedd; os dywed neb fod y goruchwiliaeth gwedi ei 'newidio, ar aelodau gael eu torri ymmaith oddiwrth ben y 'teulu, dangosent scrythur eglur am dano.

*Atteb* 1. Yr wyf yn atteb, o ran y gyfammod honno a wnaeth Duw â *Noah* a'i deulu, ni wnaed mo honi ag ef a'i deulu, eithr â'r holl fyd, oblegid yr oeddynt hwy yn arwyddoccau y rhai oll ac a fyddent fyw ar y ddaiar, ie, ac nid yn vnig a dynol ryw, eithr â ehediad y nefoedd a bwystfilod y maes; gwelwch *Gen.* 9. 8, 9, 10, 11, 12. *A Duw a ddywedodd wrth* Noah *a'i feibion*, adnod 8. *Ac wele myfi, ie myfi ydwyf yn cadarnhau fyngbyfammod â'ch chwi, ac*

â'ch

*a'ch hâd ar eich ôl chwi*, adnod 9. *ac â phôb peth byw'r hwn sydd gyd a chwi, a'r ehediaid, a'r anifeiliaid, ac â phôb bwyst-fil y tir gyd a chwi, o'r rhai oll sydd yn myned allan o'r* Arch, *hyd oll fwyst-filod y ddaiar*; *ac my o gadarnhaf fyng-hyfammod â chwi, ac ni thorrir ymmaith bob cnawd mwy gan y dwfr diluw, ac ni bydd dilaw mwy i ddifetha y ddaiar*, adnod 11.

Ynawr i ba ddiben yr ydych yn crybwyll am y gy-fammod honno neu jechydwriaeth amserol teulu *Noah* yn yr *Arch*; fe allei i deulu *Noah* neu rai o honynt gael eu cadw â'r jechydwriaeth hynny oddiallan er ei fwyn ef; etto nid yw hyn yn profio i ffydd ef gyrrhaeddyd hyd at je-chydwriaeth ysprydol eneidiau ei blant, oblegid efe a fell-digodd *Cham*; ni allei ei ffydd ymwared vn o'i feibion.

2. O ran bod yr *Arch* yn ddull o fedydd, neu i deulu ef gael eu bedyddio yn yr *Arch*, y mae hyn, mal y dywe-dais vnwaith o'r blaen, yn tueddu yn gymmaint er profio y gall y rhai oll ac a fynnant, gael eu bedyddio, ie, y da a'r drwg ac anifeiliaid hefyd, cystal a neb arall yn neillduol, oblegid y cyfryw oll ac oeddynt yn yr *Arch* a gawsant eu bedyddio mor siccr ac vn ac oedd ynddi hi.

3. Pe buasech yn dywedyd fod teulu *Noah* yn ddull o'r eglwys Efangylaidd,chwychwi a ddywedasech ryw beth, ca-nys fel hyn y mae esponwyr yn mynegi, ac y mae ganddynt achos da am hynny.

1. Megis ac y derbynniwyd ei holl dylwyth ef i'r *Arch*, felly yr oedd i holl aelodau 'r eglwys Efangylaidd trwy ffydd gael eu derbyn i Grist eilun yr *Arch*.

2. Megis ac yr adeiladodd *Noah* yr *Arch* yn ol gorch-ymyn Duw, felly Christ a adeiladodd ei eglwys ac a wnaeth bob peth yn ol gorchymyn ei dâd.

3. *Noah* a gymmerodd lawer o brennau gwedi ei naddu a'u gwneuthur yn gymmwys er adeiladu'r *Arch*, felly y mae Christ yn cymmeryd llawer o'r crediniol, y rhai yd-dynt mewn môdd ysprydol gwedi cael ei naddu a'u gwneu-tur yn gymmwys trwy'r gair a'r yspryd i adeiladu ei eglwys, y rhai a elwir yn brennau cyfiawnder, yn bobl etholedig, megis ac yr adeiladodd *Noah* yr *Arch* o'r fâth brennau neu goed ac a etholwyd gan Dduw.

4. Megis ac y derbynniwyd rhai anifeiliaid glân ac aflan i'r *Arch*, ie, a *Cham* hefyd, yr hwn oedd yn ddyn annuwiol; felly y gallei hyn ddal allan y cae rhai dynnion annuwiol (er bod hyn heb ordeiniad Duw) ddyfod i mewn neu eu der-byn i'r eglwys Efangylaidd.

P 4 5. Megis

5. Megis ac y collwyd y cyfryw oll ac ni chawsant eu derbyn i'r *Arch*, felly y rheini ac nid ydynt mewn fordd ysprydol yn cael myned i mewn i Grist trwy ffydd, neu nid ydynt yn aelodau o'r eglwys weledig neu anweledig, a fydd-ant golledig ac a drengant yn dragywydd.

6. Megis ac y caedd *Arch Noah* ei gorchuddio neu chla-ddu weithiau â'r dyfroedd, felly y dylei'r gwîr grediniol oll, y rhai ydynt aelodau o'r eglwys wir Efangylaidd gael eu soddi, bedyddio neu gorchguddio yn y dwfr megis ac y mae Sr *Norton Knatchbal* yn dal sulw, 'yr oedd yr *Arch* yn 'arwydd o'r adgyfodiad (wrth ddywedyd am y testun 'hwnnw y mae Mr. *Owen* yn nodi 1 *Pet*. 3. 30.) medd efe, 'Bedydd yr hwn sydd yn ein achub ni ynawr trwy ddwfr, 'hynny yw, trwy borth dwfr, sydd eulun o *Arch Noab* ac 'nid yw'n arwyddoccau ymwrthodiad â budreddi y cnawd, 'eithr y gyfammod o gydwybod dda tuag at Dduw tra 'fo'm yn cael ein trochi yn y dwfr; yr hyn beth sydd er 'tystiolaeth o'n bod ni yn credu yn adgyfodiad Jesu Grist; 'felly ac fel y mae trawsddodiad eglur rhwng y geiriau hyn, '*wrth adwfr ac wrth yr adgyfodiad*, ac ni all (medd efe) y 'tegwch sydd ynddynt lai na rhyngu bôdd; *Arch Noab* ac 'nid y diluw oedd arwydd o fedydd, a bedydd oedd eilun 'yr *Arch*; nid megis pe byddei bedydd yn golchi ymmaith 'fudreddi y cnawd trwy ddwfr, ymmha beth nid yw 'n 'gyfattebol mewn vn modd i'r *Arch*, eithr megis y mae 'efe yn gyfammod o gydwybod dda tuag at Dduw trwy 'adgyfodiad Crist; gan gredu ymmha adgyfodiad, yr ydym 'yn cael ein hachub, megis ac y cawsant hwy eu hachub 'trwy *Arch Noab*, oblegid yr *Arch* a bedydd oeddynt ill 'da yn arwyddion neu ddulliau o'r adgyfodiad, felly ac 'na dylit ystyried diben priodol bedydd megis pe byddei'n 'arwydd o olchi pechod ymmaith; (er ei fod yn llyn yn 'cael yn fynych ei gymeryd mew ffordd o drawsenwad yn 'y Testament Newydd a chan y tadau) eithr yn arwydd 'neillduol o'r adgyfodiad trwy ffydd yn adgyfodiad Crist; 'o ba vn y mae bedydd yn arwydd buwiol ac ysprydol, 'megis hefyd yr oedd yr *Arch* o ba vn y dychwelodd *Noab* 'megis oddiwrth fedd i newydd-deb buchedd; fel hyn y 'scrifennod Sr *Norton Knatchbal*, yn ei nodiadau y rhai a 'brintiwyd yn *Rhyd-ychen* 1677. Yr hwn er ei fod yn dal 'bedydd-plant etto ni fyn fod taenelliad neu dywalltiad yn 'fedydd.

Ynawr

Ynawr y mae addysg yn hyn, ac ymma yr ydys yn dangos meddwl geiriau yr Apostol *Petr* yn gyflawn; eithr gan ddywedyd wrth y byd o herwydd i Dduw achub ac ammodi â theulu *Abram*, am hynny y mae Duw yn cymeryd holl deuluoedd yn nyddiau'r efengyl iw gyfammod, y mae hyn yn dangos dallineb mawr.

2. O ran teulu *Abram* nid ydym yn gwadu na chymmerwyd ei deulu ef i mewn i gyfammod â Duw, ie ei hâd naturiol ef, megis y cyfryw, eithr cyfammod neillduol ydoedd; canys os ystyriwch hwynt yn vnig megis teulu ni chymerwyd mo honynt i mewn i'r gyfammod o râs, o herwydd bôd rhai yn ei deulu ef, heb ran ganddynt yn y gyfammod honno; eithr gan gymmaint ac i'm agorid yn gyflawn y ddau fâth gyfammod a wnaeth Duw âg *Abram* yn y dechreuad, ni chymeraf arnaf adnewyddu'r ymryson am hyn drachefn.

*Britaniaid* anrhydeddus, bydded i chwi ystyried hyn yn dda; megis ac y cymmerwyd teulu *Noah* a theulu *Abram* mewn cyfammod â Duw, a theuluoedd eraill cyfan tan y gyfraith, ie holl dy a chenedl *Israel*; felly yr oeddynt yn arwyddion o'r eglwys Efangylaidd; ie megis ac yr oedd holl dy neu dylwyth *Abram* a holl dy a thylwyth *Israel* yn sanctaidd mewn ffordd cyscodawl, gyfattebawl neu ammodol, yr oedd yn rhag-arwyddoccau y sancteiddrwydd gwîr ysprydol hynny a fyddei yn nyddiau'r efengyl yn holl aelodau yr eglwys wîr Efangylaidd; ac nid y byddei i Dduw gymeryd tan yr efengyl holl deuluoedd mewn cyfammod ag ef ei hun, llaill ai mewn cyfammod oddiallan, neu mewn cyfammod newydd ysprydol ag ef ei hun.

Gwîr yw, fe allei i Dduw weithiau alw teuluoedd cyfan, rhieni, plant o gweision, a'i ymchwelyd hwynt eu gyd; eithr och! Pa sawl teulu y sydd, pa le osgatfydd, nid oes ond yn gwedi cael ei alw, ag mewn cyfammod sanctaidd â Duw; fe allei fôd y gwr, ac nid y wraig, y wraig ac nid y gwr, y plentyn, ac nid vn o'r rhieni yn cael felly eu galw a'u cymeryd i gyfammod Duw; Attolwg *Frittaniaid* anrhydeddus, ystyriwch beth y mae Duw yn ddywedyd am ei addewid tan yr efengyl, *Mysi a gymeraf vn o ddinas, a dau o deulu ac a'ch dygaf chwi i Sion*, *Jer.* 3. 14. Nid ydys yn cymeryd holl deuluoedd yn nyddiau'r efengyl, nage, nage, Duw a ddichon wneuthur hyn, eithr y mae'n ychwaneg i'r hyn a addawodd efe, neu mewn gweithred

y mae

y mae efe yn arfer gwneuthur ynawr; myfi a allaf ddywedyd yn y man hyn, megis ac y mae'r Apostol yn dywedyd ar achos arall, yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, *Frodyr*, pa fodd nad ydys yn galw llawer o deuluoedd cyfan.

3. O herwydd i Dduw wneuthur cyfammod ag *Abram* a'i hâd naturiol ef megis y cyfryw, sef cyfammod neilltuol, ac hefyd iddo wneuthur neu adnewyddu cyfammod o râs ag ef, gan ei osod ef i fynu megis pen ammodol ar ystyriaeth o ddau fâth; a ydyw yn canlyn fod pôb credadyn yn cael ei osod ei fynu gan yr Arglwydd mal pen ammodol o'r un fâth iw holl eppil naturiol ef? hyd oni phrofio Mr. *Owen* hyn ni ddywed ddim at y perwyl yn llaw.

Fe wnaethpwyd llawer o fraintiau oddiallan ac addewidion yn y gyfammod o enwaediad, yr hon oedd yn perthyn at hâd naturiol *Abram*, o ba un y rhoddwyd enwaediad, megis arwydd neu nôd, mal yn neilltuol gwlâd *Canaan*, *&c.*

Eithr pa fraintiau ac addewidion a ganiattawyd gan Dduw i blant y crediniol megis y cyfryw yn nyddiau'r efengyl, o ba rai y mae bedydd yn rhoi sicrwydd iddynt; ni thal yr arwydd ddim heb y sylwedd neu'r peth a arwyddoceir mewn bedydd, eithr nid oes mo hyn gan fabanod yn eu bedydd lledrithiog, na chan lawer o honynt byth gwedin.

4. Gan gymmaint a'ch bod chwi yn galw am scrythur eglur i brofio fod plant y ffyddloniaid gwedi cael eu rhwygo ymmaith oddiwrth y pen-teulu, yr ydych yn camsynnied y matter yn llaw, mae'n rhaid i chwi brofio i blant a gweision a holl deuluoedd tan oruchwiliaeth yr efengyl gael eu cymeryd i mewn ynghyd â'u Pen-teulu i'r gyfammod; pa genedl cyfan sydd ynawr yn cael ei cymeryd i'r gyfammod â Duw, megis yr oedd holl dyneu genedl *Israel* tan y gyfraith, profiwch fod y fâth genedl, a nyni a ganiattawn fod pôb teulu neilltuol yn cael ei gynnwys yn y teulu cyffredin hynny.

*Yr ydych yn myned yn y blaen tuag at ddyddiau'r efengyl ac yn crybwyll am* Zacheus *yr hwn pan gynted ac y caedd ei ymchwelyd, yr Arglwydd Jesu a ddywedodd*; Heddyw y daeth jechydwriaeth i'r ty hwn, o herwydd ei fôd yntef yn fâb i *Abram*, *Luc.* 19. 9, 10.

*Atteb* 1.

*Atteb* 1. Yr wyf yn Atteb, y gwnewch ych gwaith yn effeithiol, os gellwch brofio cyn gyntaf ac y credo y tâd fôd jechydwrlaeth yn perthyn i'r cyfryw oll ac fydd yn ei dy ef; yr oeddym yn tybied ych bod chwi hefyd yn pledio tros ryw fraint oddiallan i'r plant ar ffydd eu rheini; eithr y mae'n ymddangos nad ydych chwi yn pledio tros ddim llai na jechydwriaeth ei hyn, ie jechydwriaeth tragwyddol; oblegid y fâth jechydwriaeth a ddaeth at *Zacheus* y dydd hwnnw; O! pa mor wynfydedig fyddei plant y crediniol, pe bae hyn yn wîr, canys y canlynei y byddei i blant y ffyddloniaid gael eu hachub yn ddirwystir, pa vn ai byddont yn credu yn eu personau eu hun ai peidio; Ie, a gwynfydedig hefyd y fyddei gweision canys fe fyddei'n rhaid iddynt hwy oll fod yn gadwedig, o herwydd eu bôd yn rhan o'r teulu; Sr, pa goel fydd i roddi i wr fydd yn chwedleua mal yr ydych chwi, a ydyw hyn yn wîr neu peidio? beth yr ydych chwi yn feddwl lai na'r hyn yr wyf yn ei ddywedyd; ac a ydyw jechydwriaeth tragwydol yn dyfod at bawb yn y teulu neu'r ty hwnnw, pan fo'r pen-teulu yn credu; chwi a ddylech edifarhau am i chwi hau y fâth gyfeiliornadau mawr ymmhlith y bobl.

*Y mae Crist* (meddwch chwi) *yn eglurhau cyfammod* Abram *yn* Gen. 17. *Yr hon a wnaeth Duw ag ef a'i deulu neu ei hâd, o herwydd i fod ef yn fâb i* Abram, *mal pe buasei yn dywedyd, y dyn hwn a fu yn bechadur mawr, ac er iddo ef fod yn bennaeth y Publicanod, etto yn gymmaint ac iddo edifarhau a derbyn cyfryngwr y gyfammod o râs; y mae cyfammod* Abram *a'i braintiau yn perthyn iddo ef ac iw deulu; mâb* Abram *yw efe, ac am hynny y mae cyfammod* Abram *yn perthyn iddo ef, ac yn yr vn helaethder iw hâd, y mae llawer* (meddwch chwi) *yn tybied fod* Zacheus *yn vn o'r cenhedloedd, oblegid y cyfryw yn arferol oeddynt Bublicanodd ac y maent yn casclu hyn oddiwrth eiriau Crist,* Yn gymmaint ai fôd efe hefyd yn fâb *i Abram*, *efe hefyd er nad yw'n hâd nâturiol* Abram, *etto y mae efe yn vn o'i hâd ysprydol ef, ac am hynny y mae cyfammod* Abram *yn perthyn iddo ef ac iw deulu.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, fod eich esponiad o'r testun hwn yn dinistrio y cwbl oll ac yr ydych chwi yn ymegnio iw brofio pe byddyt yn ei ystyried ef.

1. Oblegid yr ydych yn caniattau nad oedd efe yn vn o hâd naturiol *Abram*; ynawr yr ydym ni yn dywedyd, fôd y cyfryw

fryw oll ac y sydd yn credu yn hâd ysprydol *Abram*, ac felly y maent y cyfryw, i ba rai y mae'r gyfammod o râs a wnaeth Duw ag *Abram* ac mewn canlyniaeth bywyd tragywyddol yn perthyn, canys ni all hâd gwir ysprydol *Abram* golli jechydwriaeth tragwyddol, y mae'r addewid yn siccr i'r holl hâd, *Rhuf.* 4. 16. Ynawr gan hynny pe byddei eich lygaid yn agoryd, chwi a allech weled yn fuan, fod *Abram* yn dâd dau ddyblig, a bod ganddo ddau fath o hâd; chwychwi a wyddoch nad yw holl had naturiol *Abram* a holl had naturiol y crediniol, yn hâd ysprydol *Abram*, ac nad oes ganddynt addewid jechydwriaeth yn siccr iddynt.

2. Oddiymma yr ymddengis na allei jechydwriaeth ddyfod at blant *Zacheus* oes ydoedd ganddo rai, oni byddent hwy yn gystal ac efe ei hun yn credu, ac yn derbyn trwy ffydd addewid y gyfammod o rás a wnaeth Duw ag *Abram*, o herwydd nad oes neb yn feibion neu'n hád ysprydol *Abram* ond y credadwy yn vnig pa vn ai Iddewon ai cenhedloedd.

3. Am hynny os daeth jechydwriaeth at bôb dyn neillduol yn nheulu *Zacheus*, hwynthwy a gredasant eu gyd, yn gystal ac efe ei hun er na scrifennwyd mo hyn.

4. Fe ellir dywedyd i jechydwriaeth ddyfod at ei dy ef, oblegid i'r jachawdwr a moddion jechydwriaeth ddyfod y dwthwn hwnnw at ei dy ef.

5. Fe ellir dywedyd i jechydwriaeth ddyfod at ei dy ef y dwthwn hwnnw, er iddo ddyfod yn vnig at *Zacheus* ei hun, gan iddo ddyfod at y penteulu fe ellir dywedyd iddo ddyfod at ei dy ef, ac etto nid at bôbdyn neillduol yn y ty hwnnw.

Eithr yr ydych chwi yn dyfod i mewn â'r gwrthddadl hyn, sef, *Eithr beth yw hyn at fedydd.*

Yr ydych yn Atteb, *Os daeth jechydwriaeth at ei deulu ef, yna yr oedd bedydd yn perthyn iddynt hwy.*

2. Yr ydych yn dywedyd, *Y mae'n debygol i* Zacheus *a'i deulu gael eu bedyddio o'r blaen gan* Joan, *oblegid y Publicanod a ddaethant atto ef i gael eu bedyddio.* Luc. 3. 12. ac 7. 29.

*Atteb* 1. Chwi a ellwch fod yn ddilys, fod *Zacheus* pan gredodd ynghrist yn ddeiliad cyfaddas o fedydd yr efengyl, felly yr oeddynt hwy oll yn ei dy ef ac a gredasant, eithr nid yw'r testun yn dywedyd i bôb dyn neillduol ac oedd yn ei dy ef gredu, neu i jechydwriaeth ddyfod yn y modd hynny at ei dy ef, eithr os daeth, yn ddiammeu

hwynt

hwynt hwy a gawsant eu gyd eu bedyddio pan y credasant.

2. Eithr chwi a ellwch ddywedyd yn dda ddigon, beth yw hyn at fedydd, pan y cafodd efe a'i deulu eu bedyddio o'r blaen, ie, pan yr ydoedd efe yn ei bechodau ac yn bechadur cyhoeddus, Pennaeth y Publicanod; *a ydyw debygol,* meddwch chwi; yn ddiau Sr, y mae'n fwy na thebygol; yr oedd yn beth ammhossibl i *Zacheus* a'i deulu fethu bedydd, pan y darfu i *Joan* fedyddio'r holl wlâd o'r blaen, pawb, ie a phôb dyn neillduol yr hwn oedd yn trigo yn *Jerusalem, Judea,* a'r holl wlâd oddi amgylch; yn wîr yr ydys yn dyfod a'r peth hyn i mewn yn ammherthynasol jawn er profio bedydd plant; beth y dâl hyn, i jechydwriaeth ddyfod at *Zacheus* y dwthwn hwnnw, ac nid hyd y pryd hynny, pan yr oedd Commisswn gan *Joan* i fedyddio pawb pa vn ai duwiol ai annuwiol, crediniol ai anghrediniol, pa vn ai daeth jechydwriaeth attynt hwy neu peidio; daled y darllennydd sulw pa dywyllwch ac anwybodaeth y mae'r gwr hyn yn ddangos.

Petr (meddwch chwi) *pan blannodd y grefydd gristnogawl ar y cyntaf ymmblith yr Iddewon, a bannogodd hwynt, gan ddywedyd,* Bedyddier, pôb vn a honoch chwi, canys y mae'r addewid i chwi ac i'ch plant.

*Atteb* 1. Nyni a roddasom gyflawn Atteb eisioes i'r peth hyn, sef, fôd yr addewid iddynt hwy ac iw plant; eithr Sr, pa ham y mae *Petr* yn gorchymyn i'r Iddewon hynny (y rhai yn ddiammu oeddynt yn byw yn *Jerusalem*) gael eu bedyddio, gan i *Joan* fedyddiwr eu bedyddio hwynt o'r blaen, megis ac y darfu i chwi haeru yn bennodol; a raid iddynt hwy oll gael eu hail-fedyddio, pa anghyssondeb sydd yn eich ymresymmiad chwi?

Nid yw helaethder y gorchymyn hwn, *Bedyddier pob vn o honoch chwi,* yn cyrrhaeddyd dim pellach, nag i bawb o honynt hwy y rhai y mae efe yn gorchymyn iddynt edifarhau; ac nid yw'r addewid i neb o'u plant eithr i'r cyfryw ac a elwir gan yr Arglwydd ein Duw; y mae hawl y rhieni i addewid yr yspryd glân, maddeuant pechodau, a bywyd tragywyddol yn cyfodi oddiwrth eu hawl ynghrist trwy ffydd, a thrwy y drws hynny y daw i mewn hawl a budd eu holl blant neu heppil y rhai ydynt yn cael eu galw trwy weithrediad effeithiol gair ac yspryd Duw; yr addewid ydyw a wnaethpwyd i holl hâd gwîr ysprydol

*Abram,*

*Abram*, ac a ydyw hâd naturiol *Abrâm* a hâd naturiol y crediniol, megis y cyfryw neu os ystyrier hwynt yn y modd hynny, yn hâd ysprydol *Abram* ; Och, pa amser y dibennwch anrheithio ffordd vniawn yr Arglwydd ynghylch gweinidogaeth bedydd sanctaidd.

'Y mae'r addewid, yr ydys yn ei feddwl ymma a'r dyled-'swydd o gael eu bedyddio (meddwch chwi) o'r vn helaeth-'der ; fel hyn yr ydych yn ymressymmu, sef, Bedyddier chwi 'a'ch plant, o herwydd yr addewid a wnaethpwyd i chwi 'ac i'ch plant : y mae'n rhaid i'n ddeall y geiriau fel hyn 'gan fod yr addewid a'r dyledswydd o'r vn helaethder ; 'os ydyw'r addewid yn perthyn iddynt hwy ac iw plant 'yna y mae bedydd hefyd, *&c.*

*Atteb.* Beth yw'r addewid, ond yr yspryd glân a bywyd tragywyddol, a'r cyfryw ac sydd yn derbyn yr addewid hwn sef, yr yspryd glân megis nôd o fywyd tragywyddol, nid ydym yn naccau na allant gael eu bedyddio ; ac os nid oes gan vn plentyn ddim hawl i'r dyledswydd, ond y cyfryw rai ac a dderbyniasant yr vn addewid trwy ffydd, sef o faddeuant pechodau ac o'r yspryd glân, yna ni ddylei dim plant ond y cyfryw ac sydd yn edifarhau ac yn credu gael eu bedyddio, gan fôd yr addewid a'r dyledswydd yn redeg i'r plant neu'r eppil fel y mae'n redeg i'r rhieni————

Yn yr vn modd yr ydych yn dywedyd ; *pan blannodd* Petr *yr eglwys gyntaf ymmblith y cenhedloedd, mal y gellyt casclu oddiwrth eiriau'r Angel at* Cornelius, *gan fod yn flaen ffrwythau'r eglwys ymmblith y cenhedloedd*, Actau 11. 13. Anfon wyr, a gyrr am *Simon* a gyfenwir *Petr* yr hwn a lefara eiriau wrthit, trwy y rhai i'th jacheir di a'th holl dy ; *y mae'r esenyl* (meddwch chwi) *yn dyfod â jechydwriaeth atto ef, ai holl dy* ; *yr oedd* Cornelius *yn gwybod yn dda ddigon ystyr y geiriau, oblegid am ei fod efe yn Broselyt i'r wir grefydd cyn yr amser hwnnw er ei fod heb enwaedu arno, etto efe a dderbyniodd orchymyn dwys* Noah, *sylwedd pa vn a ellir ei weled*, Gen. 9. 1. *Cyfammod Duw a wnaethpwyd ag ef a'i hâd*, &c.

*Atteb* 1. Yr wyf yn Atteb, yr ydys yn dywedyd y cae *Petr* ddywedyd geiriau wrth *Cornelius* trwy ba rai y cae efe a'i holl deulu fod yn gadwedig ; eithr nhwy a ddylent fôd y sâch o'i deulu, ac a allent wrando a deall y geiriau hynny, y rhai a lefarei *Petr* wrthynt hwy ; efe a ddywed wrthyt

ti

ti ac wrth y'th holl dy eiriau trwy ba rai y byddoch cadwedig, eithr nid felly, oni byddei efe a hwythau o'i dy yn credu; ac attolwg dalwch sulw, oni ddywedir i fod ef *yn wr defosionol, ac yn ofni Duw yngbyd â'i holl dy, Actau* 10. 2. O ran ei holl dy, y mae'r yspryd glân yn meddwl ymma y cyfryw, ac oeddynt o ddealltwriaeth, ac yn ofni Duw yn gystal ac efe ei hun; *Cornelius* hefyd a ddywedodd wrth *Petr, yr ydym ni ynawr ymma ei gyd i wrando yr hyn bethau a orchymynnwyd iti gan Duw*, yr oedd ei holl dy yn gallei gwrando: Ymmhellach onid ydys yn dywedyd, *a* Phetr *etto yn llefaru y geiriau hyn, syrthiodd yr yspryd glân ar bawb ac oedd yn clywed y gair, adnod* 44. A rhai hyn oll a orchymynnwyd gael eu bedyddio, sef, y rhai a dderbyniasant yr yspryd glân, canys eu derbyniad o'r yspryd glân ydyw'r rheswm y mae'r Apostol yn arfer am erchi iddynt gael eu bedyddio, *adnod* 47. *A all neb luddias dwfr, fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr yspryd glân fel ninnau, ac efe a orchymynnodd eu bedyddio hwynt yn enw'r Arglwydd, adnod* 48. Y rhai a gredasant, y rhai a dderbyniasant yr yspryd g'lân, y rhai a lefarasant a thafodau, ac a fawrygasant Dduw, os pôb Dyn neilltuol yn ei dy ef a wnaethant fel hyn, grâs Duw a gaedd ei fynegi yn fwy, eithr nid oes ymma ddim crybwyll am blant yn eu mebyd a gawsant eu bedyddio.

2. Yr wyf yn rhyfeddu wrthych, fe ddywedir i *Petr lefaru geiriau wrth* Cornelius, *trwy ba rai efe a'i holl dy a fyddent cadwedig*; nid ydych yn siccr yn credu yr hyn yr ydych yn pledio trosto; Attolwg attebwch fi, pan fo vn o rhieni yn credu, ac yn cael ei achub neu'n siccr o'i jechydwriaeth, a ydyw ei holl blant, a'i holl deulu trwy ei ffydd ef yn dyfod i'r cyflwr o jechydwriaeth? a fyddant hwy oll gadwedig hefyd trwy ei ffydd ef? Sr, nid yw'r braintiau o'r gyfammod oddiallan, y rhai y mae eich brodyr yn crybwyll am danynt (y mae hynny yn rhyw beth, er na wn beth ydyw) trwy rinwedd ffydd eu rhieni, yn vn â'r peth ac yr ydych chwi yn pledio trosto; yr ydych yn dywedyd wrthym, pan glywodd *Cornelius* eiriau, trwy ba rai y daeth efe i fod yn gadwedig, eu holl deulu a gawsant eu hachub trwy ei ffydd ef hefyd; onid ydych yn dywedyd hyn, yr wyf yn addef na's gwn beth yr ydych yn ei feddwl wrth yr hyn a scrifennasoch; eithr os ych meddwl sydd fel hyn, yr wyf yn gobeithio na bydd neb yn eich coelio,

o her-

o herwydd bod pawb yn gwybod ei fod ymmhell ddigon oddiwrth y gwirionedd.

5. Eithr y rhyfeddod mwyaf sydd yn dyfod yn ddiweddaf; sef y mae'n ymddangos fod gan *Cornelius* a'i deulu, o herwydd ei fod yn vn o'r cenhedloedd, hawl i fedydd trwy gyfammod a gorchymyn Duw i *Noah*, nid trwy rinwedd cyfammod *Abram*, gwir yw, y mae'r naill yn gystal rhesswm a'r llall am fedydd. Eithr

A oedd y gyfammod yr hon a wnaeth Duw a *Noah* yn gyfammod o râs, os felly yr ydoedd, y mae'r holl fyd yn y gyfammod o râs, ac nid dynol ryw yn vnig, eithr *ehediaid y nefoedd a bwystfilodd y maes*, ac yr oedd ganthi arwydd neu sêl hefyd iw chadarnhau i bawb, sef, *Bwa-glaw*; ynawr ych rhesswm oddiymma sydd raid fod fel hyn, o herwydd bôd yr arwydd neu sêl y bwa yn perthyn i *Noah* a'i feibion er cadarnhau bendithion y gyfammod, am hynny y mae bedydd yn perthyn i bôb vn ac sydd yn *Noah* i Dduw ac iw meibion a'u merched, ac Sr, chwi a ellwch ymystyn y casgliad hyn ymmhellach os mynnwch: ond fe allei mae gorchymyn Duw yn hytrach i *Noah* ydoedd; yr ydych yn nodi'r nawfed bennod a'r *adnod* gyntaf, a hwnnw a roddwyd i *Noah* ac iw dri mâb *Shem*, *Ham* a *Japheth* ac ynddynt hwy i'r holl fyd; Eithr beth yw'r gorchymyn hwn, cymerwch y geiriau, a Duw a fendithiodd *Noah* a'i feibion, ac a ddywedodd wrthynt *ffrwythwch a lluosogwch a lenwch y ddaiar*, nid wyf yn gwybod am ba beth yr ydys yn dyfod â hyn, na pheth y allei *Cornelius* gasclu oddiyno, onid ydoedd er annog eu feibion a'i ferched i briodi ac ennill plant yr hwn yn siccr yw vn peth, onid ydyw'r cwbl ac y mae Duw yn ei orchymyn *Gen.* 9. 1. i *Noah* ai feibion, felly ac mal y byddei'r byd gael y modd hynny amlhau a lluosogu a phobl yn ôl y *diluw*.

2. Yr ydych yn dywedyd, *Na allei efe lai nag adnabod y Proselytiaid eraill y rhai a dderbyniasant enwaediad, i bod nhwy a'u plant oddifewn cyfammod* Abram, *ac y byddei iddoynteu hefyd ar yr amser hyn, trwy dderbyn yr Efengyl ddyfod i'r vn gyfammod, fel y byddei efe a'i holl dy yn flaen-ffrwythau'r cenhedloedd; mal hyn y sailiodd* Petr *eglwys gristnogawl yr Iddewon a'r cenhedloedd yn nheuluoedd, yn ôl yr hên ymarferiad o ddechreuad y byd:*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb; Camarfer ffiaidd o'r yspryd glân yw hyn gan ddywedyd i *Petr* sailio'r eglwysi gristnogawl mewn teuluoedd neilltuol, oblegid yr oedd yr eglwys gyntaf yn cynnwys tri mil o ddynnion, ac nid ydys yn crybwyll am deuluoedd neilltuol, ond ysgatfydd, *Dau o ddinas ac un o deulu*, mal yr addawodd Duw, a gawsant y pryd hynny ddyfod i mewn i *Sion* Efangylaidd Duw, ac hefyd yr oedd ymma lawer gwedi ymgynnill ynghyd, fel yr ymddengus *adnod* 33.

2. Pa ham nad ydych chwi yn gwneuthur gwahaniaeth rhwng y gyfammod a wnaethpwyd â hâd naturiol *Abram* megis y cyfryw, a'r gyfammod o râs a wnaeth Duw ag ef: A ydych chwi yn tybied fod y Proselytiaid dall ac anghrediniol hynny y rhai a gawsant enwaedu arnynt oddi fewn y gyfammod o râs mewn gwirionedd, ie yn yr un gyfammod yr hon a wnaeth Duw ag hâd ysprydol *Abram*, megis yr oedd *Cornelius* gwedi iddo gredu yn Nuw ac yn Jesu Grist; pa ham gan hynny y mae *Paul* yn dywedyd; Ac *os eiddo Crist ydych, yna hâd* Abram *ydych ac etifeddion yn ôl yr addewid, Gal.* 3. 29. Heblaw hyn, nid oedd y gyfammod neilltuol a wnaethpwyd â hâd naturiol *Abram* megis y cyfryw, yn rhoddi hawl i'r Proselytiaid dieithr i etifeddiaeth gwlâd *Canaan*; Och na bydde'r Arglwydd yn cymmeryd y llen hon oddiwrth ych llygaid; y mae'n rhaid i bôb enaid gyfrif oddiwrth Grist ac nid oddiwrth eu bod yn hâd naturiol *Abram*, os mynent fôd yn hâd ysprydol *Abram* ac yn etifeddion yn ôl yr addewid.

'*Paul* (meddwch chwi) a blannod neu sailiodd Eglwysi 'ymmhlith y cenhedloedd, ie yn yr un modd ac y gwnaeth '*Petr*, Pan y bydde'r pen-teulu yn credu, efe a fedyddiei 'yr holl deulu.

'Yr ydych chwi yn dywedyd iddo ef blannu eglwys y '*Philipiaid* mewn teuluoedd *Actau* 16. 14, 15. *A rhyw 'wraig, a'i henw* Lydia *yr hon oedd yn addoli Duw a wrandawodd, yr hon yr agorodd yr Arglwydd ei chalon i ddal ar y 'pethau a leferid gan* Paul, *a phan gredodd, hi a fedyddiwyd a'i 'holl deulu:* Yr ydych yn nodi ar y testun hwn dri pheth; 'yn gyntaf fôd *Lydia* yn Brofelyt, a bod Proselytiaid y 'cenhedloedd a'u plant ynghyfammod Duw trwy fedydd ac 'enwaediad; ac ymma yr ydych yn dywedyd wrthym yr 'histori drachefn o *Moses* mâb *Maimon* ynghylch bedyddio 'Proselytiaid, iddynt fedyddio Proselytiaid ymmhlith yr 'Iddewon wrth orchymyn y Gymanfa.

*Atteb.* Chwychwi a fynnwch, myfi a welaf, i'r rhai hynny oll gael eu hail-fedyddio hefyd; ni allaf weled y chwaith nad ydych chwi yn sefyll yn fawr ymma tros yr ail-fedydd ac yn ail-fedyddiwr mawr yn eich barn, a'r cyfryw vn ac na chwrddes ag ef erioed o'r blaen; yr ydych yn mynegi yn gyntaf iddynt gael eu bedyddio trwy ddychymyg dynol yr Iddewon, a'r ail-dro gael eu bedyddio trwy rinwedd gorchymyn Crist; bydded y sawl y fynno ych Proselyt, ni fyddaf fi ddim felly; yr hwn ydych fel hyn yn ymegnio tros ac yn cymyscu traddodiadau dynnion ag ordeiniad sanctaidd Crist.

2. A oedd gan *Lydia* a'i theulu hawl i fedydd o herwydd i bod hi yn Broselyt, myfi a dybiais i'ch Brodyr haeru yn wastadol hawl ei phlant i fedydd trwy rinwedd ei ffydd hi.

Yn y lle nessaf yr ydych yn nodi pan gyntaf ac y credodd hi, hi a'i theulu a gawsant eu bedyddio———. Yn ol trefn cyfammod Duw gan dderbyn y ffyddloniaid a'u hâd, *&c.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, yna y mae'n debygol nad yw bedydd yn orchymyn pûr pennodol Christ; eithr yn sefyll yn lwyr gwbl a'r gyfammod Duw â *Noah* neu ei gyfammod ag *Abram.*

2. Chwychwi a ddylech yn gyntaf brofio fod rhai plant iddi, llaill aimeibion neu ferched, ac os felly pa vn ai bod neb a honynt yn fabanod.

3. Profiwch o herwydd bod yn dywedyd i theulu hi gael eu bedyddio i bob dyn neilltuol yn ei thy gael ei fedyddio, gan ein bod ni yn darllen i *dy cyfan fyned i fynu i offrymmu i'r Arglwydd, eithr nid pôb un; nid aeth dau o'r ty i fynu ddim,* 1Sam. 1. 21, 22.

4. Profiwch i *Paul* blannu eglwys yn ei thy hi, os gwnaeth myfi a ddangosaf yn y man, i bod hwy oll yn bobl o oedran a'r cyfryw ac a oeddynt yn credu ynghrist; ac o ran ych Resswm chwi i holl deuluoedd yn y Testament Newydd dderbyn yr efengyl; nid ydym yn gwadu na chredodd rhai teuluoedd cyfan y pryd hynny neu rhan fwyaf o honynt, ac felly y mae yn ysdyddiau hyn, eithr nid oes llawer o'r cyfryw; eithr am hynny a fynnwch chwi fod eglwysi yn cael eu cynnwys yn vnig o deuluoedd neilltuol; ffordd newydd ydyw hon i brofio eglwysi cenhedlig.

'Yr

'Yr ydych yn dywedyd yn yr vn modd i'r Apostol gyn-
'nyg jechydwriaeth i geidwad y carchar a'i deulu pe by-
'ddei efe yn vnig ond yn credu, *Actau* 16. 30,31. *Ac efe a ddy-*
'*wedodd, crêd yn yr Arglwydd Jesu Grist, a chadwedig fyddi,*
'*ti a'th deulu.* Chwychwi a ddywedwch i *Paul* eglurhau id-
'do gyfammod Duw i'r ffyddloniaid ac iw hâd, gan ddywe-
'dyd wrtho ef *crêd a chadwedig fyddi, ti a'th deulu*; nid yw
'efe yn dywedyd, tydi a fyddi gadwedig a'th dy di os by-
'ddwch yn credu, eithr bydd di yn credu, ac dy dy a fydd
'cadwedig gyda thi; addewid jechydwriaeth (meddwch
'chwi) oedd yn perthyn i'r teulu, os byddei efe yn credu yr
'hwn oedd Ben-teulu, &c.

*Atteb.* Sr, yr wyf yn ych cyhuddo chwi yn bennodol am scrifennu a chyhoedd athrawiaeth ffugiol, amddiffynwch eich hunain yn oreu ac y gellwch; yr wyf yn appelio at gydwybod ych holl frodyr ac at bawb rhai deallus, pa vn ai bod hyn yn wîr neu peidio, sef pan fo pen-teulu yn credu ynghrist, y bydd yr holl deulu yn gadwedig; yr wyf yn addef fod hyn yn ffordd newydd a hawdd i'r cyfryw oll ac sydd yn y fath deuluoedd i fod yn gadwedig; eithr Sr, onid ydyw Christ yn dywedyd *eithr yr neb ni chredo a gondemnir*, *Marc* 16. 16. Byddent fyw ymmha deulu y mynnont; nid ydych chwi yn dywedyd ymma am hawl cyfammodol oddiallan i fedydd eithr am jechydwriaeth ei hun.

2. Nid ydych yn dywedyd am fabanod megis y cyfryw, eithr am y rhai oll ac sydd yn y teulu, sef yn cynnwys meibion a merched o oedran, gwasanaeth-ddynnion a gwasanaeth-ferched, fe ymddengis oddiymma fod dynnion yna o oedran yn y prif amseroedd yn cael eu bedyddio trwy rinwedd ffydd eu rhieni yn gystal a babanod, ie ac yr oeddynt gadwedig hefyd trwy ffydd y pen-teulu.

3. Onid ydyw hefyd yn canlyn fod ych anwybodaeth yn fawr jawn oblegid cyfammod Duw ag *Abram*; canys os ydyw'r peth fel yr ydych chwi yn dywedyd, yna y mae'n rhaid i holl hâd *Abram* yn ôl y cnawd fod yn gadwedig, o herwydd iddo ef megis *Pen* ei deulu gredu; eithr onid ydyw'r scrythur yn dywedyd yn wrthwyneb i hyn, *er bod nifer plant* Israel *megis tywod y môr, etto ni fydd ond gweddill o honynt yn gadwedig.*

4. Oni ddichon yr athrawiaeth hyn sydd gennych lygru hefyd a dinistrio llaweroedd o eneidiau truain Plant

a gweision hefyd, y rhai ydynt yn byw yn nheuluoedd, ymmhle y mae'r pen-teuluoedd yn credu ac yn dduwiol; oni allant hwy ddywedyd nyni a fyddwn gadwedig er nad ydym yn credu, oblegid ein bod ni yn trigo mewn teulu ymmha yn y mae'r pennaeth, sef, ein tâd neu ein meistr yn credu, ac y mae Mr. *Owen* yn siccrhau ini y byddwn oll gadwedig, o herwydd bod ein tâd neu ein Meistr yn credu, *Brawyched y nefoedd wrth hyn*, a fel hyn, yr ydych yn profi bedydd Plant?

*Britaniaid* anrhydeddus, hyn a wasanaetha i ddangos i chwi nad oedd y gyfammod a wnaeth Duw ag *Abram*, sef y gyfammod o enwaediad yr hon a wnaethpwyd ag ef a'i hâd naturiol megis y cyfryw, yn gyfammod jechydwriaeth ac felly nid oedd yn gyfammod o râs; y mae hyn mor eglur nid yw raid i chwi ofalu am dano, o herwydd bod llaweroedd ac oedd yn y gyfammod yn golledig; ac er bod enwaediad yn sêl o ffydd *Abram*, etto nid oedd yn sêl o'r gyfammod o râs iw hâd ef megis y cyfryw, canys pe buasei, fe a seliasei iddynt hwy oll gyfiawnder ffydd a bywyd tragwyddol, yr hyn ni wyddom ni wnaeth erjoed i liaws o honynt; eithr peth nodedig jawn ydyw, gweled Mr. *Owen* yn y lle nessaf yn gwrthbrofi ei hun ac yn dinistrio ei resswm yn y man hyn o ran yr amcan sydd gantho; y mae efe yn dyfod i mewn â'r gwrthddadliad hwn.

*Gwrthdd.* Ei holl deulu a gredasant *addod* 34. Cymmerwch ei Atteb ef.

*Atteb.* 'Yr wyf yn Atteb (medd efe) felly yr oedd y 'rhai o oedran yn gwneuthur y mae'r holl deulu weithiau 'yn arwyddoccau yr rheini ag oedd o oedran yn y teulu; yr 'ydys yn dywedyd am *Sampson i holl dy ei dâd ei gladdu* '*ef*, hynny yw, (medd efe) y rhai oeddynt o oedran yn 'nhy ei dâd, oblegid ni allei'r plant bychain fyned i wlâd 'y *Philistiaid* i gladdu ei gorph ef, *&c.* fe ddywedir, (medd 'efe) am *Cornelius* mae gwr defosionol ydoedd ef yn ofni 'Duw a'i holl deulu, hynny yw, y rhai oll ac oeddynt o 'oedran yn ei deulu ef; felly y credodd ceidwad y car'char a'i holl deulu sef y cyfryw oll a oeddynt o oedran 'i gredu.

2. 'Ac nid oes ini dybied (medd Mr. *Owen*) fod yr holl 'deuluoedd hynny y rhai a fedyddiwyd gan yr Apostoli'on yn ammhlantadwy, nid oedd dim llawer o deulu-

'oedd

'oedd yn yr oesoedd hynny heb blant ynddynt; oblegid
'y rhan fwyaf o'i meddiannau oedd ei caeth-weision a'r
'plant a anwyd iddynt, ac yr oedd y plant hynny yng-
'hyfammod Duw, yn yr vn modd ac yr oedd y plant a
'gawsant eu breiniol-eni, *Gen.* 17. 13. 23. Felly y maent
'hwy hefyd tan yr efengyl, hâd *Abram* ydynt trwy ffydd
'eu rhieni ac etifeddion megis o'r blaen, *Gol.* 1. 12. *Gal.*
'3. 29.

*Atteb* 1. Nid os raid imi roddi dim Atteb ymmhellach o barthed y rheswm hwn a'r achos y'r hyn yr ydych yn ei ddywedyd am holl deuluoedd, Chwychwi a attebasoch eich hunan yn effeithiol; yr ydych yn haeru nad ydys yn meddwl neu'n cynnwys wrth holl dai neu deuluoedd yn y scrythur weithiau neb ond y rhai sydd o oedran; ac y mae'r hyn a ddywedwyd am *Sampson* yn profio hyn yn ddigonol, ni allei plant bychain fyned i gladdu ei gorph ef; er bod yn dywedyd i holl dy ei dâd ei gladdu ef; felly yr ydym ni yn dywedyd, nad oeddynt yn meddwl neb wrth holl deuluoedd, y rhai a ddywedir iddynt gael eu bedyddio, ond y rhai hynny o oedran ac a oeddynt yn credu.

2. Yr ydych yn dywedyd ac yn cyfaddef fod *Cornelius* a'i holl dy yn ofni Duw, a bod ceidwad y carchar a'i holl deulu yn credu, sef, y rhai oll ag oeddynt o oedran (meddwch chwi) ac a gredasant, neu oeddynt o oedran i gredu; hyn a all wasanaethu er eglurhau'r peth oblegid yr holl deuluoedd eraill, y rhai a ddywedwyd iddynt gael eu bedyddio; y mae Duw yn peri i chwi ddywedyd y gwîr ymma er ei fod yn tueddu i ddinistrio eich holl resswm.

2. Eithr yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd yn y lle nessaf nid yw wîr mo honaw, sef bod y rhieni a'u plant, a chaethweision a'u plant tan y gyfraith a than yr efengyl hefyd oddifewn y gyfammod o râs trwy ffydd eu rhieni; oblegid e'r rhoddi gorchymyn am enwaedu ar y caethweision a'u plant gwrywaid y rhai oeddynt yn nheulu *Abram*, ai bod nhwy megis Proselytiaid yn cael eu derbyn i deuluoedd eraill yr Iddewon tan y gyfraith, etto nid oeddynt hwy etifeddion o wlâd *Canaan*; ni allei neb ond hâd naturiol *Abram* gael meddiannau yno yn ôl y gyfammod neilltuol honno a wnaeth Duw ag hâd cnawdol *Abram*, megis y cyfryw; yr hwn oedd yn dal allan nad oedd neb

ond y credinlol neu etholedigion Duw, y rhai oeddynt wir hâd ysprydol *Abram*, yn wîr etifeddion o'r addewid ac o'r *Canaan* nefol; â ddywedwch chwi fod holl had naturiol *Abram* a'r caethweifion a'u plant megis y cyfryw, ac hefyd holl hâd naturiol y credadwy megis y cyfryw, yn hâd wîr ysprydol *Abram*; Duw a gymmeriff yn ficcr y llen hon o flaen ych llygaid, ac a agoriff eich dealltwriaeth os edrychwch atto ef trwy wedi a chwilio y fcrythurau â dymuniad diragrith am gael gwybodaeth yn y matter hyn.

3. Chwi a gewch wahaniaeth mawr rhwng y gyfammod honno a oedd yn neilltuol yn perthyn i hâd naturiol *Abram* megis y cyfryw, a'r gyfammod o râs a wnaethpwyd ag *Abram* a'i hâd wîr ysprydol megis y cyfryw.

4. Myfi a brofiais nad iyw ffydd *Abram* na ffydd y rhieni yn rhoddi hawl i neb o'u hâd naturiol megis y cyfryw, i'r etifeddiaeth neu'r fendith a bwrcaswyd gan Jesu Grist, sef, *Cyfiawnhâad, Mabwsiad, maddeuant pechod a bywyd tragwyddol*; nage, nage, *Nid yw plant y cnawd* (megis y cyfryw) *yn blant Duw; eithr plant yr addewid a gyfrifir yn hâd*, sef y rheini ac ydynt etholedigion Duw yn vnig, *Rhuf*. 9. 6, 7, 8, 9. Ydynt blant yr addewid ac etifeddion gogoniant; nid yw'r addewid yn rhedeg, *Gal*. 3. 15. *i'w hadau megis am lawer, ond i'th hâd ti, yr hwn yw Crist*, sef Crist mal yr ystyrier ef yn ei berson yn y lle cyntaf, ac wedin i Crist, mal yr ystyrier ef mewn modd dirgel, hynny yw, y cyfryw oll ac ydynt gwedi cael eu huno ag ef mewn modd ysprydol; am hynny, y mae'r Apostol yn dywedyd, *adnod* 29. *Ac os eiddo Crist ydych, yna hâd* Abram *ydych ac etifeddion yn ôl yr addewid*, neu yn oll y gyfammod o râs yr hon a wnaeth Duw ag *Abram*.

5. Y mae'n rhaid bod y peth fel hyn, o herwydd bod y gyfammod o râs gwedi threfnu yn dda ymmhôb peth ac yn ddiogel, gwelwch vnwaith etto, *Rhuf*. 4. 14. *Canys os y rhai sydd o'r ddeddf, yw'r etifeddion, gwnaed ffydd yn ofer, a'r addewid yn ddirym*; Nid oes dim anghenrheidrwydd o ffydd, os gall y gyfammod ddeddfol achub neb; eithr os ni's gallei vfudd---dod personol tan y ddeddf achub y rhieni y mae'n ficcr na all vfudd-dod y rhieni achub y plentyn; eithr dalwch sulw ar *adnod* 16. *Am hynny o ffydd y mae, fel y byddei yn ol grâs fel, y byddei'r addewid yn ficcr i'r holl hâd*; Y nawr Sr, ystyriwch yn dda, yr addewid, bywyd tragywyddol ydyw, felly y mae pawb yn ei gymmeryd yn y

lle hyn

le hyn, ac y mae hwn (medd *Paul*) yn sicer i'r holl hâd; efe a gwedd ei sicrhau nid yn vnig trwy air Duw, eithr trwy lw Duw hefyd *Heb.* 16. 13. *Canys Duw wrth wneuthur addewid i* Abraham, *oblegid na allei dyngu i neb oedd fwy, a dyngodd iddo ei hun, gan ddangos i etifeddion yr addewid ddianwadalwch ei gynhor ef, a cyfryngodd trwy lw, fel y gallei etifeddion yr addewid gael cyssur cryf*, adnod 17. 18. Y mae'n rhaid i'r cyfryw oll ac ydynt wir etifeddion neu hâd ysprydol *Abraham* fod yn gadwedig, canys y mae'n ammhossibl i Dduw ddywedyd celwydd, neu beidio cyflawni ei addewid i neb o wîr hâd *Abraham*, am hynny os oedd holl hâd naturiol *Abram* yn y gyfammod hon, a hâd naturiol y crediniol oll hefyd felly, y mae'n beth ammhossibl i vn o honynt hwy farw yn dragywydd, neu beidio a chael bywyd tragywyddol.

Y maent hwy oll gwedi cael eu geni o Dduw, ac yn etifeddion, megis yr oedd *Isaac*, nhwy a gawsant oll eu hethol o dragwyddol-deb i jechydwriaeth; hwynt hwy a roddwyd oll i Grist, ac y maent eu gyd yn aelodau o'i gorph dirgel ef, neu y maent yn vn corph dirgel, ie, *megis cnawd o'i gnawd ac ascwrn o'i ascwrn ef*; ac am hynny ni all y gyfammod hon a rhydd addewid Duw berthyn i hâd naturiol *Abraham*, megis y cyfryw, nag i hâd naturiol y crediniol megis y cyfryw; canys och! Pa faint o honynt hwy fydd yn trengu yn dragywydd, *Canys er bod nifer plant* Israel *megis tywod y môr, etto ni bydd ond gweddill o honynt yn gadwedig megis ac y nodwyd o'r blaen.*

'Eithr (meddwch chwi) os nad oedd gan geidwad y 'carchar ddim plant, neu os oeddynt hwy o oedran, yr 'vn peth ydyw; fe gynnigodd yr Apostol jechydwriaeth 'iddo ef ac iw deulu, ie i blant bychain, od oedd o'r fâth 'hynny gydag ef, ac y mae hyn yn ddigon er cadarnhau y matter yn llaw, a bôd ini ddeall wrth y teulu hyn yn bennaf, 'ei blant megis ac y mae'r gair yn cael ei gymmeryd yn arferol yn y scrythur, *Gen.* 30. 30. ac 45. 19. *Num.* 3. 15. 1 *Tim.* 5. 8.

*Atteb.* Y mae'n debygol ych bod chwi yn annilys pa vn ai bod plant gan geidwad y carchar neu peidio, heblaw hyn yr ydych yn dywedyd wrthym fod holl deuluoedd yn cynnwys y rheini ac ydynt o oedrau weithiau; oddiwrth ba beth y gallwn gasclu yn ôl y scrythur, y gellir dywedyd i deuluoedd cyfan gael eu bedyddio, pan nid oes neb ond y cyfryw ac a ydynt o oedran yn cael eu bedyddio yn y teuluoedd hynny.

2. Os cynnygiad iechydwriaeth i bobl gan yr Apostol sydd yn rhoddi hawl iddynt i fedydd, yna fe all yr holl fyd gael eu bedyddio, oblegid y dylei'r holl fyd gael cynnigiad o iechydwriaeth iddynt; *Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bod creadur*, *Marc.* 16. 15. Eithr nid yw'r cynnigiaid hwn yn rhoddi i neb hawl i fedydd, fel y mae yn neillduol ynddo ei hun, nag ydyw, nid oes neb, ond y cyfryw ac sydd yn credu a hawl ganddynt, fel y mae'r geiriau nessaf yn profio; *y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig*, *adnod* 16. Y mae'n rhaid iddynt yn gyntaf gredu, a chael eu gwneuthur yn ddiscyblion, ac yna cael eu bedyddio; y mae'n rhaid i'r rhieni gredu ac y mae'n rhaid i'r plant gredu yn gyntaf, nid yw i'r rhieni gredu dros y plant, ond y mae i'r plant gredu trostynt eu hunain cyn y dylent gael eu bedyddio yn ôl y Commisiwn a naturiaeth gweinidogaeth y bedydd Efangylaidd.

3. Y mae'n beth rhyfeddol y byddei i'r Apostolion bregethu wrth blant bychain neu gynnyg Christ iddynt; Beth a oedd y fath beth, a phregethu Christ wrth y baban yn y gadr? Yr hwn nid yw yn adnabod ei law ddehau oddiwrth ei law asswy; coeled hyn y sawl y fynno.

Eithr yr ydych chwi yn dywedyd, 'Rhan benuaf yw'r 'plant o'r teulu, pan y mae *Paul* yn dywedyd wrth geid-'wad y carchar, *Cred yn yr Arglwydd Jesu, a thydi a fyddy* '*cadwedig â'th holl dy*, y mae'n gymmaint ac pe buasei yn 'dywedyd, os credu di ynghrist, y mae cyfammod Duw, 'a sêl bedydd yn perthyn iti ac i'th blant, &c.

*Atteb* 1. Yr wyf yn Atteb, yr wyf yn caniattau fod plant yn rhan o'r teuluoedd hynny ymmha rai y mae Plant, eithr nid ydynt o bôb teulu, oblegid bôd llawer o deuluoedd ple nid oes dim plant yn eu mebyd, ac nid allant hwy fod yn rhan o'r teuluoedd hynny ymmha rai nid oes vn plentyn.

2. *Cred yn yr Arglwydd Jesu a thydi a fyddy cadwedig*, hynny yw, bydd di yn credu, a'th holl dy y rhai a allant gredu, bydded iddynt hwy gredu hefyd, a chwi a fyddwch oll gadwedig; nid ydys yn bwriadu dim ymmhellach, yn y lle hyn; oblegid yn ôl ych rhesswm ych hun, y mae'r gweision a'r plant sydd o oedran tan yr vn addewid â'i babanod, os ydoedd neb babanod gantho; ynawr a ddywedwch chwi, y gallei ei weision a'i blant y rhai a oeddynt o oedran fod yn gadwedig trwy ei ffydd ef; yr Arglwydd

Arglwydd a agoro eich llygaid: Yr wyf yn dywedyd wrthych drachefn fod y gyfammod neilltuol honno a wnaeth Duw ag hâd naturiol *Abraham* megis y cyfryw gwedi ei diddymmu a darfod am dani pan bregethodd *Paul* wrth geidwad y carchar; ac myfi a brofiais nad oedd y gyfammod o râs, neu'r gyfammod iechydwriaeth yr hon a wnaeth Duw ag *Abraham* yn perthyn i neb ond i'r etholedigion yn vnig, neu iw hâd ysprydol ef; heblaw hyn os ffydd y rhieni sydd yn dyfod â'r plant i mewn i'r gyfammod iechydwriaeth; yna y bydd yn canlyn, y cedwyff anghrediniaeth y rhieni y plant allan o'r gyfammod, ac felly y rhwystriff hwynt rhag iddynt fod yn gadwedig; ac os fel hyn y mae'r peth, fe all y plant fod yn golledig o herwydd pechod eu rhieni gan iddynt beidio a chredu.

Yr ydych yn mynedyn'y blaen gan dywedyd *i'r Apostol blannu eglwys y* Corinthiaid *trwy fedyddio holl deuluoedd*, 1 Cor. 16, 17. *Megis Ty* Stephanas *a* Crispus; *a'r Iddewon* (meddwch chwi) *a gyd-gyfodasant yn erbyn* Paul *yn* Corynth, *ac a'i cyhuddasant ef* oblegid ei fod ef yn annog dynnion i addoli Duw yn wrthwyneb i'r cyfraith, adn. 13. *Pa faint mwy y buasent hwy yn ei gyhuddo ef gan hynny* (meddwch chwi) *am daflu all o'u plant o gyfammod* Abram; *pe buasei'n gwneuthur felly*, &c.

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, pa fodd yr ydych chwi yn gwybod na allei hwn fod yn vn peth am ba vn yr oeddynt yn ei gyhuddo ef; nid os dim ammeu, na hyspyffodd *Paul*, mal y gwnaeth *Joan Fedyddiwr*, iddynt, na thalei ddim iddynt ynawr eu bod hwy yn blant i *Abram* yn ôl y cnawd megis y cyfryw; y mae'n eglur iddo ef naccau, nad oedd hawl eu plant i enwaediad yn rhoddi hawl iddynt i fedydd; ni dderbynniodd efe neb o honynt hwy iw bedyddio, y rhai ni wnaethant broffes o'u ffydd ynghrist, gan fod y gyfammod neilltuol honno a wnaethpwyd â hâd naturiol *Abraham* megis y cyfryw, gwedi ei diddymmu.

Ymmhellach *Paul* a ddywedodd wrth y *Corinthiaid* hyn, *fod pôb peth ynawr gwedi myned yn newydd*, bod eglwys newydd, a chymundeb eglwysig newydd a hawl newydd i'r cymundeb eglwysig hynny, *ac ynawr nid oedd adwaen neb yn ôl y cnawd*; efe a bregethodd yr athrawiaeth hwn wrth y *Corinthiaid*, 2 *Cor.* 5. 16, 17. *Am hynny nyni o hyn allan nid adwaenom neb yn ôl y cnawd, ac os buom besyd yn adnabod Christ yn ol y cnawd, etto yn awr nid ydym yn ei adnabod*

ef

*ef mwyach*: Beth y mae'r Apostol yn ei fwriadu ymma wrth y geiriau hyn, ond fef ynawr *o hyn allan* neu oddiwrth ordeiniad goruchwiliaeth yr Efengyl *nid ydym yn adnabod neb yn ol y cnawd*; Adwaen neu i adnabod yn y man hyn, fydd yn arwyddoccau cyfrif neu barchu neb vwchlaw eraill o ran eu difcynniad cnawdol oddiwrth *Abram* mewn ffordd liniol trwy genhedlaeth, neu o achos rhoddi parch i vn gyfammod a wnaeth Duw ag ef neu a'i hâd cnawdol megis y cyfryw; gan fod y gyfammod honno a'r hawl ammodol gwedi cael eu cymmeryd ymmaith, *efe a gymmerodd ymmaith y gyntaf, fel y gallei ficcrhau'r ail*, Heb. 10. 9. *Canys wedi newidio yr offeiriadaeth, angheraid yw bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd*, *Heb.* 7. 12. Nid oes gan hynny y nawr ddim gwybodaeth neu barch o ddynnion yn ôl dull yr hên gyfammod honno, gan fod y gyfammod newydd yn llwyr annhebyg iddi, neu nid yn fefyll yn ôl yr hên gyfammod, yr hon ydoedd yn redeg i hâd cnawdol *Abram* megis y cyfryw; y mae'n rhaid iddynt yn awr gredu ac y mae'n rhaid iw plant gredu cyn y caffont eu gollwng i mewn megis aelodau o'r eglwys Efangylaidd; *Gan hynny od oes neb yn Grist y mae efe yn greadur newydd, yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd*, 2 *Cor*. 5. 17. Os caiff neb ei impio i Grist, neu i'r eglwys Efangylaidd y mae'n rhaid fod ganddo ffydd, a bôd yn greadur newydd, neu fôd o'r creadigaeth newydd mal y mae'r gair Groeg καινὴ κτίσις yn arwyddoccau; ie, medd efe, *er ini adnabod Crist yn ôl y cnawd*, hynny yw, yn fâb o eglwys yr Iddewon neu barchi ef ar yr achos hynny; etto o hyn allan *nid adwaenom ef*, neu nid ydym yn ei barchi ef ar yr achos hynny ddim pellach: fel hyn yr oedd yr athrawiaeth a bregethodd *Paul*, ac y mae'n debygol jawn mae yn gymmaint oddiymma y darfu iddynt hwy ei gyhuddo ef am annog pobl i wneuthur yn erbyn y gyfraith ac ar vn achos arall pwy bynnag, am hynny yr hyn gwbl ac a ddywedafoch oddiymma fydd ofer eithr gan gymmaint a'ch bod chwi yn gwneuthur cymmaint o ddwrddan ynghylch bedyddio holl deuluoedd, myfi a chwanega ychydig o bethau ymmhellach er eglurhau y matter hyn ac yr wyf i'n ymreffymmu yn llyn.

1. Pe ni buafei neb tylwyth neu neb teuluoedd, ple ni buafei rhai plant, chwi a allafech gael peth lliw am yr hyn yr ydych yn gafclu oddiymma; eithr pa môr eglur ydyw fôd ymmhob lle amryw o deuluoedd cyfan, ymmha rai nid oes vn baban neu blentyn tan oedran, a chan

fôd

fôd y peth fel hyn, pa ddibenniad a ellir ei dynnu oddiymma?

2. Heblaw hyn; Chwychwi a wyddoch fôd llwyth *Ephraim* yn cael ei osod yn lle holl *Israel* yn ôl rhyw wrthddrwch yr hwn a elwir *Synecdoche*, ran am y cwbl yn *Esay* 7. 2. 5, 8, 9. Yr ydys yn dywedyd i holl *Jerusalem* a *Judea* fyned allan i gael eu bedyddio gan *Joan* yn y *Jordonnen*: yn 1 *Sam.* 1. 21, 22. Y mae'r testun yn dywedyd yn eglur; y gwr *Elcanah* a aeth i fynu a'i holl dylwyth i offrymmu i'r Arglwydd, ac yn yr adnod nessaf fe ddywedir yn bennodol nad aeth *Hannah* i fynu na'i mâb *Samuel*; ie chwychwi a ddangosasoch ini deulu neu dylwyth cyfan am ba rai y dywedwyd iddynt gladdu corph *Sampson*, ac etto yr ydych yn dywedyd wrthym nad oedd y plant bychain yn cael ei cynnwys yn yr ymadrodd hwnnw, *Ei holl deulu.*

3. O ran ty ceidwad y carchar yr ydys yn dywedyd yn bennodol, i *Paul* bregethu iddo ef ac i'r cyfryw oll a oeddynt yn ei dy ef (a ydych chwi yn tybied iddo bregethu wrth ei fabanod ef, od oedd gantho rai) ac mal y gosodaf *y* peth yn ddiammeu, y mae'n scrifennedig iddo ef lawenhau gan gredu yn Nuw a'i holl deulu, yn gystal ac yr ydys yn dywedyd iddo gael ei fedyddio a'i holl deulu.

4. O barthed *Lydia* yr ydym ni yn dywedyd, nad yw'n siccr pa vn ai merch jevaingc, gweddw ai gwraig ydoedd; Eithr os ydoedd hi gwedi priodi, a bôd ganddi blant, y mae'n annhebygol jawn (os babanod oeddynt) i bod nhwy y pryd hynny gyda hi, oblegid i bôd hi ymmhell oddiwrth ei chartref, ie llawer o filltiroedd oddiwrtho, oblegid yr oedd hi yn trigo yn Ninas y *Thyatiriaid*, *adnod* 14. Eithr pan bregethodd *Paul* wrthi, yr oedd hi yn *Philippi* ymmha le yr oedd hi yn marsiandiaethu gan fod yn gwerthu porphor; a allwn ni dybied iddi ddwyn ei phlant bychain cyn belled i'r farchnad? heblaw hyn, y rhai a oeddynt o'i thy hi a alwyd yn frodyr, sy rhai a gawsant eu bedyddio gyda hi; am hynny yn ddiau nid yw ystyr y lle hyn yn cyrrhaeddyd at blant, *adnod* 40.

A adeiladwch chwi Sr ych ymmarferiad o fedyddio plant bychain oddiwrth y dibenniadau annilys ymma, pan nid yw siccr pa vn ai bod ganthi blant neu peidio? neu od oedd ganthi blant pa vn ai bôd hwy gyda hi ar yr amser hynny neu peidio? nyni a allwn naccau hyn yn gystal

ſtal ac y gallwch chwi ei haeru ef; etto y mae'n eglur fôd ganthi weiſion neu rai a elwir ei theulu, am hynny yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd ſydd ofer ar yr achos hyn.

Ac fel hyn yr ymddengus i bôb gwr dibarthiol nad oes dim grym yn ych rheſſwm chwi o ran arferiad yr eglwys Efangylaidd ynghylch bedyddio holl deulu oedd; nid ydys yn crybwyll ymma am neb babanod a gawſant eu bedyddio, ac nid oes liw o reſſwm am ini gaſclu fôd y fâth blant yn y teuluoedd hynny.

Y mae Mr. *Burkit* môr afreſymmol a'n goſod ni i chwilio y ſcrythurau er profio negyddiaeth, ſef, na chaedd neb mo'i bedyddio yn eu mebyd, ac fe allaſit yn gyſtal geiſio gennym brofio na ordeiniwyd vn baban erjoed yn henuriad neu fugail eglwys; pa fodd y gallwn brofio nad oeddynt hwy yn arferid *mel* neu *olew* mewn bedydd, y rhai a arferwyd gan rai o'r hên dadau, fel y mae Mr. *Perkins* yn nodi; neu *halen* neu *boeryn*, pa arferiad ſydd yn parhau etto yn *Eglwys Rhufein?* Pa le yr ydys yn gwahardd enneiniad eithaf, neu gyfaddefiad Pechodau ynghlyſt yr offeiriad, neu rifo Paderau bâch a chant o'r fâth bethau ofer ymmhlith y *Papiſtiaid*? a all y pethau hyn gan hynny gael eu gwneuthur; oblegid nad ydym yn darllen iddynt gael eu gwahardd; yr oeddwn yn tybied fod chwanegu dim at air Duw yn waharddedig, *Rev.* 22.

Eithr, medd Mr. *Burkit* chwiliwch y ſcrythurau a deuwch ag vn Siampl os gellwch o amſer *Joan Fedyddiwr* hyd farwolaeth *Joan Efangylwr*, yr hyn oedd ychwaneg i drivgain mlynedd, pan yr oedd miloedd o fabanod gwedi tyfu i fynu yn y cyfamſer hwnnw, a dangoſwch na chawſant eu bedyddio yn eu mebyd, neu fod eu bedydd gwedi ei oedi hyd nis byddent o oedran, neu fod vn gorchymyn oddiwrth Dduw am oedi bedyddio Plant rhieni Criſtnogawl hyd oni's tyfont i fynu, ac nyni a roddwn i fynu yr ymryſſon yn ewyllyſgar; Dymma ddywedyd yn wych.

*Atteb.* Y mae'n rhaid i'm droi y rheſſwm hwn yn ei ôl drachefn, a dangos ei fod yn rheſſwm cryf yn erbyn bedyddio plant ac nid troſto; canys, meddafi, bydded i'n yſtyried gan fod cyd o amſer a thrivgain mlynedd ac ychwaneg lawer rhwng amſer *Joan Fedyddiwr* a marwolaeth *Joan* y diſcybl annwyl, neu *Joan Efangylwr*, ymmha amſer y ganwyd llawer mil o fabanod i rieni crediniol y rhai oeddynt gwedi cael eu bedyddio ymmhlith yr Iddewon

a'r

a'r cenhedloedd, etto nid ydym ni yn darllen am vn baban o honynt yr hwn a gaedd ei fedyddio.

Ystyria ddarllennydd fod Mr. *Burkit* yn dywedyd yn nydd yr efengyl, pan yr anfonodd ein jachawdwr o'r cyntaf ei ddiscyblion i bregethu, yr oeddynt hwy i ddyscu neu i wneuthur discyblion o'r cyfryw ac yr oeddynt yn fedyddio; eithr y mae efe yn dywedyd pan gredodd y rhieni ac y cawsant eu bedyddio, yr oedd eu plant yn cael eu gollwng at fedydd hefyd; ynawr, meddaffi, gan fod llawer o rhieni y rhai a gawsant eu dyscu fel hyn a'u bedyddio gwedi ennill amryw o blant, pa fodd nad ydym yn darllen am i neb o'i babanod gael eu bedyddio, ie o amser *Joan Fedyddiwr* hyd farwolaeth *Joan Efangyl'wr*; a ddichon neb dybied pe buasei rhai babanod yn cael eu bedyddio, na fuasei Duw yn gadael rhyw eglurhâad am hynny, er gosod y peth heb ammheuaeth; yn enwedigol pan na ddyscwyd mo'r peth mewn modd athrawiaethol ac na orchymynnwyd mo hono? yn ddiau fe fuasei hyn yn wrthwyneb i ofal, doethineb a ffyddlondeb Jesu Grist, sef gan guddio neu gelu y fath arferiad, pe buasei vn baban yn cael ei fedyddio trwy ei awdurdod neu gennad ef; eithr yn gymmaint nad yw'r scrythur yn dywedyd dim oblegid hyn, nyni a allwn fod yn sicer mae ewyllys Duw nid ydyw, y dylei babanod gael eu bedyddio.

Ymmhellach od oedd yn rhaid iddynt hwy, y rhai a fyddei iw bedyddio, gael yn gyntaf eu dyscu, yn gyntaf edifarhau a chredu, yna mae'n canlyn yn eglur y dylyt oedi bedydd, hyd oni ddelei 'r plant o oedran, ac y byddent yn gallu gwneuthur felly.

O ran ty *Cryspus* yr ydych chwi eich hunain yn cyfaddefl bod hwynt oll yn credu; fel hyn y mae eich geiriau; sef, ' Gwîr yw yr oeddynt eu gyd yn nhy *Crispus* ' yn grediniol, sef o gyflawn oedran, eithr (meddwch 'chwi) a oedd holl deuluoedd y ffyddloniaid yn ddiblant, &c.

*Atteb.* Nid oes dim ammeu nad oedd plant yn rhai o'r teuluoedd hynny; fe allei nad oeddynt hwy yn ddiffrwyth heb blant, ac etto fôd eu plant gwedi tyfu i fynu i gyflawn oedran; eithr fe ddarfu i chwi eich hunan brofio y gellir dywedyd fod teuluoedd cyfan yn cael eu bedyddio, etto fe allei fod nad oedd neb ond y cyfryw ac oeddynt o gyflawn oedran yn y teuluoedd hynny yn cael eu bedyddio, gan fod y scrythur yr hon a nodwyd gennych yn dywedyd

wedyd i *Sampson* gael ei gladdu gan holl dy ei dâd, etto ni allei fod neb o'r plant bychain yn y tylwyth hynny yn ymdrafferthu ynghylch y gwaith hynny.

Oblegid teulu *Stephanas* yr ydych yn dywedyd yn dda, y gelwir hwynt yn flaen-ffrwyth *Achaia*; *Ond yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, chwi adwaenoch dy* Stephanas, *mae blaen-ffrwyth* Achaia *ydyw*; *ac iddynt ymosod i weinidogaeth y Sainct*, 1 Cor. 16. 15. *Fod o honoch chwithau yn ddarostyngedig i'r cyfryw.*

*Atteb*. Hwynt hwy, hynny yw, yr holl deulu a roddasant eu hunain i fynu i weinidogaeth y Sainct; eithr y mae'n siccr na allei plant bychain wneuthur hyny, ac ni ddylei'r cyfryw ac oeddynt o gyflawn oedran fod yn ddarostyngedig i blant bychain, neu hanrhydeddu ai perchi hwynt am weithredoedd cariadus.

Yr ydych chwi yn cyfodi'r gwrthddadl hyn sef, *Nid ydym ni yn darllen am neb babanod yn y teuluoedd hynny*; *i ba vn yr ydych yn atteb*; *od oedd teuluoedd y* Corinthiaid, *pan y cawsant eu bedyddio gan yr Apostol mo'r ddiffrwyth*, *pa achos oedd gan yr Apostol scrifennu attynt fôd eu plant yn sanctaidd*, 1 Cor. 7. 14. *Y mae gan hynny yn debygol jawn* ( meddwch chwi) *fod Plant ymmhôb teulu ac a gaedd eu bedyddio.*

Yr ydych chwi yn y man hyn yn arferyd drachefn ych rhesswm o'r blaen, ac yn ail-adrodd yr vn pethau, i ba rai y rhoesym Atteb eisioes fwy nag vnwaith, o barthed bod y plentyn mewn cyfammod, pan fo'r Pen teulu neu'r rhieni yn credu.

2. Yr wyf yn dywedyd mae tebygol jawn ydyw nad oedd neb plant tan oedran yn y teuluoedd hynny, oblegid yr ydys yn dywedyd i'r holl deulu gredu.

3. Od oedd plant yno, etto yn ôl eich caniattaâd eich hun, fe allesit dywedyd i'r holl deulu gael eu bedyddio, ac etto na chaedd neb o'r plant bychain mo'i bedyddio y rhai allant fod yn y teuluoedd hynny; o herwydd fod *Holl* yn cael ei gymmeryd yn fynych am *Ran*.

4. Eithr a adeiladwch chwi ordinhâad a'r debygoliaeth, ac a'r ganlyniaethau annilys, ie vn o ordeiniadau sanctaidd yr efengyl, yr hon a elwir vn o'i dau Sacramentau mawr hi; nyni a roddasom atteb eisioes i'r testun hwnnw, 1 *Cor.* 7. 14. Ynawr nyni a gawn gasclu rhai dibennion oddiwrth y cwbl yn wrthwyneb i'ch rhai chwi.

1. Fod

1. Fod y gyfammod yr hon a wnaeth Duw â *Noah* a'i deulu yn gyfammod a wnaethpwyd a'r holl fyd, ac felly nid oedd yn gyfammod o râs er bod trugaredd a grâs yn cael eu cynnwys ynddi i holl ddynol-ryw ac ehediaid y nefoedd a bwystfilod y maes hefyd.

2. O ran i Dduw gymmeryd holl deulu neu dylwyth *Abram* iw gyfammod, megis y cyfryw, yr oedd yn gyfammod yn vnig yr hon oedd yn perthyn iw hâd naturiol ef, ac yr oedd yn cynnwys llawer o fendithion temmhorol a braintiau ynddi; i ba rai ni âll vn teulu tan yr efengyl gymmeryd arnynt vnwaith fod hawl ganddynt; ac o'r gyfammod hon yr oedd enwaediad yn arwydd, a'r enwaediad hwnnw, a roddwyd yn vnig i fod *yn-sêl o gyfiawnder ffydd* i *Abram* yn vnig ac nid i blant bychain.

3. Fod *Holl* dy *Israel* megis y cyfryw, neu holl genedl yr Iddewon tan y gyfraith eu gyd, megis yr ystyrier hwynt felly, y pryd hynny yn eglwys Duw, ac nad yw'r eglwys Efangylaidd yn cael ei gwneuthur i fynu o holl deuluoedd, neu o vn wlâd cyfan, gan nad yw gwedi ei hordeinio mewn ffordd cenhedlig eithr mewn ffordd ymgynnulltiedig yn vnig, ac ni ddylei gynnwys neb ond pobl crediniol y rhai a gawsant eu bedyddio a'r iddynt wneuthur proffes o'u ffydd y rhai a elwir *teulu'r ffydd*.

4. Bod holl dy *Israel* yn eglwys gyscodawl, a rhai ac oeddynt yn sanctaidd â sancteiddiad *ceremoniaidd* a *chyscodawl*, gan arwyddoccau y byddei holl aelodau'r eglwys Efangylaidd yn sanctaidd mewn modd ysprydol a safadwy.

5. Nad yw Duw yn arferol ynawr yn amser yr efengyl, er ei fod ef weithiau yn gweled bod yn dda galw trwy ei râs deuluoedd cyfan neu'r rhan fwyaf o honynt (etto yn wrthwyneb i'r hên destament) yn cymmeryd ond dau o ddinas ac vn o deulu ac yn i dwyn hwy iw *Sion* wîr Efangylaidd.

6. I'r eglwysi cyntaf gael eu plannu yn vnig o'r cyfryw ac oeddynt yn credu, rhai o vn tylwyth a rai o deuluoedd eraill, a'r rhain hefyd o eglwys yr *Iddewon* a'r cyfryw ac a gawsant eu galw o wledydd y cenhedloedd.

7. Nad yw ffydd y rhieni yn achub neb o'r teulu, na phlant na gweision, nag yn rhoddi iddynt ddim hawl i fedydd yr efengyl.

8. Yn ddiwedaf fe debygyd fod y pethau hyn yn eglur ddigon er rhoddi boddlonrwydd i bawb ac y sydd yn deisyf boddlonrwydd oblegid bedydd, ac nad oes dim lliw o brawf am

am dano oddiwrth yr hyn y mae ein brodyr yn ymresymmu oddiwrth holl deuluoedd am y rhai y dywedwyd iddynt gael eu bedyddio; os cystadlwn scrythur â scrythur, fel na chawn gwrddyd ag vn gorchymyn neu Siampl am fedyddio plant, felly ni all fod dim canlyniaeth yn cael ei dynnu yn naturiôl am dano oddiwrth vn testun yn y scrythur sanctaidd pa rai a grybwyllir gan y rhai a ddalant fedydd plant.

---

# P E N. XVII.

*Gan brofio na ddylei plant gael eu bedyddio, o herwydd iddynt gael eu bedyddio tros amryw oesoedd tan wrthgwymp yr Eglwys, pan y caedd y rhan fwyaf o ordeiniadau Crist eu llygru, ac ymmha le hefyd yr ydys yn profio, na chaedd neb babanod mo'i bedyddio dros y ddau can mlynedd cyntaf yn ôl dyfodiad Christ, gan gynnwys Atteb i Bennod* 14. *Mr.* James Owen *a'r Rhesswm* 11. *am brofio bedydd plant.*

FEl hyn y mae Mr. *Owen* yn dechreu'r bedwaredd Bennod ar ddêg o'i lyfr sef, 'Plant y ffyddloniaid a 'gawsant eu bedyddio ymmhôb oes o eglwys Duw er 'amser yr Apostolion hyd yr oes ddiwedaf, fel y gallaf 'brofio yn helaeth ddigon pe bai er bûdd y darllennydd 'annyscedig; mysi a osodaf i lawr rai Siamplau.

*Atteb.* 1. Ych rhesswm chwi sydd fel hyn, sef y dylei plant gael eu bedyddio o herwydd iddynt gael eu bedyddio ymmhôb oes o'r eglwys er amser yr Apostolion.

Rhoddwch vn Siampl os gellwch allan o vn Histori cymmeradwy am i vn baban gael ei fedyddio yn yr oes gyntaf neu'r ail, eithr os ewch heibio at ddau neu drichan

mlynedd

mlynedd yn ôl Christ, amryw gyfeilliornadau heblaw hyn o barthed bedydd plant a ymlyscasant yn glau i'r eglwys: Eithr attolwg, cofiwch Sr, gan ych bod y nawr allan o Lyfr, ac yn rhaid i chwi ymadael â'r *scrythur lân*, *yr Histori sanctaidd* a *Siartar fawr yr eglwys*, na thal yr hyn ôll ac yr ydych yn ei gymmeryd oddiwrth Histori dynol ddim; eithr fe fyddei gwell i chwi gymmeryd gofal rag ini ddwyn y matter yn ych herbyn chwi ymma hefyd, sef, tros yr oesoedd cyntaf; nyni a gawn ymholi yr awdwyr a thystiolaethau dynol.

Yr awdwr cyntaf yw *Calvin* scrifennwr diweddar, ni's gwn i na ellyt cymmeryd *Ireneus* a *Cyprian* ill dau allan o hono ef; yr wyf yn addef fod *Ireneus* yn byw ynghylch dau cant o flynyddoedd yn ôl Crist neu yn yr ail oes, mal hyn y mae efe a llawer eraill yn galw am dan ei dyst ef; sef, *Omnes venit Christus per semetipsum salvare*; *omnes qui per eum renascuntur ad Deum infantes, & parvulos Juniores & Seniores*, fel hyn yn *Gymraeg*; 'Jesu Grist a ddaeth i a- 'chub pawb ac ydynt yn cael eu hail-eni ganddo ef i Dduw, 'Babanod a rhai bychain, hên ac jevaingc.

*Atteb*. Attolwg, ddarllennydd, dal sulw nid oes ymma vn gair am fedydd plant, ond y mae Mr. *Burkit* yn casclu hyn oddiwrth ei eiriau ef; felly mal nad oes gennym etto ddim ond canlyniaethau oddiwrth air Duw, a gair Dyn; Crist yn ddiammeu a ddaeth i achub rhai o bôb mâth o ddynnion, a phwy sydd yn ammeu na ddaeth efe i achub babanod a rhai bychain, hên a jevaingc? Eithr pa ham yr ydys yn cyfaddasu y geiriau hyn [y rhai ydynt yn cael eu hail-eni] at fedydd babanod; Bwriad *Ireneus* yn y Bennod honno sydd er gwrthbrofi y *Gnostiaid*; y rhai a oeddynt yn dywedyd nad oedd Christ oddiar vn ar ddêg ar hugain mlwydd oed: yn wrthwyneb i ba rai yr oedd *Ireneus* yn haeru i Grist fyw ymmhôb oes, sef mewn mebyd, jevengctid a henaint, mal y gallei trwy ei oedran a'i Siampl sancteiddio pôb oes; felly mal nad yw *Ireneus* yn y man hyn yn dywedyd am adenedigaeth trwy fedydd, oblegid y mae efe yn dywedyd, *Omnes, inquam, qui per eum renascuntur in Deum*; hynny yw; y cyfryw ôll ag ydynt yn cael eu hail-eni trwyddo ef i Dduw, sef, trwy Grist; nid megis pe buasei iddo fedyddio babanod, eithr o herwydd ei fod efe (sef Christ) yn fabab, mal y gallei efe trwy Siampl neu rinwedd ei oedran sancteiddio babanod, fel y

mae 'r holl huppynt yn lladin yn dangos yn eglur, sef. *Magister ergo existens, magistri quoque habebat ætatem, non reprobans nec supergrediens hominem, neque solvens suam legem in se humani generis, sed omnem ætatem sanctificans per illam &c.*

2. O ran *Cyprian*, yr oedd efe yn byw, mal yr wyf yn gweled trwy Histori ynghylch 248 neu 300. mlynedd yn ôl Christ; ac pe byddei i'm ddywedyd wrth y darllenydd pa lygredigaeth a chyfeiliornadau a ddaethant i mewn i'r eglwys ynghylch yr amser hynny, ni byddei iddo ryfeddu gan glywed fod babanod yn cael eu bedyddio: Etto y mae *Cyprian* gennym ni yn erbyn *Cyprian*; gwîr yw cyn belled ac y gallaf gasclu, yn ei amser ef y daeth bedydd plant i mewn gyntaf, heb ddim sail oll neu awdurdod oddiwrth Grist; ac efe a gaedd ei wrthwynebu yn nerthol mal y gellir gweled wrth yr ymryson a'r petrusder a fu yn ei gylch ef.

3. Y trydydd awdurdod dynol y mae Mr. *Burkit* yn ei arfer, ydyw'r ordeiniad melldigedig hwnnw a wnaed gan *Gymmanfa Milevetum*, sef y byddei i bawb a oeddynt yn gwadu bedydd plant fod yn *Anathema* felltigedig; os aiff ychydig yn ddiweddarach efe a geiff brawfiau ddigon yn *eisteddfodau, ordinhadau* a *Rheolau'r Papistiaid*; ond y mae'n beth a ddylyt dal sulw arno, fod y tadau hynny yn pledio tros fedydd Plant, megis peth yn *cymmeryd ymmaith y pechod dechreuol*, ac yn rhoddi'r cymmunîwn i blant hefyd, gan gamarfer yn y Sacrament cyntaf y testun hwnnw yn *Joan* 3. 5. Ac yn y llall y testun hwnnw yn *Joan* 6. 53. dymma'r holl brawfiu dynol yr ydys yn ei gymmeryd oddiwrth yr eglwysi yn ôl prif ddyddiau'r Apostolion, ac nid oes arnaf ofn na's gallaf ddyfod â gwêll awdurdod yn erbyn bedydd plant, nag y roddwyd am dano, a rhai o honynt yn nes at ddyddiau'r Apostolion hefyd; *Justin Martyr* yw'r cyntaf; er nad yw gennyf mo'i Lyfr, etto cymmerwch ei eiriau ef megis y mae Mr. *Richard Baxter* yn eu hadrodd yn ei Lyfr yr hwn a elwir, *Gorphwysdra'r Sainct*, Pen. 8. Rhan. 5. *Myfi a fynegaf i chwi pa fodd yr ydym ni yn rhoddi ein hunain i fyw i Dduw, gwedi ini gael ein bad-newyddu trwy Grist; y cyfryw yn ein plith ac a gawsant eu athrawiaethu yn y ffydd ac ydynt yn credu fod yn wir yr hyn yr ydym yn ddyscu iddynt, a chan fod yn foddlon i fyw yn ôl hynny, yr ydym yn eu rhybyddio hwynt i ymprydio a gweddio am faddeuant pechodau, ac yr ydym hefyd yn gweddio*

*ddio gyda nhwy, a phan yr ydym yn dyfod a hwynt i'r dwfr, yna megis ac y cawsom ni ein newydd-eni y maent hwy hefyd yn cael eu derbyn trwy'r enedigaeth newydd, ac yna gan alw ar Dduw y tâd, yr Arglwydd Jesu* Grist *a'r yspryd glân y maent yn cael eu golchi*, &c.

*Y bwyd yr ydym ni yn ei alw'r Cymmuniwn, at ba vn nid ydys yn gollwng neb ond y cyfryw yn vnig ac y sydd yn credu gwirionedd yr athrawiaeth, gan gael ei olchi yn olchfa'r ail-enedigaeth er maddeuant pechodau ac yn byw megis ag y dyscodd Christ iddo, felly chwi a welwch*, medd Mr. *Baxter, nad yw hon yn ffordd newydd.*

4. Yr ydych yn galw am dyst *Origen* 'yr hwn oedd '(meddwch chwi) yn wr enwog yn y flwyddyn 230. Yr 'hwn sydd yn dywedyd yn *Hom.* 8. ar *Levit*, *De infanti-'bus baptizandis Ecclesia traditionem accepit ab Apostolis*; Yr 'eglwys a dderbynniodd fedydd Plant trwy draddodiad 'oddiwrth yr Apostolion; fe ddarfu ini brofio o'r blaen, 'meddwch chwi, fod hwn yn draddodiad scrythurol; ob-'legid yr Apostol a fedyddiodd blant bychain.

*Atteb.* Nyni a allwn alw am dystiolaeth *Origen* yn erbyn *Origen*, cynllèied o goel sydd i roddi i Histori yn ei achos ef a rhyw rai eraill o'r tadau, oblegid yr wyf yn gweled fod *Origen* yn dywedyd, sef, 'i bod nhwy yn cael 'eu bedyddio yn vnlawn y rhai ydynt yn cael eu golchi 'i jechydwriaeth, eithr nid oedd *Simon Magus* felly; yr 'hwn y sydd yn cael ei fedyddio i jechydwriaeth sydd 'yn derbyn dwfr a'r yspryd glân, yr hwn ni dderbynniodd '*Simon* ond dwfr yn vnig *Hom.* 6. ar *Ezec.* 16. 4. *Montanus tu dalen*, 36, 37. 'Ac y mae'r vn *Origen* yn ei eglu-'rhâad ar *Rhuf.* 6. Yn dywedyd, mae'r fâth fedydd ac 'oedd mewn cymdeithas a chroeshoeliad y cnawd ac ad-'gyfodiad drachefn i newydd-deb buchedd oedd y bedydd 'cymmeradwy; yr wyf yn cyfaddef fod Dr. *Taylor* yn dywedyd mae *Origen* ac *Augustin* oedd tystion vnig a haerasant fod bedydd plant yn draddodiad Apostolaidd; eithr fe ymddengus oddiwrth *Erasmus* fod scrifennadau *Origen* gwedi cael eu llygru yn fawr gan *Rufinus* a pheri iddynt ddywedyd weithiau tros fedydd Plant; gwelwch; *Jacob Meringus tu dalen* 283. 291. a *Montanus tu dalen* 29. hyd 31. 42, 43.

2. Ond Sr, pe buasech chwi yn gallei profio bedydd plant oddiwrth y scrythur ac i'r Apostolion fedyddio babanod, ni buasei raid i chwi fyned at Historiau dynol y rhai ydynt mor annilys ac heb fod yn rheol ini.

'Y mae *Gregori Nazianzen*, yr hwn (meddwch chwi) 'oedd wr enwog ynghylch y flwyddyn 370. yn dwyn tyst 'tros fedydd plant; (medd efe) *Omni ætati Baptisma con-* '*venit*, y mae bedydd yn cyttuno â phob oes; a thrachefn, '*Da infantis eximiam custodiam, &c.* Rhoddwch i faba- 'nod fedydd y drindôd, a hwnnw y fydd yn amddiffyn 'mawr iddynt.

***Atteb.*** Yr wyf yn adnabod awdwr anrhydeddus yr hwn sydd yn dyfod a thyst *Gregory Nazianzen* yn llwyr wrthwyneb i hyn yn ei drydydd adroddiad; (medd efe) *Yr oedd y rhai a gaent eu bedyddio yn y lle cyntaf yn cyfaddef eu pechodau, ac yn ymwrthod â'r diafol a'i boll weithredoedd yngbwyd llawer o dystion, ac ni chaedd neb eu bedyddio gynt ond y cyfryw ag oeddynt yn cyfaddef eu pechodau a pha mor enbydus yr oedd iddynt o lwyr eu pennau ac heb baratoâd cyfaddas fod yn gyfrannogion o fedydd.* Y mae efe gan hynny yn eu cynghori hwynt am oedi bedydd plant hyd ni's gwnelent nid yn vnig gyfaddefiad o'u ffydd, eithr hyd oni byddent yn deisyf bedydd; Dr. *Taylor tu dalen* 239. Y nawr *Fritaniaid anrhydeddus*, beth y dal dwyn tyst y fâth dadau, pan na allwn fod yn siccr fod gennym ni eu gwîr scrifennadau. Duw a gadwodd ei air sanctaidd oddiwrth lygredigaeth eithr ni chadwodd mo historiau dynol y tadau.

2. Eithr pe byddei'r tâd hwn a St. *Augustine* ac eraill yn sefyll tros fedydd plant, beth a dal hyn i'r rhai sydd yn haeru bedydd plant, gan fod yr eglwys cyn eu hamser hwy gwedi llygru yn fawr, a bod llawer o gyfeiliornadau mawr gwedi dyfod i mewn iddi; y mae vn o eglwys *Lloegr*, yr hwn a ddangosodd yn ddiweddar fod y traddodiad o *dadau-bedydd* a *mammau bedydd* yn agos yn cael ei arfer yn yr eglwys mor foreu a bedydd plant, pa beth er hynny ni fyn Mr. *Owen* mo'i dderbyn megis traddodiad Apostolig.

3. Yr ydym yn caniattau yn hawdd ddigon fod bedydd babanaidd yn cael ei arferyd yn yr eglwys er os llawer o amser ie yn ychwaneg i dri-chant ar ddêg o flynyddoedd, ond felly y mae llaweroedd o gyfeiliornadau ffieidd eraill, arferion a Ceremoniau llygredig, *eithr o'r dechreuad nid*

*oedd*

*oedd felly*; sef nid yw ei gael yn y scrythur lân, nid ordeiniad Christ ydyw, am hynny y mae'n ddychymyg dynol, ac ni arferwyd mo hono yn y *ddau can mlynedd cyntaf yn ôl Christ*, mal y câf brofio yn awr oddiwrth gystal awdwyr ac a ddichon Mr. *Owen* ddangos.

Yr ydys yn dywedyd i *Justin Martyr* gael ei ymchwelyd ynghylch deng-mlynedd a'r hugain a'r ôl yr Apostol *Joan*, ac fe ymddengis wrth y drefn yr hon oedd yn cael ei arfer y pryd hynny yn yr eglwys, nad oeddynt yn meddwl am fedydd plant.

*Walafrid Strabo*, mal yr wyf yn cael historiawr mawr yn dwyn ei dyst ef, a ddywed, nad oedd neb plant ond pobl o oedran a dealltwriaeth yn cael eu bedyddio yn yr oes honno, hynny yw, yn yr ail oes *Wal. Strab. Eccl. Hist. pen.* 26. *Vicecom. l.* 1. *pen.* 30.

*Tertullian* a ddywed yn ei Lyfr oblegid bedydd ar y ter stun hwnnw *gedewch i blant bychain ddyfod attafi*; 'Yn wîr 'y mae'r Arglwydd yn dywedyd na rwystrwch iddynt 'ddyfod attafi; gadewch iddynt ddyfod gan hynny hyd 'oni ddelont o oedran, a thra fôat hwy yn dyfod bydded 'iddynt gael eu dyscu, gadewch iddynt fyned yn Gristno-'gion pan byddont yn gallu adnabod Christ, pa ham y mae 'einioes ddiddrwg yn bryfiaw am gael maddeuant pecho-'dau? fe fydd pobl yn delio yn fwy gochellgar mewn 'pethau daiarol, felly ac y maent hwy ar ba rai nid ydys 'yn hyderu o ran etifeddiaeth daiarol yn cael eu coelio 'ag etifeddiaeth nefol; gado iddynt ofin am jechydwriaeth 'mal yr ymddengis iti roddi ef iddynt.

'Y mae Dr. *Taylor* yn dywedyd fel hyn; Dymma'r 'gwîr mal y mae y peth yn bôd; megis ac nad 'oedd vn gorchymyn oddiwrth y scrythur er rhwymo 'plant i gael eu bedyddio; felly ni phennwyd anghen-'rheidrwydd Bedydd plant yn yr eglwys hyd y *Rheol* a 'wnaed yn *Chymanfa Milevitum* yn *Africa*, ni wnaed mo 'hono erjoed o'r blaen; yr wyf yn caniattau iddo gael 'ei arfer yn *Africa* cyn yr amser hwnnw; a hwynt hwy 'neu rai o honynt a oeddynt yn meddwl yn dda am 'dano ef; ac er nad ddylei hyn fod yn achos ini dybied 'felly; etto ni chymmerodd neb o honynt hwy erjoed 'arnynt fod y peth yn anghenrheidiol, neu fod yn orchy-'myn yr Efengyl; St. *Augustin* oedd y cyntaf yr hwn a bregethodd fod y peth yn anghenrheidiol, a hyn a wnaeth

'efe pan yr oedd yn llawn o boethder a digofaint yn erbyn
' *Pelagius*; mal hyn y dywedodd Dr.*Taylor*.

'Y mae *Ignatius* yn ei ymresymmiadau oblegid bedydd
' yn haeru y dylei ffydd, Cariad ac ymmynedd gydganlyn
' ag ef yn ôl pregethiad. *H. Montanus tu dalen* 45. a *Ja-*
'*cob Dubois tu dalen* 16. *byd*. 22. a Lyfr y *Dwtch* Oblegid
' *Merthyrolaeth*, ymma le yr ydys yn crybwyll am llythy-
' rau *Ignatius* at *Polycarp*, *Tralensis* attynt hwy o *Phila-*
' *delphia*.

Y mae Dr. *Taylor* yn dywedyd yn ei wrthgynghor yn erbyn y grefydd babaidd *tu dalen* 118. Yr hwn Lyfr a Brintiwyd yn y flwyddyn 1667. Ac ydyw vn o'r rhai diwethaf ac a scrifennodd efe, mal hyn, sef, 'Fod traddo-
' diad am fedyddio babanod, a bod hwn yn sefyll ar dyst
' dau wr *Origen* ac *Augustin*; a chan fod y dyweddaf yn ei
' gymmeryd ef oddiwrth y cyntaf y mae efe yn sefyll a'r
' dystiolaeth vn gwr yn vnig, pa beth (medd efe) sydd re-
' swm egwan i brofio traddodiad Apostolig; efe yw'r
' cyntaf a ddywedodd am dano ef, ond y mae *Tertullian* yr
' hwn oedd o'i flaen ef yn scrifennu mal pe buasei yn dywedyd
' yn ei erbyn, yr hyn beth ni buasei efe yn ei wneuthur, pe
' buasei'n draddodiad Apostolig; ac y mae 'n sicr ddigon nad
' oedd felly, od oes dim gwirionedd yn geiriau *Lodovicus vives*,
' yr hwn sydd yn dywedyd nad oedd neb yn cael eu bedyddio yn
' yr amseroedd gynt, ond y cyfryw ag oeddynt o gyflan oedran.

Ac o ran scrifennadau *Origen* a llaweroedd o'r *hên Dadau* y mae gennym achos mawr i fod yn betrus yn eu cylch hwynt, o herwydd, fel y mae Mr. *Perkins* yn nodi, nid oes dim o'r yscrifennion *Groeg* eu cael, ac y mae llawer o lyfrau eraill y rhai a ddywedir iddynt gael eu scrifennu gan y cyfryw Dadau, yn ffugiol, ac ni chawsant erioed mo'i scrifennu ganddynt; gwelwch Mr.*Perkins*.

'Y mae *Bazil* mawr yn ei Lyfr oblegid yr yspryd glân
' *Pen*. 12. yn dywedyd fel hyn; ffydd a bedydd ydynt y
' ddau fodd o iechydwriaeth yn glynnu wrth ei gilydd yn
' angwahanol, o herwydd y mae ffydd yn cael ei pherffei-
' thio trwy fedydd, eithr y mae bedydd yn cael ei sylfaenu
' trwy ffydd; a thrwy'r vn enw y mae'r ddau beth yn ca-
' el eu cyflawni, canys mal yr ydym yn credu yn y tâd a'r mâb
' a'r yspryd glân, felly hefyd yr ydym yn cael ein bedyddio yn
' enw'r tâd a'r mâb a'r yspryd glân; ac yn wir y mae cyfadde-
' fiad yn myned o'r blaen gan yn tywys ni at iechydwriaeth, ond
' y mae bedydd yn canlyn gan selio ein cyfaddefiad a'n cyfam-
' mod.

Y mae

Y mae Dyſcawdwr yr vn Eglwys (medd Dr. *Du Veil* ddyſcedig yn ei drydydd Lyfr yn erbyn *Eunomius*) yn dywedyd fel hyn, ſef, 'Y mae bedydd yn ſêl o ffydd, y mae 'ffydd yn gyſaddefiad o'r Duwdod; y mae'n anghenrhaid 'i ni gredu yn gyntaf ac yna cael ein ſelio mewn bedydd '*Du Veil* a'r *Actau pen*. 8. *tu dalen* 278.

'Y mae *Zonaras* yn dywedyd y bydd achos gan y baban 'y pryd hynny gael ei fedyddio pan y bo efe yn gallu dewis 'bedydd.

'Y mae *Gregori Nazianzen* yn ei bedwaredd adroddi-'ad (medd Dr. *Du Veil* oblegid y cyfryw ag ydynt yn 'marw heb gael eu bedyddio) yn rhoddi ini Siampl am 'y cyfryw ag ni chawſant eu bedyddio o herwydd eu 'maboliaeth; a'r *Nazianzen* ymma, er ei fod efe yn fâb i 'Eſcob, ac gwedi cael ei ddwyn i fynu tros hir o amſer 'tan lywodraeth ei dâd, ni chaedd, (medd yr vn Doctor) 'mo'i fedyddio hyd nid oedd o gyflawn oedran; yn yr 'vn modd hefyd ni chaedd *Bazil* fawr (medd efe) yr 'hwn a anwyd o rieni defoſionol, a'i ddyſcu ganddynt o'i 'ievenctid i fynu, mo'i fedyddio hyd onid oedd o oedran 'gwr *tu dalen* 280. medd efe hefyd *Joan* o *Antioch*, yr hwn 'a alwyd gwedin *Chryſoſtom*, a anwyd o rieni Criſtnogawl, 'ac a ddygwyd i fynu (fel yr ydys yn barnu yn vnionach) 'gan *Miletius* Eſcob enwog jawn, efe ni chaedd mo'i fedy-'ddio hyd onid oedd vn flwydd a'r hugain oed.

'*Jerom* hefyd ac *Ambroſe* ac *Auſtin*, y rhai a anwyd o 'reini Criſtnogawl ac a draenwyd i fynu mewn diſcyblaeth 'griſtnogawl oddiwrth eu ievengctid, ni chawſant mo'i 'bedyddio hyd onid oeddynt vn mlynedd a'r ddeg a'r 'hugein oed, mal y mae'r Dr. *Taylor* Eſcob *Down* yn haeru 'yn ei ddau ddegſed ran o *Fywyd Chriſt*.

Ynawr Sr, y mae ymma ſiamplau ddigon er profio nad oedd yn y prîf amſeroedd plant rheini crediniol yn cael eu bedyddio, eithr yr oeddyt yn oedi eu bedydd hwynt hyd onid oeddynt hwy eu hun yn credu, ac yn rhoddi cyfrif o'u ffydd; Pe buaſei'n arfer gwaſtadol y duwiol fedyddio eu babanod, oni buaſei'r rhain, a dybiwch chwi, yn cael eu bedyddio yn eu mebyd?

*Grotius*, fel yr wyf yn cael Dr. *Du Veil* yn dyfod â'i dyſt ef, ſydd yn dywedyd nad oedd y prîf eglwyſi yn bedyddio babanod; gwelwch nodiadau *Grotius* ar y Efengyl.

Ie, (medd yr vn awdwr mawr a dyſcedig hwn) y mae'n ymddangos yn eglur oddiwrth y ddeddf a arferir

R 4 wrth

wrth fedyddio yn *Eglwys Rhufein*, oblegid y mae'n rhaid gofyn bedydd, cyn i'r hwn fydd i gael ei fedyddio fynep i mewn i'r eglwys, yr hyn beth y mae'r *meichiau yn ei wneuthur yn enw'r baban*; yr ydys yn gofyn am gyfaddefiad eglur o ffydd yr hyn y mae'r vn rhyw berson yn roddi yn enw y baban, sef, *ymwrthod â'r byd a'i rodres, y cnawd a'r diafol.* Nyni a allwn oddiymma weled o ba le y daeth *dechreuad Catechism yr Eglwys*; ond y mae hwn yn rheswm eglur, medd y Dr. er profio fod y bobl gynt y rhai oeddynt i gael eu bedyddio yn gofin eu hunain am fedydd yn eu henw eu hun, o'i dewisiad eu hun, ac yn gwneuthur proffes o'u ffydd eu hun.

Y peth hyn a lunlwydd yn *Cwnsli Neocesaria*; 'oblegid y 'cyfryw ag ydynt yn feichiog fawr hwy a ddylent gael eu 'bedyddio pan y mynnent; o herwydd nad oes dim yn gyffredin rhwngddi hi ag fydd yn escori a'r hwn a escorwyd 'arno oddiwrth ei chrôth, yn y Sacrament hon oblegid bod 'rhydd---did dewisiad pôb vn yn cael ei fynegi yn y cyfad- 'defiad hynny.

Oddiwrth ba beth nyni a allwn gasclu, fod yn yr oes honno, yn debygol, y fâth wrthwynebrwydd i fedyddio plant, ag nad oeddynt hwy yn foddlon i ollwng gwragedd beichiogion at fedydd, rhag ofn y byddyt yn tybied i'r plentyn gael ei fedyddio gyda hi.

2. Fod yn yr amseroedd hynny pan yr oeddyt yn gwneuthur cyfaddefiad o ffydd yn marwolaeth, claddedigaeth ac adgyfodiad Christ, yr hyn beth a wnaethpwyd mewn modd cyhoeddus a pharcedig wrth eu bedyddio, yn gofyn rhydd-did dewisiad a chydsyniad megis paratoâd tuag atto ef. Oblegid y rheswm yr hwn oedd ganthynt pa ham nad oedd y baban yn cael ei fedyddio gyda ei fâm oedd yn adgyfodi oddiymma, am na allei'r baban yn y grôth fynegi y dewisiad a'r cydsyniad hyn.

3. Oblegid yr oeddynt y pryd hynny yn barnu fod hyn yn angheureidiol, sef cydsyniad a dewisiad y cyfryw, ac oeddynt i gael eu bedyddio.

Y mae Dr. *Du Veil* wrth ddyfod a thyst yr vn Gymanfa am y peth hyn (sef *o ran bedydd y wraig feichiog, nad yw ei bedydd hi yn perthyn iw phlentyn, oblegid bod yn rhaid i bôb vn wneuthur dangosiad o'i ffydd a'i gyfaddefiad ei hun*) yn dywedyd——— 'Er bod y deonglwyr yn tynnu'r lle hyn i 'bwrpas arall, y mae'n eglur fod yr ymholiad oblegid 'gwraig feichiog, o herwydd y byddyt yn tybied fod y

'plentyn

'plentyn yn cael ei fedyddio gyda ei fam, yr hyn beth 'ni ddylei er hynny gael ei arferyd, ac ni ddylei'r plentyn felly gael ei fedyddio, gan na all efe ei hun wneuthur 'dewis a phroffes.

Y mae Dr. *Barlow*, yr hwn oedd Escob yn ddiweddar o *Lincoln* yn ei Lythr at Mr. *T.* yn dywedyd; 'Yr wyf yn 'credu ac yn gwybod, nad oes na gorchymyn na Siampl 'am fedydd plant yn y scrythur, na dim eglur-deb cywir 'am dano tros mwy na dau cant o flynyddoedd yn ôl dyfodiad Christ; y mae *Tertullian* yn ei farnu ef megis arferiad diawdurdodol, ac y mae *Nazianzen* gryn amser yn 'ôl hynny yn dywedyd yn ei erbyn; y mae'n ficcr genyf (medd efe) i bod nhwy yn y prîf amseroedd yn *Catechumeni*, yna *illuminati*, neu *Baptizati*, a'r rhain hefyd 'nid oeddynt yn vnig fabanod a phlant Paganod gwedi 'cael eu hargyhoeddi gan eu cyd-wybod, eithr plant rheini 'Cristnogawl; gwîr yw yr wyfi'n coelio i Fedydd plant 'ddyfod i'r byd yn yr ail oes; pa fodd neu gan bwy ni's 'gwn, ac a dechreuodd gael ei arferyd yn y drydydd a'r 'bedwaredd oes, er nad oedd felly yn gyffredinol, a'i amddiffyn megis peth cyfreithlon oddiwrth y testun hwnnw 'yn *Joan* 3. 5. Gan gamddeall yn ôl yr vn cyfeiliornad y 'testun hwnnw yn *Joan* 6. 53. Fe ddarfu iddynt hwy dros 'amryw oesoedd ollwng babanod yn yr eglwys *Groeg* a *Lladin* i gymmundeb eglwysig trwy fedydd a rhoddi iddynt 'Swpper yr Arglwydd, ac yr wyf yn cyfaddef y gallent 'wneuthur y ddau yn gystal ac vn o honynt, *&c.* Fel hyn y scrifennodd Escob *Barlow*.

Y mae *Curcælius* yn dywedyd *Pædo-baptismus duabus primis a Christo nato seculis fuit incognitus*, &c. 'Bedydd plant 'oedd yn beth dieithr yn y ddau oes gyntaf yn ôl amser 'Christ; efe a ddechreuodd gael ei dderbyn gan rai yn y 'bedwared oes, ond efe a ddechreuodd gael ei dderbyn yn gyffredin yn y bummed oes ac o hynny allan; ac am hynny (fel y mae efe yn dywedyd gwedin) y ddefod sydd 'yn cael ei chanlyn gennym ni megis hên arfer, eithr nid 'mal traddodiad Apostolig.

Fe ddywed yr vn awdwr dyscedig *De Peccato orig. nifer* 50. *Morem infantes baptizandi non cepisse ante tertium a nato seculum*, &c. 'Na ddechreuodd yr arfer o fedyddio plant ddim 'cyn y drydydd oes yn ôl Christ, eithr nid oes dim ôl o 'hono yn ymddangos yn y ddau oes o'r blaen, ac y mae 'efe yn dywedyd gwedin *fine ipsius* [ *Christi* ] *mandato in-*

'*troducta*

'*troducta est*, fe ddeuwyd ag ef i mewn heb orchymyn
'Christ.

*Athanasius in Serm.* 3. *contra Arianos* a ddywed; 'ni
'orchymynnodd ein jachawdwr weinidogaethu bedydd
'mewn modd yscafn, eithr yn y lle cyntaf ddyscu ac yna
'bedyddio, fel y gallei gwîr ffydd ddyfod trwy addysc ac i
'fedydd gael ei berffeithio trwy ffydd.

*Haimo in Postilla* ar y testun hwn, *Ewch a dyscwch bôb
cenedl*, *dal.* 278. sydd yn dywedyd, 'Y mae rheol gwedi
'ei osod i lawr yn y lle hyn pa fodd y mae bedydd i
'gael ei weinidogaethu yn vniawn, sef, y dylei addysc sy-
'ned o flaen bedydd; oblegid efe a ddywed *Dyscwch bôb
'cenedl*, ac yna y mae'n dywedyd *a bedyddiwch hwynt*, o
'herwydd y mae'n rhaid i'r hwn sydd i gael ei fedyddio gael
'i athrawu o'r blaen, fel y gallo yn gyntaf ddyscu credu
'yr hyn y gaiff efe dderbyn yn ei fedydd; oblegid fel y
'mae ffydd heb weithredoedd yn beth marw, felly gwei-
'thredoedd hefyd pan nid ydynt o ffydd, ni thalant ddim.
'*Idem in annotationibus in Mar.* fe orchymynnwyd i'r Apo-
'stolion yn gyntaf ddyscu ac yna bedyddio; yr oeddyd yn
'dyfod â'r *Iddewon* trwy Ceremoniau i wybodaeth o'r
'gwirionedd, ond y mae'n rhaid i Gristnogion i gwybod
'hwynt yn gyntaf.

*Beda* a ddywed 'fod y rhai oll a ddaethant at yr Apo-
'stolion iw bedyddio yn cael eu athrawiaethu a'u dyscu
'oblegid y Sacrament o fedydd, yna hwy a dderbyniasant y
'weinidogaeth sanctaidd o hono.

*Rabanus*, 'Y mae'n rhaid i'r *Catechism*, yr hwn beth
'yw gwyddor ffydd fyned o flaen bedydd, fel y byddo
'iddo ef yr hwn sydd i gael ei fedyddio, (sef, *Catechumenus*)
'ddyscu yn gyntaf ddirgeleddau'r ffydd.

*Arnobius*, 'Nid wyti yn gyntaf yn cael dy fedyddio, a
'gwedi hynny yn dechreu gweithio neu dderbyn ffydd;
'eithr pan yr ydwyt i gael dy fedyddio, yr wyti yn my-
'negi wrth yr offeiriad beth yw dy ddymyniad, ac yn
'gwneuthur dy gyfaddefiad â'th enau.

*Jerom* a'r *Mat.* sydd yn dywedyd, 'Yr Arglwydd a orchy-
'mynnodd i'r Apostolion y byddei iddynt yn gyntaf, *athrawu
'a dyscu pôb cenedl*, *a gwedi hynny bedyddio y rhai hynny
'a oeddynt gwedi cael ei athrawu yn nirgelwch ffydd.* Canys
'(medd efe) hyn ni all fôd, y byddei i'r corph dderbyn y Sa-
'crament o fedydd, hyd oni dderbyniei'r enaid y wîr ffydd.

Sr, beth yr ydych chwi yn dybied ynawr am dystiolaeth yr hên dadau ac am arferion yr eglwysi yn ôl dyddiau'r Apostolion; yn ddiau y mae'n rhaid i'r darllennydd gasclu ein bod ni yn drêch ymma hefyd, ac y mae'n rhaid i chwi roi lle pa vn a'i mynnwch neu peidio a rhoddi i fynu'r ymrysson. Eithr i fyned Rhagom yn y blaen.

Yr Arddangosiad cyntaf sydd gennych er profio bedydd plant yn y dyddiau'n ôl 'r Apostolion sydd fel hyn, sef, o herwydd gosod dwylaw a'r blant yn eu jevengctid.

*Atteb.* Ni thal hyn ddim, canys mal ac y newidiodd y tadau'r ordinhâad o fedydd oddiwrth wyr a gwragedd crediniol gan ei roddi i fabanod annwybodus; felly y darfu iddynt newidio gosodiad dwylaw (yr hwn yr wyf yn addef, fod yn wyddor o Athrawiaeth Christ, *Heb.* 6. 12.) at y fâth ddynnion jevaingc y rhai oeddynt cyn iddynt fod o oedran, gwedi dyscu gwyddorion y ffydd Gristnogaidd: Eithr y mae'n eglur, nad oedd neb ond y crediniol y rhai a fedyddiwyd yn y prîf amseroedd neu ddyddiau'r Apostolion yn cael eu gollwng at yr ordinhâad hynny o *ymmosodiad dwylaw*, fel y mae *Actau* 8. 14. ac 19. 16. yn tystiolaethu.

Eithr y mae'ch brawd Mr. *Burkit* yn cysaddef, *fod yn yr amser gynt y fâth ddynnion ac a alwyd* Catechumeni, *y cyfryw ag oeddynt gwedi cael eu dyscu a'u athrawiaethu, ac wedin yn cael eu bedyddio.*

Y mae efe yn dywedyd ymmhellach *fod dau fâth o honynt*; y mae efe yn dyfod â'r diwedaf at ei ddiben ei hun, eithr nid wyf yn gwybod pa le y caedd efe ei dystiolaeth, ac am hynny mysi a âf heibio iddo.

Hyd yn hyn am ei arddangosiad ef oddiwrth y tadau.

Ei ail Arddangosiad am brofio bedydd plant sydd fel 'hyn sef, medd efe, o herwydd bod babanod yn y prif 'amseroedd yn cael eu gollwng at Swpper yr Arglwydd, 'am hynny y mae efe yn casclu iddynt gael eu gollwng at 'yr ordinhâad o fedydd hefyd.'

*Atteb.* Ac yr oedd ganddynt meddasi gymmaint o achos (mal y dywedodd Dr. *Taylor*) am y naill a'r llall, ac y mae cymmaint o resswm gennym am gasclu mae megis ac y darfu iddynt gyfeiliorni yn y naill, felly y darfu iddynt yn y llall. Pa ham nad yw efe oddiymma yn rhoddi Swpper yr Arglwydd i fabanod? Mysi a brofiais o'r

blaen na thal y rhesswm y mae efe yn roddi ddim oll.

O ran ei drydydd arddangosiad, nid ydym yn naccau na chaedd bedydd babanaidd mo'i dderbyn i'r eglwys yn y drydydd a'r bedwaredd oes gyda llaweroedd o bethau ofer eraill; eithr nid yw hyn yn gwneuthur dim daioni iddo ef; yr oedd yr eglwys gwedi llygru a chyfeiliornu 'oddiwrth y ffydd wîr Apostolig ai harferion mewn amryw o bethau yn y dyddiau hynny a chwedin yn oll llaw.

Ei bedwaredd arddangosiad ef sydd fel hyn, sef, *Os ydoedd gollwng babanod at fedydd yn gyfeiliornad mawr yn yr hên dadau, yna yr oeddynt hwy yn euog o annuwioldeb mawr gan adael y fâth gyfeiliornad fyned heb ei argyhoeddi ac edifarhu am dano*, &c.

*Atteb.* Beth am hynny? Yr wyf yn gofyn iddo ef ac i chwithau neu neb arall o'n gwrthwynebwyr, pa vn ai nad ydynt yn credu fod y tadau dros amryw oesoedd y rhai a ollwngasant fabanod at Swpper yr Arglwydd heb argyhoeddi neu ddifarnu y fâth arfer, yn euog hefyd o gymmaint o aflendid? Heblaw hyn onid oedd yr vn tadau yn dala cyfeiliornadau eraill? Gwelwch eglurhâad yr ymholiad gan Mr. *Perkins tu dalen* 488. Fel hyn y mae ei eiriau ef sef; 'a chan gymmaint a bod rhai o'r tadau sef '*Irenæus*, *Justin*, *Clement*, *Tertullian*, &c. yn dala fod gan 'gyfraith naturiaeth bwer i achub y cenhedloedd heb Ghrist, a thrachefn (medd efe) y mae'r tadau yn euog o gyfeiliornadau, ie ac weithiau o rai mawr iawn hefyd. Onid ydyw Historiau yn dangos i ni, fod y tadau yn arferyd defodau eraill hefyd a hyn mewn bedydd? Gwelwch Mr. *Perkins tu dalen* 549.

'Yr oedd y tadau (medd efe) yn arferyd rhai defodau 'eraill a ceremoniau, y rhai yr ydys yn awr yn drol heibio, megis *Cusanu y plentyn*, yr hwn oedd gwedi cael ei 'fedyddio, yn *Cyprian l.* 3. *Epist.* 8. arfer llaeth a mel; 'arfer llaeth a gwin. *Hierom* yn *Is. cap.* 55. Yr oedd y gweinidog yn arfer chwythu yn wyneb yr hwn ag oedd yn cael ei fedyddio; ac yr oedd yr hwn ag y gaedd ei fedyddio yn chwythu ymmaith y diafol, gan ymwrthod ag ef; pwy goel a ellir roddi i'r fâth dadau? hwy a roddasant Swpper yr Arglwydd i blant hefyd.

'Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd fod bedydd plant mor 'gyffredin yn eglwys Duw fel na allei 'r *Pelagiaid* mo'i naccau

'naccau, er i bod hwy yn naccau'r pechod gwreiddiol, yn 'erbyn pa vn yr oedd yn feddyginiaeth.

'A bod *Bernard* yr hwn oedd yn byw rhwng y flwyddyn '1091. a'r flwyddyn 1153. yn mynegi arfer yr eglwys yn yr 'oesoedd hynny.

*Atteb.* Nid ydym ni'n naccau, eithr yn caniattau yn barod ddigon, fod bedydd plant yn yr eglwys yn hir o amser cyn hynny; ac y mae'n beth a ddylei gael dal sulw arno fod tywyllwch pabaidd ar yr eithaf ynghylch 1091. neu 1100. ac a oedd dim rhyfeddod ymma i'r tadau hynny roddi bedydd i fabanod, pan yr oedd yn arfer yn yr amseroedd hynny cyn *Bernard*, o roddi Swpper yr Arglwydd i fabanod hefyd yn gystal a bedydd, yr hyn beth y mae Mr. *Owen* yn gwybod yn dda digon, os darllennodd Historiau.

'*Bernard* (medd Mr. *Owen*) a argyhoeddodd y cyfryw a 'wrthwynebasant fedydd plant, &c.

1. Oddiwrth pa beth yr ymddengis bod rhai Christnogion yn gwrthwynebu bedydd plant, ie yn amser tywyllach *Pabyddiaeth*.

2. Nid yw'n beth rhyfedd clywed i'r rhai a wrthwynebasant fedydd plant yn yr amseroedd llygredig hynny gael eu cospi, pan yr ydym ni y rhai ydym yn naccau bedydd plant yn awr yn cael ein argyhoeddi mor anghyfiawn gennych chwi a'ch brodyr; er bod y fath oleuni eglur gwedi torri allan yn y dyddiau hyn.

'Y mae Mr. *Owen* hefyd yn ceisio profio fod y *Waldenses* 'hefyd yn dala bedydd plant, ac y mae efe yn bwrw 'bai ar Mr. *Tombs* a Mr. *Danvers* am haeru yn y gwrth'wyneb.

*Atteb.* I ba beth yr wyf yn atteb fel hyn, sef, nad wyf yn gweled dim achos pa ham y dylei efe ddifarnu Mr. *Tombs* neu Mr. *Danvers* am y peth hyn, oblegid y mae'n ymddangos oddiwrth rai Historiau fod yr hên *Waldenses* ac *Albigenses* ac hefyd yr hên *Fritaniaid* yn sefyll am fedyddio y credadwy; gwelwch *D. Balthazar Lidius* yn ei Histori o'r eglwys *tu dalen* 2. *Col.* 2. allan o *Renarius* a *Gildas* yn ei Lyfr a elwir *De victoria Aurelii Ambrosij*; Ac y mae Dr. *Usher* ddyscedig yn ei Lyfr oblegid cyflwr yr eglwysi Cristnogol, mal y mae Mr. *Danvers* yn dal sulw *tu dalen* 237. Yn dangos, i bod hwy yn amddiffyn bedydd

y crediniol

y crediniol y yn wrthwyneb i fedydd babanaidd gwelwch *Morland. l.* 1. *Pen.* 4. *tu dalen.* 67. etto nid oes dim ammeu na allei fod rhai o'r *Waldenses* yn dala bedydd plant.

Etto y mae Mr. *Owen* yn cyffessu fod *Bernard* yn addef, fod rhai Historiau yn dywedyd am y *Waldenses* megis pe buasent yn gwadu bedydd plant, er ei fod efe yn ceisio oddiwrth yr hyn y mae'r vn *Bernard* yn ddywedyd, gwneuthur y peth yn warth yr hwn a daflwyd arnynt gan eu gelynion y *Papistiaid*; Bydded y peth fel y mynno o'i plegid hwy, gwybyddwch, *Fritaniaid anrhydeddus*, ein bod ni yn adeiladu ein ffydd ynghylch bedydd nid ar arfer dynnion, tadau, cymanfaodd cyffredin, *Adcyweirwyr Protestanaidd*, neu eglwysi, eithr a'r air Duw.

I ddibennu ar y Rhesswm hwn,

Yr ydym ni'yn casclu oddiymma nad yw arfer yr eglwys o fedyddio plant tan wrthgwymp *Rhufein* ymmhob oes, yn ôl yr oes gyntaf hyd at yr amseroedd hyn yn brawf digonol am dano; beth er bod *Calvin* a *Luther* dau wr enwog o adgyweirwyr *Protestanaidd* a llawer o ddifeinwyr eraill diweddar, a bod llawer o wyr duwiol a dyscedig ynawr yn dala'r *traddodiad* hwn; a raid iddo gan hynny fod yn wirionedd, a raid i'n ffydd ni sefyll yn noethineb dynnion yn y matter hyn; neu yn nerth Duw ac awdurdod ei air sanctaidd ef? Ein *Adcyweirwyr Protestanaidd* cyntaf a adgyfodwyd i fynu er edfryd sailiau mawrion hynny y ffydd yn fwy nag er adcyweirio matterion discyblaeth, ac ynghylch y ddefod hon o fedyddio babanod a rhai ceremoniau eraill, *Y mae llwybr cyfiawn megis goleuni yr hwn a lywyrcha fwy-fwy hyd ganol dydd*, *Dihar*. 4. 18. Chwi a fynnwch ini goelio na bu neb yn questiyno hawl plant i fedydd, hyd nis daeth y gelyn tra y bu dynnion yn cyscu ac yr hauodd ler ymmysg y gwenith.

*Atteb.* Yr ydych chwi Sr, yn cyfeiliornu; tra y bu dynnion yn cyscu y daeth y gelyn gyntaf ac y hauodd hâd drwg *Bedydd babanaidd* yn yr eglwys; ymmhellach mysi a brofiais nad yw bedydd y crediniol (yn wrthwyneb i fedydd babanod) yn vn rhan o'r ller hynny a hauwyd gan y gelyn, eithr hâd yw yr hwn a hauodd Jesu Grist ei hun, neu (fy meddwl yw) ei ordeiniad sanctaidd ef yw.

*Yr ydych chwi yn dywedyd wrthym am un* John Smith *gweinidog o eglwys* Lloegr *yr hwn a aeth i* Holland *ac a vnodd efe hun a chynnulleidfa un Mr.* Ainsworth, *ac yn y diwedd gwedi iddo gael ei daflu allan o'r eglwys efe a fedyddiodd ei hunan, ac wedi hynny efe a ail-fedyddiodd rai eraill.*

*Atteb.* Myfi a allwn ddywedyd wrthych am lawer o arferion a phethau drwg a ffieidd a wnaethpwyd gan rai *Presbyteriaid*, eithr a ddylwn ni fwrw bai ar yr holl frawdoliaeth oblegid hynny; onid ydych chwi yn dangos tafod drwg ac enllibus gan wradwyddo yn y modd hyn yr holl gymdeithas o Gristnogion graflawn, y rhai a elwir yn gyfeilliornus yn *Ail-fedyddwyr*; oblegid nid ydym ni'n sefyll am *ail-fedyddio* neu fedyddio drachefn y cyfryw ac a gawsant eu bedyddio yn wir ac yn vniawn ac a oeddynt ddeiliaid cyfaddas o'r ordinhâad sanctaidd hynny.

Eithr fe allei mae chwedl ffugiol yw hwn hefyd, ac wedi ei scrifennu â drwg ewyllys gan y cyfryw ac nad oeddynt yn caru'r arfer o fedyddio y credinwiol, na'r bobl sydd yn gwneuthur felly.

Oblegid pa raid oedd iddo ef fedyddio ei hunan, a oedd neb o honynt hwy a elwir *Anabaptistiaid* neu wyr yr ail-fedydd yn *Holland* na *Siermani* cyn yr amser hynny? Y mae'n rhyfedd nad ydych yn dyfod i mewn â'r chwedl am *John de Leyden* o *Munster*; Yr wyf yn gweled bod gennych chwi ddigon o falis yn ein herbyn, yr Arglwydd a roddo i chwi edifeirwch; os bydd efe yn gweled yn dda.

---

PEN.

---

# PEN. XVIII.

*Gan ddangos nad yw bedydd babanaidd yn ffordd neu fodd rhagorol i blannu'r grefydd Gristnogawl, eithr yn beth pechadurus; ac am hynny yn wrthwyneb i'r hyn y mae Mr.* James Owen *yn ei ddywedyd, ni ddylei babanod gael eu bedyddio, gan roddi atteb i'r hyn a scrifennodd efe yn ei bumthegfed bennod a'i Resswms deuddegfed a diweddaf.*

'YR ydych chwi yn dywedyd fod bedydd plant yn fodd 'rhagorol gwedi ei ordeinio gan Duw er plannu a 'chynnal i fynu eglwys Duw; Christ fel hyn a orchymynnodd iw Apostolion gasclu eglwysi ymmhlith y cenhedloedd gan eu dyscu a'u bedyddio hwynt yn enw'r tâd, &c. '*Mat.* 28, 29.

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, y mae'n eglur mae hon yw'r ffordd a orchymynnodd Christ iw Apostolion ganlyn wrth gasclu eglwysi ymmhlith y cenhedloedd; sef, iw dyscu hwynt yn gyntaf ac yna iw bedyddio; Chwychwi a ddywedwch yn vniawn tra y bo'ch yn ail-adrodd y testun; eithr ni orchymynnodd Duw fedyddio babanod a plannu ei eglwys yn y modd hynny.

'Yr ydych chwi yn chwanegu mae modd rhagorol ydyw 'i'r diben hyn gan wneuthur plant i fod yn ddiscyblion 'Christ; na rhyfedded neb wrth hyn, meddwch chwi, o her'wydd bod babanod o nifer discyblion, *Actau* 15. 10. *Pa ham yr ydych chwi yn temptio Duw i ddodi iau ar warrau y discyblion*; y discyblion hynny, meddwch chwi oeddynt y credniol a'u hâd.

*Atteb.* Nid yw hyn yn wir o ran y discyblion y mae'r testun yn dywedyd am danynt; wrthynt hwy yr ydys yn meddwl y crediniol ymmhlith y cenhedloedd yn vnig; (y dyscawdwyr twyllodrus hynny a fynent i'r brodyr gael enwaedu arnynt) a rhain yn vnig oedd yn cael eu galw yn ddiscyblion.

Ni chaedd y brodyr hyn y rhai oeddynt genhedloedd erioed enwaedu arnynt, ac am hynny y dyscawdwyr twyllodrus a oeddynt yn dyscu iddynt fod felly; gwelwch, *Actau* 15. 1.

2. Mysi a appelia at eich cydwybod chwi yn y peth hyn; onid *discybl* yw vn yr hwn sydd gwedi cael ei ddyscu neu athrawiaethu, yn awr a ellir galw babanod yn ddiscyblion y rhai nid ydynt mewn cyflwr o gael eu dyscu.

Mr. *Baxter* a ddywedodd; *y cyfryw ag a wnaethpwyd yn ddiscyblion trwy addysc ydynt ddeiliaid bedydd yn ôl y Commissiwn.* Ac y mae efe ar yr vniawn.

3. A ydyw bedyddio babanod yn eu gwneuthur hwynt yn ddiscyblion, a ydyw Christ yn dywedyd bedyddiwch ac felly gwnewch hwynt yn ddiscyblion, neu onid fel hyn y mae, gwnewch ddiscyblion a bedyddiwch hwynt μαθετεύσατε *discipline*, ac yna y mae'n canlyn, gan eu bedyddio hwynt.

'Yr ydych chwi yn dywedyd, bod Christ yn gwybod pa 'fodd i weinidogaethu athrawiaeth dirgêl i fabanod yn ôl 'ei addewid ef, *Dy blant a gânt i gyd eu dyscu gan yr Arglwydd.*

*Atteb*, Nid oes dim ammeu na all Christ wneuthur hyn, eithr a ydyw efe mewn ffordd ddirgel yn gweinidogaethu athrawiaeth i fabanod; profiwch hyn, ac hefyd y modd y daethoch chwi i wybod ef; oblegid y mae'n rhaid iddynt hwy ac sydd iw bedyddio fod yn discyblion gweledig, yn ddiscyblion a gyd-nabyddir fod felly.

2. A phlant bychain ydynt hwy at ba rai y mae'r addewid hwnnw yn tueddu? *Dy blant ti a gânt eu dyscu eu gyd gan Dduw.* Plant *Sion* ydynt hwy neu y cyfryw ag sydd gwedi eu geni o Dduw, ac ydynt tan yr addewid hynny, ac nid babanod neu ein plant ni megis y cyfryw. Canys a ydyw eppil naturiol y crediniol oll yn cael eu dyscu gan Dduw, pan y maent yn fabanod neu o gyflawn oedran ychwaith. Och pa mor ffieidd yr ydych yn cam-arfer y testun sanctaidd:

2. *Y mae Bedydd* (meddwch chwi) *yn gosod plant bychain tan rwymedigaeth neilltuol o fod yn eiddo'r Arglwydd; hwynt hwy yn ddiammeu a allant dderbyn y fâth rwymedigaeth ynawr, mal y gwnaethont gynt*, Deut. 29. 11, 12. *ac y mae morr siccr fod y rhwymyn hwn er llês mawr iddynt tuag at eu gwneuthur hwynt yn foddlon pan y delont o oedran——— Duw a'i rhagflaenodd hwynt â grâs ei gyfammod*, &c.

*Atteb.* Rhwymedigaeth ydyw hwn yr ydych chwi yn cymmeryd arnoch osod o honynt hwy tano, eithr heblaw awdurdod Christ, Profiwch iddo ef orchymyn i chwi wneutur felly.

2. A ydyw bedydd yn stosi grâs; fe debygir ych bod chwi yn haeru 'r peth hyn, ac onide pa fodd y cawsant hwy eu rhagflaenu gan Dduw trwy fedydd, nid all eich taenelliad chwi â dwfr rhagflaenu mo honynt hwy; yr wyfi yn haeru mae rhymedigaeth ydyw yr hwn a gaedd ei ddychymyg gan Ddyn, nid ellwch chwi brofio iddo gael ei appwintio gan Dduw, am hynny nid yw yn ddrychiolaeth ynom ni ballu a dyfod a nhwy tan y fâth rwymedigaeth mal yr ydych chwi yn honni ei fod: yr ydych chwi yn dywedyd, *fod nôd yr yspryd arnynt hwy.*

*Atteb.* Nid yw bedydd yn nôd yr yspryd i neb ond i'r cyfryw ac sydd â'r yspryd ganddynt, a pha môr watwarus yw'r bedydd hwn gan roddi yr arwydd, ymmha le nid oes dim lliw o'r peth a arwyddocceir gantho yn ymddangos.

*Chwychwi a ddywedwch o'r tu arall nad oes gan Satan gymmaint o bwer yn erbyn y cyfryw ag a gawsant eu bedyddio yn eu mebyd.*

*Atteb.* Pa fodd yr ymddengus nad oes gan Satan gymmaint o bwer yn erbyn ych plant chwi ac sydd gantho yn erbyn ein plant ni, y rhai ni chawsant mo'i bedyddio erjoed, mal yr ydych chwi yn galw *taenelliad*; yr wyf yn siccr o fod ein plant ni yn gyffredinol mo'r sobr ac yn cael eu cynhorthwyo i ochelyd maglaw Satan cyn belled ac y mae'ch plant chwithau; a arddeliff neu a fendithia Duw draddodiad dynol; fe allei'r fenyw y mae *Luther* yn crybwyll am dani dybied fod arni rwymedigaeth i ofni Duw trwy'r fath ryw o fedydd ac y gaedd hi pan yr oedd yn faban; etto ni rwymodd Duw mo honi vn amser i ddyfod tan y fâth rwymedigaeth, fe allei iddi gael ei bedyddio pan yr oedd hi yn credu.

Fel hyn y dichon *y Papistiaid* ymresymmu tros eu anuddedau aneirif, sef, i bod nhwi yn eu cynorthwyo ac yn fuddiol jawn er eu cadw hwynt oddiwrth bechod a phrofedigaethau'r diafol.

2. Yr ydych chwi yn dywedyd, *fod bedydd Plant yn fodd rhagorol i blannu y wîr grefydd ac i gynal i fynu'r eglwys, gan roddi achos i weinidogion yr efengyl ymresymmu â'r cyfryw*

*pan*

*pan ddelont o oedran, gwell o lawer nag y gallant gael, gyda'r cyfryw ac na chawsant mo'i bedyddio, fel y gallent alw arnynt hwy i atgofio eu adduned bedyddiawl*, &c.

*Atteb.* Cyfeiliornad mawr yn ddiau ydyw hwn, oblegid yn lle iddo fod yn fuddiol i weinidogion tuag at ymresymmu â'r cyfryw ac a gawsant eu bedyddio yn eu mebyd er atgofio iddynt eu adduned fedyddiawl ac felly iddynt gredu a throi at Dduw, y mae'n eglur y gall hyn eu rhwystro hwynt, oblegid y mae'r bobl hynny pan dyfont i fynu yn atgofio yr hyn a ddarfu i chwi y rhai ydych yn dala bedydd plant dyscu a dywedyd wrthynt hwy o barthed y bendithion a'r braintiau a dderbyniasant y pryd hynny, ac fe allei y bydd hyn yn hytrach yn eu cymmeryd hwy ymmaith rhag ceisio bod yn gyfrannogion o ffydd ac edifeirwch.

1. Oblegid yr ydych chwi yn dywedyd wrthynt hwy, pan y credodd eu rhieni ac yr oeddynt mewn cyflwr iachadwy, hwynt hwy a gawsant eu gwneuthur yn gyfrannogion o'r un braintiau a bendithion hefyd; ac os ydyw'r peth felly pa raid iddynt hwy ofalu am gael ffydd personol; yr ydych chwi yn credu ac yn dyscu iddynt yr athrawiaeth o ddiysgogrwydd hyd y diwedd; yn ddiammeu ni all y cyfryw ac ydynt mewn cyflwr grâs byth gwympo yn llwyr oddiwrtho ef.

2. Nid yw'r rhwymedigaeth ar adduned sydd ar y cyfryw ag a gawsant eu bedyddio yn ôl y scrythur yn gofyn ganddynt geisio adenedigaeth; nag yw, oblegid y mae efe yn rhag gymmeryd yn anghenrhaid iddynt hwy gael eu hail-eni o'r blaen cyn eu bedyddio, eithr ymae'n eu rhwymo hwynt i barhau mewn sancteiddrwydd, felly ac mal y cawsant hwn eu claddu mewn bedydd, megis dynnion gwedi marw i bechod, felly y dylent hwy rodio mewn newydd-deb buchedd.

Yn awr chwychwi a fynnwch fod ych bedydd chwi yn rhwymo ych babanod a fedyddiwyd i farw i bechod; fe ymddengus nad oeddynt hwy gwedi marw pan y claddwyd hwynt gyda Christ mewn bedydd; eithr yr ydych chwi yn eu claddu hwy yn fyw, os bedyddiasoch hwynt er dangos bod yn rhaid iddynt farw; Sr, ni ordeiniodd Duw erioed fedydd i'r fâth ddiben, nag i rwymo dynnion i wneuthur fel hyn; gwelwch, *Rhuf.* 6. 3, 4, 5, 6, 7, 8. *Col.* 1. 12, 17.

*Atteb.* Rhwymedigaeth ydyw hwn yr ydych chwi yn cymmeryd arnoch osod o honynt hwy tano, eithr heblaw awdurdod Christ, Profiwch iddo ef orchymyn i chwi wneutur felly.

2. A ydyw bedydd yn stofi grâs; fe debygir ych bod chwi yn haeru 'r peth hyn, ac onide pa fodd y cawsant hwy eu rhagflaenu gan Dduw trwy fedydd, nid all eich taenelliad chwi â dwfr rhagflaenu mo honynt hwy; yr wyfi yn haeru mae rhymedigaeth ydyw yr hwn a gaedd ei ddychymyg gan Ddyn, nid ellwch chwi brofio iddo gael ei appwintio gan Dduw, am hynny nid yw yn ddrychiolaeth ynom ni ballu a dyfod a nhwy tan y fâth rwymedigaeth mal yr ydych chwi yn honni ei fod: yr ydych chwi yn dywedyd, *fod nôd yr yspryd arnynt hwy.*

*Atteb.* Nid yw bedydd yn nôd yr yspryd i neb ond i'r cyfryw ac sydd â'r yspryd ganddynt, a pha môr watwarus yw'r bedydd hwn gan roddi yr arwydd, ymmha le nid oes dim lliw o'r peth a arwyddocceir gantho yn ymddangos.

*Chwychwi a ddywedwch o'r tu arall nad oes gan Satan gymmaint o bwer yn erbyn y cyfryw ag a gawsant eu bedyddio yn eu mebyd.*

*Atteb.* Pa fodd yr ymddengus nad oes gan Satan gymmaint o bwer yn erbyn ych plant chwi ac sydd gantho yn erbyn ein plant ni, y rhai ni chawsant mo'i bedyddio erioed, mal yr ydych chwi yn galw *taenelliad*; yr wyf yn siccr o fod ein plant ni yn gyffredinol mo'r sobr ac yn cael eu cynhorthwyo i ochelyd maglaw Satan cyn belled ac y mae'ch plant chwithau; a arddeliff neu a fendithia Duw draddodiad dynol; fe allei'r fenyw y mae *Luther* yn crybwyll am dani dybied fod arni rwymedigaeth i ofni Duw trwy'r fath ryw o fedydd ac y gaedd hi pan yr oedd yn faban; etto ni rwymodd Duw mo honi vn amser i ddyfod tan y fâth rwymedigaeth, fe allei iddi gael ei bedyddio pan yr oedd hi yn credu.

Fel hyn y dichon y *Papistiaid* ymresymmu tros eu anuddedau aneirif, sef, i bod nhwi yn eu cynorthwyo ac yn fuddiol jawn er eu cadw hwynt oddiwrth bechod a phrofedigaethau'r diafol.

2. Yr ydych chwi yn dywedyd, *fod bedydd Plant yn fodd rhagorol i blannu y wir grefydd ac i gynal i fynu'r eglwys, gan roddi achos i weinidogion yr efengyl ymresymmu â'r cyfryw*

pan

*pan ddelont o oedran, gwell o lawer nag y gallant gael, gyda'r cyfryw ac na chawsant mo'i bedyddio, fel y gallent alw arnynt hwy i atgofio eu adduned bedyddiawl*, &c.

*Atteb*. Cyfeiliornad mawr yn ddiau ydyw hwn, oblegid yn lle iddo fod yn fuddiol i weinidogion tuag at ymresymmu â'r cyfryw ac a gawsant eu bedyddio yn eu mebyd er atgofio iddynt eu adduned fedyddiawl ac felly iddynt gredu a throi at Dduw, y mae'n eglur y gall hyn eu rhwystro hwynt, oblegid y mae'r bobl hynny pan dyfont i fynu yn atgofio yr hyn a ddarfu i chwi y rhai ydych yn dala bedydd plant ddyscu a dywedyd wrthynt hwy o barthed y bendithion a'r braintiau a dderbyniasant y pryd hynny, ac fe allei y bydd hyn yn hytrach yn eu cymmeryd hwy ymmaith rhag ceisio bod yn gyfrannogion o ffydd ac edifeirwch.

1. Oblegid yr ydych chwi yn dywedyd wrthynt hwy, pan y credodd eu rhieni ac yr oeddynt mewn cyflwr iachadwy, hwynt hwy a gawsant eu gwneuthur yn gyfrannogion o'r vn braintiau a bendithion hefyd; aç os ydyw'r peth felly pa raid iddynt hwy ofalu am gael ffydd personol; yr ydych chwi yn credu ac yn dyscu iddynt yr athrawiaeth o ddiysgogrwydd hyd y diwedd; yn ddiammeu ni all y cyfryw ac ydynt mewn cyflwr grâs byth gwympo yn llwyr oddiwrtho ef.

2. Nid yw'r rhwymedigaeth ar adduned sydd ar y cyfryw ag a gawsant eu bedyddio yn ôl y scrythur yn gofyn ganddynt geisio adenedigaeth; nag yw, oblegid y mae efe yn rhag gymmeryd yn anghenrhaid iddynt hwy gael eu hail-eni o'r blaen cyn eu bedyddio, eithr ymae'n eu rhwymo hwynt i barhau mewn sancteiddrwydd, felly ac mal y cawsant hwn eu claddu mewn bedydd, megis dynnion gwedi marw i bechod, felly y dylent hwy rodio mewn newydd-deb buchedd.

Yn awr chwychwi a fynnwch fod ych bedydd chwi yn rhwymo ych babanod a fedyddiwyd i farw i bechod; fe ymddengus nad oeddynt hwy gwedi marw pan y claddwyd hwynt gyda Christ mewn bedydd; eithr yr ydych chwi yn eu claddu hwy yn fyw, os bedyddiasoch hwynt er dangos bod yn rhaid iddynt farw; Sr, ni ordeiniodd Duw erioed fedydd i'r fâth ddiben, nag i rwymo dynnion i wneuthur fel hyn; gwelwch, *Rhuf*. 6. 3, 4, 5, 6, 7, 8. *Col*. 1. 12, 17.

3. Y mae Eglwys *Lloegr* yn dywedyd fod y plentyn y maent hwy yn ei fedyddio yn cael ei *adgenhedlu trwy hynny* ( sef trwy fedydd ) *a'i wneuthur yn blentyn i Dduw, yn aelod o Grist ac yn etifedd teyrnas Duw.* A'r hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd sydd yn cynnwys cymmaint a hyn; canys felly y mae'n rhaid i'r peth fôd os ydyw'r plentyn, pan y mae y rhieni yn credu ac yn cael eu hail-eni a'u hachub, yn cael bôd yn gyfrannog o'r vn braint, yna y plentyn a gredodd a gaedd ei ail-eni a'i achub hefyd; yn awr os y peth sydd fel hyn, pwy ddaioni a ddichon gweinidogion gael trwy ystyried bedydd plant, wrth fod yn daer arnynt pan y delont o oedran am gael eu hail-eni ac edifarhau er iechydwriaeth eu heneidiau, mwy nag sydd gennym ni am osod y dyledswyddau mawr hyn yn ddwys o flaen ein plant pan y tyfont i fynu y rhai ni chawsant erioed mo'i bedyddio; pa achos sydd am bwyso'r peth hynny a'r gydwybodau 'ch plant pan ddelont o oedran, yr hwn a weithiwyd ynddynt hwy pan oeddynt yn eu mebyd; nage, ych gwaith yw'n hytrach eu hannog hwynt, megis sainctiau a dynnion gwedi cael eu hadnewyddu i fyw bywyd sanctaidd a dyrchafu y gweddau duwiol hynny y rhai a dderbyniasant pan y credodd eu rhieni, neu'r gweddau daionus hynny a blannwyd yn eu heneidiau pan y cawsant yn eu mebyd eu bedyddio a'u hadgenhedlu.

4. Yn ddiau fe all ych plant pan ddelont o oedran dybied iddynt hwy dderbyn rhyw fraint mawr yn eu mebyd wrth fod oddifewn y gyfammod o râs gydag eu rhieni, ac felly bod mo honynt mewn cyflwr diogel ddigon; oblegid yr ydych chwi yn dywedyd wrthynt, nad oes dim llwyr gwymp ar ôl bod vnwaith mewn cyflwr o wîr râs, yr ydych chwi a ninnau yn gwybod hyn, ac yn cyhoeddi fod y gyfammod o râs yn ficcr i'r cyfryw oll ac ydynt wîr hâd neu hâd ysprydol *Abram*, o ba hâd yr ydych yn mynegu fod ych heppil naturiol chwi megis y cyfryw yn rhan; gan fod y peth fel hyn, y mae'n eglur nad oes gan weinidogion ddim rhagoriaeth, eithr yr hyn sydd wrthwyneb, wrth yrru ar ych plant pan dyfont i fynu anghenrheidrwydd edifeirwch a throad ac Dduw; y mae gennym ni fwy o ragoriaeth oblegid gan bregethu wrth ein meibion a'n merched yr ydym yn dywedyd wrthynt, Na allei ac nid ydyw'n fydd ni yn gwneuthur llês iddynt hwy, neu yn eu hachub, nage, eithr iddynt gael eu geni mewn pechod,

pechod, a'i bod hwy yn blant digofaint wrth naturiaeth, ac yn parhau felly hyd ni's byddo ganddynt wir ffydd a chael eu hail-eni; neu hyd ni's byddont yn gwir gredu ynghrist.

5. Ymmhellach, gan nad yw'r adduned y maent hwy tani trwy fedydd gwedi cael ei hordeinio gan Dduw, pa fendith a ellwch chwi ddisgwyl oddiyno; a fendithia Duw adduned-ewyllys neu a fydd traddodiad dynol yn gymeradwy ganddo ef.

6. Fe all y Papistiaid (megis y nodais o'r blaen) ddisgwyl yn gystal ac a'r gystal achos ac awdurdod gymmaint o ddaioni wrth annog i'r cyfryw i fyw'n sanctaidd a diwair ac y maent hwy yn ddwyn tan addunedau-ewyllys ac ammodau yn eu *Monachlogydd* a'i Crefydd-dai.

7. Heblaw hyn ni ddaeth ych plant chwi tan y gyfammod honno mewn bedydd am ba vn yr ydych yn chwedleua trwy eu cydsyniad eu hun; ni wyddont hwy ddim o'i phlegid, ac ni allant gwrdd â dim awdurdod oddiwrth air Duw am i chwi ddyfod a hwynt tani hi; am hynny pa bwer y mae hyn yn debyg a chael ar eu cydwybodau hwynt; oni buasei yn well i chwi ddyfod â nhwy tan adduned cyhoedd am iddynt fod yn ddaionus ac edifarhau cyn gynted ac y delent o oedran; ie, dyfod a nhwy tan lw, neu beri iddynt ammodi yn gyhoeddus am wneuthur felly, a gosod eu dwylaw wrth y gyfammod; eithr chwychwi a ddywedwch nad oes gennych ddim gorchymyn neu awdurdod am wneuthur hynny; nid oes, meddwn ninnau, dim gorchymyn neu awdurdod mwyach oddiwrth air Duw am ddyfod â hwynt tan y fâth adduned bedyddiawl i ymadael â phechod, y diafol a'i holl weithredoedd, *&c.* yn eu mebyd.

4. 'Y mae bedydd plant (meddwch chwi) mo'r effeithiol 'er cynnal i fynu y wîr grefydd ac amhlau eglwys Duw 'yn yr amseroedd hyn ac yr oedd enwaediad gynt: Duw 'a welodd fod yn dda gynnal i fynu y wîr grefydd ym'mhlith yr Iddewon wrth ddyfod â'u plant tan rwymedigaeth 'y gyfammod; ni adawodd efe mo honynt hwy iw rhydd'did eu hun, meddwch chwi, na fydded i neb gym'meryd arnynt fod yn ddoethach na Duw, gan adael plant 'yr amser hyn i ddilyn eu drychiolaeth eu hun; i ddewis 'eu crefydd heb fod cyfammod Duw arnynt, naturiaeth 'ddynol fydd lygredig ynawr megis yr oedd yn yr amser'oedd gynt, *&c.*

*Atteb*. 1. Yr wyf yn *Atteb* fod enwaediad yn orchymyn cyflawn a phennodol Duw yn Eglwys yr Iddewon yr hon oedd Eglwys genhedlig, eithr ni orchymynnodd Duw fedyddio babanod i'r Eglwys Efangylaidd, yr hon nid yw Eglwys genhedlig ond ymgynnylltiedig, pe buasei gan hynny yr vn fâth awdurdod am y naill ac yr oedd am y llall, ni's ymryssonem ni â chwi ddim mwyach.

2. Chwychwi sydd yn gwneuthur eich hunan yn ddoethach na Duw, yr hwn yn ei ddoethineb ni adeiladodd mo'i Eglwys Efangylaidd o'r fath bethau oll, neu o'r fath ddefnyddion ac yn ôl y fath ffurf ynawr, ac y gwelodd fod yn dda adeiladu'r Eglwys gyfreithlon neu Eglwys yr Iddewon; a raid i'r hâd cnawdol, megis y cyfryw, gael eu cymmeryd i mewn i'r Eglwys Efangylaidd trwy fedydd, o herwydd bôd y plant gwrywaid tan y ddeddf yn cael enwaedu arnynt; pwy sydd yn dywedyd fel hyn wrthych chwi, pa le y mae'n scrifennedig, a fyddwch chwi yn ddoethach na Duw, oni ddywedodd *Joan Fedyddiwr, na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, y mae* Abram *yn Dâd ini, yn awr y mae'r fwyall gwedi ei gosod ar wreiddyn y pren*; megis pe buasei efe yn dywedyd y mae'r peth gwedi newidio; *ynâwr nid adwaenom ni neb yn ôl y cnawd*, 2 Cor. 5. 17, 18.

3. Onid ydym ni a'n plant wedi cael yn gadael yn rhydd gan Dduw i ddewis pa vn a'i byddom yn weision iddo ei ai peidio, neu i ddewis ein crefydd; onid yw'n rhaid i'r Sainct fod eu gyd yn *filwyr ewyllyscar*; a dderbyn Christ filwyr anewyllyscar iw wasanaeth? neu os gennych chwi bwer i beri'ch plant o'u hanfodd fod o'r fath sarn mewn crefydd ac y mynnoch? gwîr yw ni adawodd Duw blant ddim mwy yn awr nag yn amseroedd gynt i ddilyn eu drychiolaethau eu hunain, na wnaeth, atto Duw; eithr efe a orchymynnodd iddynt. *gredu a chael eu bedyddio*, ac nid i ddilyn drychiolaethau eu rhieni dim mwyach nag i ddilyn eu drychiolaethau eu hunain, na gweinidogion ychwaith y rhai ydynt yn eu dyscu yn wrthwyneb i'r athrawiaeth a gynhwysir yngair Duw.

4. O ran llygredigaeth ein naturiaeth, gwîr, y mae efe cyndrwg ac y bu erioed, eithr nid oes dim rhinwedd neu allu trwy daenellu ych plant yn eu mebyd er cyfnewidio neu buro ymmaith y llygredigaeth hynny; nid yw ych plant yn derbyn dim budd wrth yr hyn yr ydych chwi yn

ei

ei alw yn fedydd, dywedwch y fynnoch, y mae'n ficcr gennyf na ellwch brofio i bod hwy yn derbyn dim budd oddiwrtho ef.

5. Yr wyf yn haeru na roddodd Duw orchymyn ini am ddyfod â'n plant tan rwymedigaeth y gyfammod, trwy fedydd hyd oni chredont, ac ni ellwch chwi ddifprofio mo honom tra fo'ch byw oddiwrth air Duw.

'Yr ydych chwi yn dywedyd i'r Arglwydd fendithio 'babanod i fod yn fodd er cynnal i fynu y wîr grefydd 'a'r Eglwys griftnogaidd o ddyddiau'r Apoftolion hyd yr 'amfer prefennol, nid yw'r Arglwydd yn ftofi ei fendi'thion neilltuol ond a'r ei ordinhâad ei hun; nid yw efe 'yn gofod fêl y nefoedd a'r ddychymygion daiarol, ni all 'neb wadu na oes miloedd o'r cyfryw ag y gawfant eu 'bedyddio yn eu mebyd yn teimlo ynddynt eu hunain rin'wedd eu bedydd.

*Atteb.* 1. Yr wyf yn *Atteb*, na ellwch chwi brofio i Dduw mewn vn rhyw ffordd gydnabod neu fendithio bedydd babanod ; beth, a fynnwch chwi (o herwydd i Dduw gynnall hâd i fynu i wafânaethu ef ymmhôb oes er amfer yr Apoftolion) fwrw hynny at fedydd babanod, yr hwn yn vnig fydd i gyfrif i râs helaeth ac arbennig Duw a gallu ei yfpryd ef.

2. O ran y wîr Eglwys hi a fu yn guddiedig dros amryw o flynyddoedd ac yn yr anialwch, hi a ffôdd oddi ger bron y *Ddraig Rhufeinig* ar *bwyftfil dyried Datc.* 12. Yr wyf yn addef i fedydd babanaidd fod mewn rhan yn fodd o gynnal i fynu y grefydd griftnogaidd yn yr Eglwys gyfeiliornus er amfer yr *ymwrthediad*, a hyn a ddychymygwyd yn ddiammeu tuag at wneuthur yr eglwys yn fawr ac yn helaeth, fef er gwneuthur *teuluoedd cyfan*, *Plwyfiau* a gwledydd yn eglwys; y mae hyn yn beth eglur, a os felly y mae'r ffordd o gynnal i fynu ac helaethu yr Eglwys, achubed yr Arglwydd ei wîr Eglwys oddiwrth y fâth arfer a dychymyg dynol.

Yr wyfi yn edrych ar fedydd babanaidd megis vn o'r colofnau pennaf yn *Eglwys Rhufein* ac o'r Eglwyfi cenhedlig oll a'u hordeiniadau yn y rhan hyn o'r byd a elwir *Europe*; dymma'r *Chriftendom* hwnnw y gwneir cymmaint o fôn am dano, a'r ffordd o wneuthur a chynnal i fynu'r enw Criftnogawl ( mal yr ydys yn ei gymeryd) yn yr Eglwys anghriftnogaidd a'r byd yw bod pawb yn cael

 eu

eu gwneuthur yn Griſtnogion yn eu mebyd trwy ſedydd; ac fel hyn yr ydys yn twyllo trigolion y ddaiar â chyſcodau ac enw gwâg na thâl ddim; ac y mae'n ſiccr gennyf na bydd byth lawn *aildiwigiad* yn y byd hyd ni's caffo *Chriſtendom* mal yr ydys yn ei alw, daflu ymmaith y ddefod ledrithiog hon o wneuthur Chriſtnogion yn eu mebyd, ac hyd oni chaffo trigolion y ddaiar eu gwneuthur yn Griſtnogion o'r newydd; fy meddwl yw hyd oni welont na thâl y Chriſtnogrwydd hynny, neu'r enw Chriſtnogawl a dderbyniaſant trwy eu bedydd babanaidd ddim iddynt; ac y taflont ef ymmaith megis dychymyg dynol, ac yr ymegniont gael eu gwîr adcenhedlu neu fôd yn gyffelyb i Griſt ac felly credu a chael eu bedyddio ar iddynt wneuthur proffes o'u ffydd yn ôl arferiad yr Eglwys brîf Apoſtolig; hyd oni byddo'r peth mal hyn, ni chawn byth lwyr adcyweirio oddiwrth ſedydd babanaidd, yr hwn ſydd yn tueddu i gynnal i fynu yr holl eglwyſi cenhedlig ac yn twyllo pobl druenus y rhai ydynt yn meddwl eu bod trwyddo ef yn cael eu gwneuthur yn Griſtnogion.

3. A ydyw'n canlyn; o herwydd i filoedd, ac a gawſant eu bedyddio (mal yr ydych chwi yn galw taenellu) pan oeddynt fabanod gael gwedin pan ddaethant o oedran eu gwîr ymchwelyd, fod y gwaith bendigedig hwnnw o râs ar eu calonnau yn dyfod trwy rinwedd eu bedydd babanaidd neu trwy vn cynhyrfiad arall a adgyfodei oddiyno, neu oni wnaethpwyd hyn yn llwyr trwy nerth gair Duw yr hwn a bregethwyd wrthynt hwy trwy bwer anfeidrol â llafur yr yſpryd glân ar eu heneidiau; yr wyf yn caniattau i Dduw ddangos ei drugaredd i'r cyfryw Griſtnogion ac a gawſant eu taenellu yn eu mebyd mewn môdd graſlawn; eithr nid oes ini gyfrif mo hyn iw arddeliad ef a'i fendith ar y dychymyg hwnnw o *fedyddio plant*; y mae'n ſiccr mal yr ydych chwi yn dywedyd yn dda, na bydd Duw byth yn arddel vn dychymyg daiarol, ac myfi a brofiais yn eglur, nad yw bedydd babanod na mwy na llai na dychymyg dynol neu ddaiarol, am hynny ni fendithiodd Duw mo hono erioed; Och! Pa anaml ydynt hwy ac ſydd yn cael eu ymchwelyd a'u gwîr adcenhedlu, y rhai yn eu mebyd a gawſant eu bedyddio mal yr ydych chwi yn dywedyd; Nage pa fath liaws o hâd y ffyddloniaid ſydd yn parhau yn annuwiol, ac yn byw ac yn marw felly, er bod eu rhieni yn credu a'u bod

hwy

hwy eu hunain gwedi derbyn bedydd yn eu mebyd. Yr Arglwydd a agoro ych llygaid chwi, *Fritaniaid anrhydeddus*, ac a ddanfono wîr oleuni yn eich plith chwi ynghylch y peth hyn.

5. *Y mae bedydd babanaidd yn rhagflaeni* (medd Mr. *Owen*) *esgeulusdra cywilyddus o fedydd; pe buasit yn gadael plant heb eu bedyddio, fe fuasei cymmaint o anhawsdra i beri i lawer o bobl dda dderbyn bedydd, ac y mae'n awr iw hannog hwynt i dderbyn Swpper yr Arglwydd; y mae naturiaeth dyn yn anewyllysgar jawn i fyned tan rwymedigaeth cyfyng ac ysprydol; yr ydym ni yn darllen yn Histori y prîf amseroedd, i laweroedd o wyr da a drowd oddiwrth y grefydd* Paganaidd *oedi eu bedydd hyd eu dyddiau diweddaf.*

*Yr oedd* Constantine *yn oedranus jawn cyn iddo gael ei fedyddio ac wedi syrthio yn glâf o'r clefyd o ba un y bu efe marw.*

*Ni chafodd* (meddwch chwi) Theodosius *mo'i fedyddio hyd oni chwympodd yn glâf mal y mae* Socrates *yn dywedyd tu dalen* 5, 6. *Ac nid oes ini dybied* (meddwch chwi) *y byddei pobl yn fwy parod i dderbyn bedydd yn y dyddiau hyn, nag yr oeddynt yn y rheini a aethant hebio.*

*Atteb.* 1. Yr wyf yn Atteb, mae peth cywilyddus yn wîr ydyw gweled cynifer o bobl dda yn esgeuluso ordinhâad sanctaidd Christ o fedydd, ac i weled mo'r anhawdd ydyw iw hannog hwynt, er eu bod yn gwîr gredu, i gael eu bedyddio, ac felly dyfod yn drefnus at fwrdd yr Arglwydd; eithr beth yw'r achos, onid yw o herwydd i chwi a'ch mâth chwi ymegnio i twyllo hwynt a thywyllu eu llygaid gan dywedyd wrthynt fod *taenelliad* yn fedydd, neu'n rhoddi bedydd iddynt, ac iddynt hwy gael eu bedyddio yn eu mebyd; Gwaefi, y maent hwy yn rhy barod i adeiladu, eu ffydd yn y peth hyn ar eu hathrawyr; *y mae athrawyr fy mhobl* (medd yr Arglwydd) *yn peri iddynt gyfeiliorni*; meddant hwy, y mae'r fâth Ddoctor *anrhydeddus* neu weinidog yn dala bedydd plant, a allant hwy gael eu twyllo? yn ficcr pe byddei'n gyfeiliornad ni allent lai na gwybod i fod efe felly.

2. Nid yw yn beth anhawdd jawn ini beri'n plant, y rhai sydd yn cael eu hymchwelyd gan Dduw gymeryd eu bedyddio a gostwng yn barodol iddo ef, ac hyd y pryd hynny ni oes ganddynt ddim mwy o hawl i fedydd nag sydd ganddynt i Swpper yr Arglwydd.

3. A fynnwch chwi, gan ragflaenu ych plant rhag ofn na fyddant foddlon i gael eu bedyddio pan ddelont o oedran, i bedyddio hwynt yn wrthwyneb i air Duw, yn eu mebyd; y mae'n rhaid imi ddywedyd wrthych, y gellwch chwi â chystal rhesswm, gan ych bod yn gweled fod mor anhawdd cymmell rhai o honynt i dderbyn Swpper yr Arglwydd, roddi iddynt (mal y gwnaeth yr hên dadau) Swpper yr Arglwydd yn eu mebyd hefyd; y mae gennych gymmaint o awdurdod am wneuthur y naill a'r llall.

4. Onid ydych chwi yn ddistaw ar yr achos hyn yn caniattau ac yn addef fod bedydd o gyfiawnder yn perthyn i'r rhai sydd o oedran; eithr y darfu iddynt o gyfrwysdra lunio bedydd plant rhag ofn na fyddent foddlon i gael eu bedyddio pan y delent o oedran; ac yr ydych chwi yn foddlon i gynnal i fynu yr arfer o herwydd ych bod chwi a'ch brodyr yn y dyddiau hyn yn gwneuthur y peth yn ffieidd 'jawn o drochi neu fedyddio mo honynt pan y delont o oedran neu y byddont yn credu; gwîr yw y mae'r ordinhâad hon yn gofyn am lawer o ostyngeiddrwydd ac ymwrthodiad o honom ein hunain; peth caled ac anhawdd ydyw i neb ddyfod tan y gyfammod fedyddiawl a'r rhwymedigaeth hynny, pan y byddont o gyflawn oedran; yr ydys yn ein gwneuthur ni cynddrwg ac pe baem yn *odinebnwyr* neu *lofruddion*, y rhai ydym yn bedyddio gwrywaid a benywaid yn ôl Commisswn Crist, y rhai ydynt ddiscyblion.

Ac y mae'n beth anhawdd hefyd i'r hwn fydd yn cael ei fedyddio (gwedi iddo ddyfod o oedran) pan y byddo'n gwybod beth y mae efe yn rhwymedig i wneuthur trwy'r gyfammod fedyddiawl, sef, marw i bôd pechod a marwhau pechod, a rhodio mewn newydd-deb bydched *Rhuf. 6.* 3, 4, 5, *6*, 7, 8, *9*. Am hynny gan ych bod chwi yn ofni na fyddant hwy yn ewyllysgar ac o'u gwîr fodd yn listio eu hunain tan faner Crist, neu i fyned yn filwyr ysprydol iddo ef pan y delont o oedran, chwychwi a wnewch iddynt, heb wybod iddynt eu hunain ac o'u hanfodd fyned i'w ryfeloedd ef yn eu mebyd heb awdurdod Crist, neu eu bôdd hwy tan y lliw golygus hwn, sef; fod arnoch ofn na wnânt mo hono pan y tyfont i fynu.

5. Yr hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd oblegid y Cristnogion hynny, y rhai yn y prîf amseroedd ac oeddynt yn oedi eu bedydd hyd y rhan diweddaf o'u bywyd, fydd

yn

yn llwyr wrthwyneb i chwi eich hunain; oblegid ni ddarfu i'r Criſtnogion hynny a ymchwelwyd oddiwrth y *grefydd baganaidd* at Griſtnogrwydd yn vnig oedi mo'i bedydd, eithr myfi a ddangoſais yn y bennod ddiwethaf i lawer o rieni duwiol ymmhlith y Criſtnogion oedi bedyddio eu plant hyd oni ddaethant o oedran ac y credaſant; a'r cyfeiliornad o oedi'r peth yn rhy hîr a gyfododd oddiwrth y camgymeriad mawr hynny, fod bedydd yn golchi ymmaith pechod, am fe ddarfu i rai oedi bedydd hyd yr amſer hynny pan oeddynt yn tybied eu bod hwy yn barod i ymadael â'r byd.

*6.* Eithr beth yw hyn i'r perwyl; a fynnwch chwi, o herwydd i rai gyfeiliornu gan aros yn rhy hîr cyn iddynt gael eu bedyddio, wneuthur gormodd o ffrwſt a dyfod â babanod i gael eu bedyddio, heb ddim ſail neu awdurdod oddiwrth air Duw; ac felly yr wyf yn dibennu ar y peth hyn, ſef, ych *ddeuddegfed* Rheſſwm ar diweddaf.

Ynawr Sr, nyni a glyſom ych holl reſſymmau am fedyddio babanod, fe ddarfu i chwi yn debygol ddyfod ynghyd â *Sburi* i eiſtedd, gwrando a dibennu ar y cynhaws mawr hwn; ddeuddeg cyfan ydynt hwy, ac pe gallent hwy Siarad, hwynt hwy a fyddent (gan fod gwedi cyttuno ynghyd a gwrando'r matter yn gyflawn hefyd) yn rhoddi eu barn ar ein hochor ni ac yn erbyn ych bedydd babanaidd chwi; eithr gadewch iddynt fod megis cyniſer o dyſtion am i chwi alw am yr yſtatyn-lyfr a *Siartar* fawr yr Eglwys, ſef Gair Duw, yr hwn a agorwyd ac wrth pa vn yr eglurhawyd y matter: Nyni a appeliwn at ein darllennydd *anrhydeddus*, yn enwedigol at yr *hên Fritaniaid anrhydeddus* am iddynt farnu troſtynt eu hunain; oblegid y mae pôb Criſtion i farnu troſto ei hun ym matterion o ffydd a phethau ſydd yn perthyn at ein heneidiau.

Fy nghyd-wladwyr, yſtyriwch y peth yn ddwys, meddyliwch fod yn rhaid inni i gyd gael ein barnu yn ôl gair Duw; os gellwch chwi gwrddyd ag vn gorchymyn am fedyddio'ch plant oddiwrth Jeſu Griſt yn y Teſtament Newydd, neu os gellwch chwi gwrdd ag vn gorchymyn neu ſiampl am hynny, chwychwi a ellwch eu bedyddio; neu os ydych chwi wrth yr hyn a ddywedodd Mr. *Owen*, yn gweled, nad yw bedydd yn perthyn i'r crediniol,

wrth awdurdod da a ddangoswyd gantho ef o'r scrythur lân, eithr bod babanod yn ddeiliaid vnig o hono, ac nad yw bedydd yn soddiad neu gladdiad o'r corph tan ddwfr, eithr yn vnig yn daenelliad ychydig o ddiferion dwfr ar wyneb y person, yna cynhaliwch i fynu ych arferiad cyntaf hyd oni ddelo Duw i agoryd eich llygaid; eithr os ydych chwi yn coelio fod Mr. *Owen* yn cyfeiliornu, yna yr wyf yn ych annog chwi y rhai ydych yn credu ynghrist i adgyfodi a chael ych bedyddio; eithr rhag ofn y bydd Mr. *Owen* yn dywedyd; y mae'n rhy gynnar i chwi wneuthur barn etto, attolwg arhoswch ronyn hyd ni's caffom glywed ei attebion ef i'n gwrth-ddadlau ni, ac hefyd y cwbl oll ac sydd ganddo ef i ddywedyd ychwaneg.

---

# P E N. XIX.

*Gan gynnwys Atteb i vnfed Bennod a'r bymtheg Mr.* James Owen, *ac yn profio fod ein gwrth-ddadlau ni yn erbyn Bedydd babanaidd yn ddwys jawn, a'i attebion ef yn amherthynasol ac egwan ddigon.*

Y Mae Mr. *Owen* yn dechreu ei vnfed bennod a'r bymtheg yn y modd hyn sef, 'Felly y darfu ini brofio oddiwrth y scrythur (medd efe) ac amryw ymresymmau scrythurol, y dylei plant y ffyddloniaid gael eu bedyddio; os edrychwn ar y gwirionedd hwn yn oleuni y scrythurau o'r blaen, y gwrthddadlau a ddiflannant o honynt eu hunain, etto myfi a osodaf i lawr y rhai cryfaf o honynt er mwyn y gweinion.

1. Gwrthdd. *Nid oes na gorchymyn na siampl yn y scrythur am fedyddio babanod,* 'Fel hyn y mae Mr. *Owen* yn atteb, sef;

'Nid

'Nid oes vn gorchymyn neilltuol *totidem verbis* gan
'enwi bedydd babanaidd, ac nid yw hyn yn anghenrheidiol,
'eithr y mae gorchymyn cyffredyn am fedyddio pôb
'cenedl o ba rai y mae plant yn rhan fawr.

'Od oes gorchymyn am fedyddio y rhieni yna y mae
'gorchymyn am fedyddio y babanod, oblegid y mae'r
'plant yn cael eu cynnwys yn rhieni megis rhannau o
'honynt, gan fod yn gyfrannogion o fraintiau rhieni da,
'ac o farnedigaethau rhieni annuwiol.

*Atteb.* Yr wyf'yn Atteb, pa vn ai proffasoch neu peidio trwy scrythurau sanctaidd a rhesymmau y dylei babanod gael eu bedyddio, a ymddengus ynawr gan iddo gael ei osod yn dêg a'r farn y darllennydd dibarthiol.

1. Nid ydym ni yn gofyn gennych ddyfod a gorchymyn *in totidem verbis*, neu mewn cynifer o eiriau, gadewch i fabanod gael eu bedyddio; eithr nid yw'ch dibennion yn dda; oblegid gan nad oes gennych na gorchymyn na siampl am eu bedyddio hwynt, felly ni ellwch dynnu dim canlyniadau têg a nerthol am dano oddiwrth vn testun o'r scrythur. Yr ydych yn dyfod â geiriau 'r Commisiwn mawr, *Mat.* 20. 19, 20. *Ewch a bedyddiwch bob cenedl.* Sr, pa ham yr ydych chwi yn gadael i maes vn rhan o'r geiriau, onid fel hyn y maent hwy; *Ewch gan hynny a dyscwch bob cenedl gan eu bedyddio hwynt, &c.* Nyni a ddangosasom yn ein hatteb i chwi eisioes, nad yw'r Commisiwn yn gofyn bedyddio neb ond y cyfryw, ac y gaffont yn gyntaf eu dyscu neu gwneuthur yn ddiscyblion, pa ddiscyblion a elwir gan St. *Mark* yn rhai credadwy; *yr hwn sydd yn credu ac yn cael ei fedyddio, &c. Marc.* 16. 16. Darllennydd, geiriau'r vn Commisiwn ydynt, er bod y ddau *Efangylwr* mawr hyn yn eu hadrodd mewn modd gwahanol, ac y maent yn dal allan yr vn peth, sef, fod yr Efengyl i gael ei phregethu ymmhôb gwlâd neu yn yr holl fyd, ac y dylei'r cyfryw ac a gawsant eu hathrawiaethu trwy bregethu'r Efengyl, neu ag sydd yn credu gael eu bedyddio, a neb ond hwy.

2. Gan ych bod chwi yn dywedyd fod plant yn rhan fawr o'r gwledydd, ac am hynny a allant gael eu bedyddio, canlyniad twyllodrus ddigon yw hwn, canys oni allasi (megis o'r blaen) ymresymmu yn y modd hyn; y mae'r anghrediniol, sef, *Twrciaid*, *Cenhedloedd*, *Paganed*, a'u phlant yn rhan fawr o bôb cenedl, am hynnny hwynt hwy

allant

allant gael en hedyddio; Sr, yr wyf yn appelio at ych cydwybod chwi pa vn ai nad yw'r canlyniad hwn cystal a chyn wired oddiwrth yr hyn a aeth o'r blaen, a'ch canlyniad chwi.

3. Eithr yr ydych chwi yn gofyn pa vn ai bod gorchymyn am fedyddio rhieni, nid oes dim ammeu oblegid hyn; yr ydym ni a chwithau yn cyttuno fod gorchymyn am fedyddio rhieni ag fydd yn credu ynghrist, ac am fedyddio babanod hefyd ag fydd ynghrist; eithr (medłwch chwi) yna y mae gorchymyn am fedyddio babanod, o herwydd i bod hwy yn cael eu cynnwys yn eu rhieni megis rhannau o honynt; ynawr nid oes dim gwirionedd yn hyn, a ffolineb mawr yn vn dyn ydyw haeru mo hono.

1. Canys pe byddei'r peth fel hyn, y mae'n canlyn fod y peth bynnag ac y mae Duw yn orchymyn i'r rhieni y mae efe yn gorchymyn yr vn peth i'r plentyn, yna pan orchymynnodd Duw i *Abram* offrymmu neu lâdd ei fâb, efe a orchymynnodd i'r mâb lâdd ei hunain; fe ganlynei hefyd,

2. Pan y mae Duw'n gorchymyn i'r rhieni crediniol fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd, y mae efe yn gorchymyn iw holl blant fod yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd hefyd; o herwydd i bod hwy eu gyd yn cael eu cynnwys yn eu rhieni.

3. Os plant fydd fel hyn yn rhan o'u rhieni, yna yn ddiau os y rhieni a ânt i'r nefoedd, y mae'n rhaid iw holl blant fyned i'r nefoedd hefyd; oblegid fe geiff y cwbl o'r crediniol fod yn fafadwy ac nid rhan o honynt yn vnig.

4. Ymmhellach, os y plant fydd yn cael eu cynnwys yn eu rhieni ac yn rhan o honynt, pa ham na ddichon bedydd y rhieni wasanaethu tros y plentyn, ac yna y byddei hefyd yn canlyn, nad oes vn dyn yn ddyn perffaith heb eu blant; a gyhoeddodd vn gwr call a dyscedig y fâth oferedd erioed wrth y byd.

5. A fydd ych porthiad chwi neu fwytta ych bwyd, yn porthi 'ch plant; yn yr vn modd y bydd hyn, ac y bydd ych bod chwi yn credu ac yn cael eich bedyddio yn porthi eneidiau 'ch plant.

6. Pa ham yr ydych chwi yn dywedyd fod barnedigaethu rhieni annuwiol yn fyrthio a'r eu plant, oni ddywedodd Duw na chai'r *ddihareb hwn mo'i arferyd mwyach*

*yn*

*yn* Israel, *eithr yr enaid a becho a fydd marw*; os bydd plant yn gyfrannogion o boenau eu rhieni, hwynt hwy a fyddant felly, pan y maent vn annuwiol yn yr vn modd, â hwyntau ac yn dilyn yr vn ôl ac y rhodiodd eu rhieni annuwiol ynddo.

Eithr yr ydych chwi yn myned yn y blaen ac yn dywedyd, *Nad oes vn gorchymyn neilltuol am fedyddio benywaid.*

*Atteb.* 1. Gwrywaid a benywaid ydynt vn ynghrist Jesu, ac y mae benywaid yn cael eu galw yn ddiscyblion, eithr nid ydys yn galw *babanod* felly.

2. Y mae gennym Siamplau eglur i fenywaid gael eu bedyddio, yr hwn sydd 'r vn peth a gorchymyn, *Actau* 8. 12. *Eithr pan y credasant i* Philip, *yn pregethu y pethau a berthynent i deyrnas Duw, ac i enw Jesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wyr ac yn wragedd*; ac hefyd i *Lydia* gael ei bedyddio *Actau* 16. A dangoswch ini vn sâth Siampl yn vn man o'r scrythur, pa le y caedd vn baban ei fedyddio, ac nyni ni ddywedwn ddim mwyach.

*Yr ydych chwi yn dywedyd nad oes gennym orchymyn neilltuol am gadw'r Dydd cyntaf o'r wythnôs megis Saboath sanctaidd i'r Arglwydd.*

*Atteb.* Y mae gennym orchymyn am gadw'r seithfed ran o'n hamser mal Sabaoth i'r Arglwydd, *Exo.* 20. a Siamplau eglur yn y Testament Newydd i'r saint ymgynnyll ynghyd a'r y dydd cyntaf o'r wythnos i addoli Duw, *Actau* 20.7. 1 *Cor.* 16. 1. Fe gadarnhawyd hefyd y dydd cyntaf o'r wythnos i fod yn Sabaoth y Cristnogion trwy ymddangosiad rhyfeddol cyntaf Crist yn ôl ei dderchafiad i'r nefoedd, yr hyn a fu a'r ddydd *Pentecost*, *Actau* 2.1,2. Rhoddwch chwi y fath brawfiau am ych bedydd babanaidd.

*Chwychwi a fynnwch ini ddangos pa scrythurau sydd gennym am ail-fedyddio.*

*Atteb.* Myfi a attebaf hyn yny man, pan y delof at ych Pennod nessaf, pa le y cawn gwrdd ag ef drachefn. Nid ydym ni yn addef i fod yn beth cyfreithlon i bedyddio hwynt drachefn y rhai a gawsant vnwaith eu bedyddio yn vniawn, eithr taenelliad nid yw fedydd, ac nid yw babanod yn wir ddeiliaid o hono.

*Yr ydych chwi yn dywedyd, i chwi ddangos eisioes fod amryw siamplau yn y scrythur am fedyddio plant, y rhai ydynt yn eglur iddynt hwy ac sydd yn deall cyttundeb a chanlyniadau'r scrythur.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, bydded i'r darllennydd roddi ei farn yn y matter hyn, gwedi ini ynawr ymholi pôb testun oddiwrth pa rai y darfu i chwi dynnu ych siamplau, pa vn ai bod ych canlyniadau yn eglur ac amlwg neu peidio.

*Gwrthdd.* 'Y mae'r scrythur yn galw ar rai i gredu 'cyn iddynt gael eu bedyddio; *y neb a gredo ac a fedyddier* '*a fydd cadwedig, Marc.* 16. 16. ac yn ôl y rheol hwn ni 'fedyddiodd yr Apostollion neb hyd onid oeddynt yn cre- 'du, *Actau* 2. 38. Dymma'r ail gwrthddadl sydd gan Mr. *Owen* yn wrthwyneb i'r hyn a scrifennwyd gantho ef, cymmerwch ei Atteb ef, sef,

Medd efe, *Pan'y mae'r scrythur yn dywedyd, y neb a gredo ac a fedyddier.*

*Y mae hi yn crybwyll am ddynnion o oedran, sef, y cenhedloedd anghredadwy at ba rai y danfonodd Christ ei ddiscyblion,* Marc. 16. 15. Matt. 28. 19. *Ac nid am blant y ffyddloniaid; Christ a'i hanfonodd hwynt trwy'r holl fyd i bregethu'r efengyl ymmhlith paganod, gan ddywedyd, y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig,* Marc. 16. 15, 16. *Yr hwn sydd yn dangos nad yw na bedydd na iechydwriaeth yn perthyn iddynt hwy, hyd oni's credont yn yr Arglwydd Jesu; Pe baem ni i bregethu i'r cyfryw ni fyddem yn bedyddio neb o honynt hyd oni's credent, eithr beth yw hyn i bâd y ffyddloniaid am ba rai nid yw Christ yn crybwyll.*

*Atteb* 1. Yr wyf yn Atteb, dal sulw, ddarllennydd, Mr. *Owen* a roddodd i fynu yn y man hyn ei fatter tros byth; oblegid y mae efe yn dywedyd nad yw Christ yn crybwyll am blant y ffyddloniaid eithr am rai o gyflawn oedran; yn awr ystyriwch fod y ddau destun hwn y mae efe yn nodi, sef *Matt.* 28. 19, 20. a *Marc.* 16. 15, 16. Yn cynnwys yr vnig Commissiwn mawr a'r warand a roddwyd gan yr Arglwydd Jesu yr vnig gwneuthurwr-cyfraith ynghylch bedydd; ac os nid ydys yn crybwyll neu'n bwriadu am fabanod yn y man hyn, nid oes dim awdurdod oll am eu bedyddio; oblegid od yw'n rhaid i bawb yn gyntaf gredu cyn y caffont eu bedyddio trwy rinwedd y Commissiwn mawr; dyna ben am dan fedydd babanaid dros byth.

2. Y

2. Y mae'r gwrthddadl yn dywedyd yn dda, na fedyddiodd yr Apostolion yn ôl y rheol neu'r Commissiwn hyn, neb hyd ni's credent, yr hyn beth sydd wir ac ni all efe mo'i ddatbrofi.

3. Ystyriwch nad oedd y Commissiwn, *Mat* 18. 19, 20. *Marc.* 16. 15, 16. Yn rhoddi awdurdod yn vnig i'r Apostolion fyned a gwneuthur discyblion ymmhlith y cenhedloed neu'r Paganod, eithr hefyd ymmhlith yr Iddewon, y rhai oeddynt hâd *Abram*; Ie; fe a orchymynnwyd iddynt hwy yn gyntaf ddechreu (neu agoryd eu Commissiwn) wrth bregethu iddynt hwy yn *Jerusalem*. Ymmhellach, geiriau'r Commissiwn yw'r Commissiwn oll a'r awdurdod sydd gan ddiscyblion a gweinidogion yr Efengyl am weinidogaethu bedydd i'r holl wledydd Cristnogawl hyd ddiwedd y byd; ni roddodd Crist ddau Gommissiwn oblegid bedydd, y naill am fyned at y cenhedloedd neu'r Paganod, a'r llall at y Cristnogion credinioi yn y byd, neu'r credadwy a'u hâd; nage, nage, ni oes ond vn Commissiwn, ac vn ôl y Commissiwn a'r rheol hwn yn vnig y mae inni fedyddio, am hynny Mr. *Baxter* a ddywed yn dda, *Christ yn ei Gommissiwn a gyfarwyddodd ei Apostolion i wneuthur discyblion a gwedi hynny i bedyddio hwynt*, gan addaw y bydd i'r hwn a gredo ac a fedyddier fod yn gadwedig, *Baxt. Conf. tu dalen* 27. Ac y mae efe yn dywedyd mewn lle arall am yr vnig awdurdod neu'r Commissiwn o fedyddio, *oni chawn gwrdd ag ef yn y man hyn pa le y cawn gwrdd ag ef*. A gaiff heb vn waith dybied fod Commissiwn Christ yn fyrr ac yn ammherffaith.

4. Ymmhellach, y mae Mr. *Owen* yn dywedyd, Pe byddem ni i bregethu i'r cyfryw, hynny yw, i'r anghrediniol neu'r cenhedloedd, ni fyddem ni yn bedyddio neb hyd ni's credent; attolwg ystyriwch ynawr dymma ei Gommissiwn ef am fedyddio, os ydyw efe yn wîr weinidog Christ; Pregethed i'r sawl y fynno, a deued i ba le y mynno, y mae'n rhaid iddo ef wneuthur pôb peth yn ôl ei Gommissiwn megis ac y rhoddwyd ef allan yn y man hyn, sef, Nid oes iddo fedyddio na hên nag ievangc, nag Iddew na *Groegwr*, rhieni na phlant hyd ni's credont neu y gwnânt broffes o'u ffydd yn Jesu Grist; os gwnaiff efe amgen, y mae efe y troseddu ac yn gwneuthur yn hollawl wrthwyneb i'r vnig Commissiwn sydd gantho, ac am hynny os gwnaiff felly, y mae efe yn pechu; Pe bae vn gwr

ac a gaedd Gommissiwn gan frenhin daiarol yn gwneuthur dim peth yn wrthwyneb eiriau eglur a thueddrwydd ei Gommissiwn, efe a fyddei yn sicer yn cael ei farnu, mal gwâs drwg ac anffyddlon ac yn cael ei droi allan o wasanaeth ei feistr. Y mae Mr. *Owen* yn dywedyd na chrybwyllodd Christ am hâd y ffyddloniaid, sef yn ei Gommissiwn, *Mat.* 28. 19, 20. *Marc.* 16. 15, 16. Am hynny nid oes iddo ef fedyddio y cyfryw, oni dderbynniodd oddiwrth Grist ryw Gommissiwn newydd arall yr hwn sydd yn rhoi iddo awdurdod am wneuthur felly.

5. Ac y mae'n beth a ddylit dal sulw arno pa fodd y mae Mr. *Owen* yn gwrthddywedyd ei hunan, o ran yr hyn a ddywedodd efe o'r blaen pan y crybwyllodd am yr un testun a Chommissiwn Christ; efe a ddywedodd wrthym fod *Plant yn rhan o'r gwledyd*; i Grist orchymyn iddynt gael eu bedyddio; eithr y mae efe yn dywedyd yuawr, *Nad yw Christ yn crybwyll am hâd y ffyddloniaid*; ac ar y troad hyn nid oes dim ammeu nad yw efe yn dywedyd y gwîr; ac os ni dylei neb o hâd y ffyddloniaid gael eu bedyddio trwy rinwedd Commissiwn Christ ond y cyfryw o honynt yn unig ac sydd yn credu, yna ni ddylei yn baban gael ei fedyddio; canys *Dyscu* sydd yn arwyddoccau gwneuthur discyblion; y mae'n rhaid iddynt hwy gael eu dyscu felly, mal ac y byddont yn credu, cyn y caffont eu bedyddio a hynny ymmhôb gwlâd, pa un a'i byddont genhedloedd a'i Cristnogion a hynny hefyd hyd ddiwedd y byd; *gan ddyscu iddynt gadw pôb peth a'r a orchymynnais i chwi, ac wele yr ydwyfi gyda chwi bôb amser hyd ddiwedd y byd*, Mat. 28. 20.

*Y mae'n sicer* (medd Mr. *Owen*) *nad yw'r scrythur hon yn crybwyll am blant, os ydyw, y mae'n rhaid iddynt hwy fod yn golledig o eisiau ffydd, yr hon ni all fod ganddynt hwy mewn gweithred.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb, y mae'n ddigon gwîr nad oedd Crist yn ei Gommissiwn yn meddwl neu yn crybwyll am fabanod; ni roddodd efe yn Commissiwn am fedyddio babanod, oblegid y mae geiriau'r Commissiwn yn rhedeg i'r cyfryw ac sydd yn gallu cael eu *dyscu*, eu gwneuthur yn ddiscyblion trwy *addysc* ac felly i *gredu*, Yr hyn beth (medd Mr. *Owen*) ni all babanod mo'i wneuthur mewn gweithred.

Eithr

Eithr y mae efe yn chwanegu, *Y mae'r Apostol yn dywedyd*, 2 Thes. 3. 10. *Os byddai neb ni fynnai weithio, na chai fwytta chwaith, oni byddei'r tâd hynny yn annaturiol yr hwn y gymmerei achos oddiwrth y scrythur hon i newynu ei blant bychain oblegid na allant weithio; felly pan y mae Christ yn dywedyd y neb a gredo ac a fedyddier; nid yw yn canlyn na ddylei neb gael eu bedyddio hyd oni chredont.*

*Atteb.* Yr wyf yn Atteb; y mae hyn yn beth rhyfedd, onid ydyw yn canlyn, pan y mae Christ yn mynegu mewn modd o haeriad pwy a fynnei efe gael eu bedyddio, na ddylei neb arall mewn modd o negyddiaeth gael eu bedyddio: ni fyddech chwi mewn matterion eraill yn ymresymmu yn y modd hyn; a chymerwch y siampl hwn; pan y gorchymynnodd Duw i *Abram* enwaedu ar ei *blant gwrywaid*, onid ydyw hyn yn cynnwys iddo wahardd enwaedu ar ei *blant benywaid*; a phan orchymynnodd iddo enwaedu ar ei fabanod gwrywaid ar yr wythfed Dydd, onid ydyw hyn yn cynnwys iddo wahardd nad enwaedyd arnynt y seithfed neu'r nawfed dydd; a phan y mae *Paul* yn dywedyd *Holed dyn efe ei hun ac felly bwyttaed o'r bara*, onid yw efe yn gwahardd babanod, o fod yn gyfrannogion o hono ac i ddyfod at Swpper yr Arglwydd y rhai nid ydynt felly yn holi mo'i hunain ac heb jawn farnu corph yr Arglwydd.

2. Ymmhellach, onid yw'r dynnion hynny oll y mae cymmynwr yn adael i maes o'i destament neu ewyllys diwedaf, heb crybwyll am danynt, yn cael eu cau allan oddiwrth ddim rhodd yn yr ewyllys hynny; ynawr y Commisiwn mawr yn *Mat.* 28. *Marc.* 16. sydd hefyd destament neu ewyllys diweddaf Christ ynghylch hawl i fedydd, sef, Pwy sydd deiliaid cyfaddas, ac y maent hwy yn cael eu nodi wrth eu cyneddfau, sef *discyblion*, neu ddynnion gwedi *cael eu dyscu*, neu'r cyfryw ac *sydd yn credu*; onid yw gan hynny pob anghredadyn, Pagan a dyn annuwiol a babanod annwybodus y rhai ni allant gredu, yn cael eu cau allan oddiwrth fedydd yn ôl ewyllys diweddaf a Thestament Christ; ni thâl ddim gael cwrdd â hawl babbanod i'r enwaediad tan y ddeddf, na'r braintiau eraill oddiallan oedd gan hâd y ffyddloniaid y pryd hynny, oblegid *rhodd* ydoedd a gymmynnwyd yn yr *hên ewyllys neu destament*, yr hwn a ddiddymmwyd gan Grist pan y gwnaeth efe ei *destament a'i ewyllys newydd a diweddaf*; ymmha vn y

 gadawyd

gadawyd allan hâd babanaidd y crediniol o ran dim hawl sydd ganddynt yn awr yn amser yr efengyl o fod yn aelodau o'r eglwys Efangylaidd neu i fedydd, &c.

3. O ran y testun hwnnw a grybwyllir gennych, 2 *Thes.* 3. 10. *Os byddei neb ni fynnai weithio, na chai fwytta chwaith* yr wyf yn Atteb; y mae Mr. *Burkit* yn ei draethawdd tros fedydd babanaidd i ba vn y rhoeiym atteb, ac efe ni ail-attebodd drachefn, yn dyfod i mewn â'r vn testun ar yr vn fâth achos, cymmerwch ei eiriau ef a'm hatteb innau, *A raid i blant newynu o herwydd na allant weithio, yn llyn* (medd efe) *y mae plant yn gorwedd tan anallu naturiol o wneuthur proffes o ffydd gweithredol, am hynny nid yw'r testun cyntaf, sef,* Marc. 16. 16. *Yn perthyn iddynt hwy ddim mwyach na'r diweddaf,* 2 *Thes.* 3. 10. Cymmerwch yn awr ein hatteb ni, sef, chwychwi a roesoch i fynu ych cynghaws (meddwn ni) tros byth; oblegid onid ydyw'r testun hwn, *Marc.* 16. 16. Yn perthyn dim mwyach i fabanod na hwnnw yn 2 *Thes.* 3. 10. yna y mae'n siccr nad oes ganddynt hwy ddim i wneuthur â bedydd.

Yr ydych chwi yn dywedyd mae'r rhai sydd o gyflawn oedran yr ydys yn ei feddwl yn *Marc.* 16. 16. Yr ydym ni yn dywedyd felly hefyd, pa lle gan hynny y cawn ni fyned i geisio 'ch bedydd babanaidd chwi; nyni a allwn brofio oddiwrth amryw destunau y dylei plant fwytta er na allant weithio, eithr pa fodd y profiwch chwi y dylei babanod gael eu bedyddio oddiwrth vn scrythur arall os nid yw yn y Commisiwn, er nad ydynt yn credu a ffydd mewn gweithred ganddynt; y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd fod gan blant gyrph marwol am hynny hwy a ddylent gael eu porthi, ar furdd eu rhieni ac y mae ganddynt eneidiau anfarwol, ac oddiymma y mae efe yn ymresymu y dylent hwy gael eu bedyddio; i ba beth yr attebais; megis ac y mae gan fabanod gyrph marwol ac am hynny bod yn rhaid iddynt gael eu porthi ar fwrdd eu rhieni, er na allant weithio, felly am fod ganddynt eneidiau anfarwol (efe a allasei ddywedyd yn gystal) hwy a ddylent gael eu porthi ar fwrdd yr Arglwydd er na allant gredu, na jawn farnu corph yr Arglwydd: Y mae'r Apostol yn dywedyd *Holed dyn ei hun ac felly bwytaed o'r bara, &c.* yr hyn a ddywedir (meddasi) am y rhai sydd o oedran, eithr od yw'n rhaid i fabanod y rhai ydynt addas i dderbyn daioni ysprydol trwy farwolaeth Christ, gael yr ordinhâad

sydd

sydd yn ei arwyddoccau ef, sef Swpper yr Arglwydd y mae cymmaint o achos a reswm gan hynny am gasclu fod babanod yn cael eu cynnwys yn 1 *Cor.* 11. 23. *&c.* Ynghylch derbyn Swpper yr Arglwydd, ac y mae am gasclu i bod hwy yn cael eu cynnwys yn *Mat.* 28. 19. *Marc.* 16. 15, 16. Yn y Commisiwn am fedyddio; y llaill sydd yn dywedyd holed dyn ef ei hun, a'r llall a ddywed, yr hwn sydd yn credu, *&c.*

3. *Yr ydych chwi yn dywedyd i chwi brofio i'r Apostolion nid yn vnig fedyddio y rhai oeddynt o gyflawn oedran pan yr oeddynt yn credu; eithr plant y cyfryw hefyd.*

*Atteb.* Yr wyf yn gobeithio i'm roddi bodlonrwydd i bawb ac sydd ewyllyscar i gael eu dysgu gan ddisbrofi yr hyn yr ydych chwi yn ei dywedyd, a phrofio na fedyddiodd yr Apostolion vn baban trwy resymmau llawer gwell nag yr ydych chwi yn arfer tuag at brofio iddynt wneuthur felly.

'*Gwrthdd.* Nid yw babanod yn deall beth yr ydys yn 'wneuthur, am hynny pa ddaioni y mae bedydd yn wneu-'thur iddynt hwy.

Y mae Mr. *Owen* yn *Atteb* y gwrthddadl hwn yn llyn.

Nid yw'r gwrthddadl hwn yn sefyll yn vnig yn erbyn bedydd eithr yn erbyn enwaediad hefyd, etto yr oedd yr ordinhâad yn fuddiol iddynt hwy--fe ddichon plentyn bychain dderbyn rhôdd fawr, *&c.*

*Atteb.* 1. Yr wyf yn Atteb fod enwaediad yn orchymyn Duw, yr oedd gan fabanod hawl iddo, eithr ni orchymynnodd i fabanod gael eu bedyddio, fe geiff ordinhâad Duw y fâth affaith ar ei jawn ddeiliaid ac y fwriadodd efe.

Nid oes dim ammeu, pe buasei ewyllys Christ roddi gorchymyn am fedyddio babanod, bedydd a fuasei ryw ffordd neu gilydd yn fuddiol iddynt, eithr yn gymmaint ac na orchymynnodd efe mo hyn nid all fod yn fuddiol iddynt mewn vn modd.

2. Nid oes dim ammeu na all plentyn bychan dderbyn rhodd fawr, eithr ni ddylit rhoddi iddynt yr hyn ni appwintiwyd gan Dduw erioed i roddi iddynt; pan roddodd Duw allan y Commisiwn o enwaediad, efe a orchymynnodd i *Abram* megis vn o lawn oedran gael enwaedu

 arno

arno, ac hefyd ar yr vn amser y gorchymynnodd iddo enwaedu ar ei blant gwrywaid; y rhôdd hynny a wnaed trwy gyfraith bennodol i hâd gwrywaid *Abraham* oll, ac iw holl blant gwrywaid o *Isaac* yn eu cenhedlaethau, pa vn ai bod eu rhieni yn dduwiol neu'n annuwiol, eithr bedydd yn ôl Commissiwn Christ a roddir yn vnig i'r crediniol ac iw plant y rhai ydynt yn credu, am hynny nid rhôdd ydyw a wnaethpwyd iw babanod, nid oes ini fod yn ddoethach na Duw na chwanegu at ein air ef.

4. *Gwrthdd.* Y mae Mr. *Owen* yn chwanegu gwrthddadl arall yn erbyn ei athrawiaeth, sef, *Yr oedd Christ yngbylch deng-mlwydd a'r hugain oed pan y bedyddiwyd ef*, Luke 3. 23.

1. Ei Atteb ef sydd fel hyn, *Er na cheddodd efe mo'i fedyddio hyd onid oedd ddeng mlwydd ar hugain oed; etto fe enwaedwyd arno ef, pan yr oedd ond wyth niwrnod oed*, Luc. 22. 1.

2. *Ni ddarfu iddo ef oedi mo'i fedydd oblegid nad oedd efe yn addas i dderbyn ef, canys yr oedd efe yn llawyr sanctaidd a'r grôth; am hynny os ydym ni yn rhwym i ddilyn ei siampl ef yn y peth hyn, ni ddylei neb o honynt hwy ac sydd yn credu gael eu bedyddio hyd oni byddent ddeng-mlwydd ar hugein oed; eithr nid yw'r rhai sydd yn wrthwyneb i fedydd Plant yn rhodio yn ôl y rheol hyn, ac am hynny nid ydynt hwy yn tybied fod y siampl hwn yn eu rhwymo hwynt.*

*Atteb.* 1. Yr wyf yn *Atteb*, os ydoedd vn baban yn ddeiliad addas o fedydd, Jesu y plentyn sanctaidd oedd efe, os purdeb a sancteiddrwydd oddifewn o roddodd jawn hawl iw ddeiliaid ef; Eithr nid sancteiddrwydd, os ystyrier ef yn gyntaf ac yn vnigol ynddo ei hun, sydd yn rhoddi i neb hawl i fedydd, eithr gorchymyn pûr pennodol Duw; ac y mae gorchymyn pûr pennodol Duw yn rhedeg yn vnig i'r fâth rai ac sydd yn credu, ac am hynny nid i fabanod; er ein bod ni yn caniattau fod gorchymyn pennodol yr enwaediad yn gofyn am i fabanod gwrywaid gael enwaedu arnynt tan y ddeddf; pa gyfraith Christ a ddaeth i gyflawni a'i vfuddhau ymmhôb peth; am hynny Christ pan yr oedd yn faban a gaedd enwaedu arno, yn ol bwriad a threfn y gyfraith; ac efe a fedyddiwyd hefyd, pan yr oedd o gyflawn oedran yn ôl bwriad a rheol yr Efengyl; ac yn ddiammeu pe buasei meddwl ac ewyllys Duw am i fabanod gael eu bedyddio, fe fuasei Christ megis siampl i eraill yn cael ei fedyddio yn ei fabyd.

2. Eithr

2. 'Eithr (meddwch chwi) os ydym ni i ddilyn ein 'jachawdwr yn ei fedydd, ni oes ini gael ein bedyddio hyd 'oni byddom ddeng-mlwydd ar hugain oed:

*Atteb.* Peth direswm yw hwn a breuddwyd ofer, o herwydd bod yr yspryd glân gan grybwyll am oedran Christ pan y caedd efe ei fedyddio a'i fod ef yn ddeug-mlwydd ar hugain oed yn dal allan yn ddiammeu ddim amgen na hyn; sef, y dylei pawb fod o *gyflawn oedran* neu ddealltwriaeth, cyn y caffont eu bedyddio oblegid yr oedd yr Iddewon yn edrych ar yr oedran hynny yn berffaith a chyflawn; nid oedd yr offeiriaid hyd tuag at yr oedran hynny yn dechreu gwasanaethu swydd yr offeiriadaeth; ac am hynny y mae y *bedyddwyr* yn wrthwyneb i'r hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd, yn rhodio yn ol y rheol hyn, sef siampl Christ yn y pwngc ac amser bedydd; Hynny yw, bod yn rhaid i bawb oedi eu bedydd hyd oni ddelont i gyflawn oedran, i'r fâth oedran ac y gallont ddeall beth y mae bedydd yn arwyddoccau, a bod yn gallu credu ynghrist Jesu, o ba bethau y mae rhai yn gyfrannogion o flaen eraill, oblegid y mae rhai a dealltwriaeth gwyr ganddynt, pan y maent yn jevaingc jawn, ac fe allei yn fwy synhwyrol yn ddeng-mlwydd oed nag y mae eraill ar ddêg ar hugain; eithr hwynt hwy ac ni elont ddeallus erbyn y byddont ddeng-mlwydd ar hugain, yn ddiau ni byddant fyth ddeallus a gwybodus megis gwyr o ddealltwriaeth.

3. Heblaw hyn y mae'n eglur na ddechreuodd ein jachawdwr wneuthur swydd gweinidog hyd oni chaedd ef fedyddio, gan ddangos felly, na ddylei vn gweinidog tan yr Efengyl gymeryd arno bregethu'r Efengyl, neu fod yn fugeil Eglwys, ac na chaedd mo'i fedyddio; ac y mae'r yspryd glân gan grybwyll oedran ein jachawdwr pan y bedyddiwyd ef yn ddiammeu yn dangos ini mae dynnion o oedran ydynt ddeiliaid cyfaddas o fedydd, a chyn belled a hyn y mae'n rheol ini megis siampl.

*Eithr* (meddwch chwi) *y mae amryw o weithredoedd Christ yn tueddu er ein athrawiaeth, y rhai nid ydynt iw dilyn, ac o'r fath hyn yr oedd ei fedydd ef pan yr oedd yn ddeng-mlwydd ar hugain oed gan i fod ef yn foddlon i ddwyn tyst i weinidogaeth* Joan, *yr hwn a ddechreuasei fedyddio ychydig o'r blaen; megis ac nid yw ei siampl ef o gymeryd y weinidogaeth arno pan yr oedd ddeng-mlwydd ar hugain oed ac nid o'r blaen yn rhwymo pawb eraill i ganlyn ef, felly nid yw ei siampl ef o gael ei fedyddio yn yr vn flwyddyn yn rheol i bawb eraill.*

 *Atteb*

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, er bod llawer o weithredoedd Christ er ein athrawiaeth ni, y rhai nid oes ini iw canlyn; etto yr ydym yn dywedyd yn wrthwyneb i chwi, fod ini yn hyn i ganlyn ef cyn belled ac na ddylem oliwng neb at fedydd, hyd oni fyddo ganddynt gymedroldeb o ddeallturiaeth, oblegid oni buasei Christ yn bwriadu gadael ini siampl yn y peth ymma cyn belled a hyn, yn ddiammeu ni fuasit yn gadael ei oedran pan y bedyddiwydd ef ar atgôf; Ie, pe buasei babanod yn ddeiliaid cyfaddas o fedydd Efangylaidd, nyni a allwn haeru y buasei Christ (mal y dywedais o'r blaen) yn cael ei fedyddio yn gystal ac enwaedu arno pan yr oedd efe yn faban; eithr gan i fod efe yn Dduw yn gystal ac yn ddyn, efe a rhag-welodd pa fodd y cae'r ordinhâad hon yn yr amseroedd i ddyfod ei llygru, a'r deiliaid vniawn o honi eu cyfnewidio, ie o'r crediniol a rhai o lawn oedran i fabanod, ac am hynny a welod fod yn anghenraid yn ddiammeu adael ar gyhoedd yr amser o'i oedran, pan y caedd efe ei fedyddio i bob cenhedlaeth; eithr fel y dibennom ar yr ymryson hyn.

'Y maent hwy y rhai a ddalant fedydd plant yn dywe-'dyd fel hyn; sef er bod y crediniol yn yr oes gyntaf 'o'r Eglwys neu pan y rhoddwyd bedydd allan o'r cyntaf 'yn cael yn vnig eu bedyddio; eithr pa le yr ydych chwi 'yn cwrdd ag vn credadyn yn y Testament Newydd oll ac 'a gaedd ei fedyddio, yr hwn a oedodd fedyddio ei eiddo 'neu ei blentyn hyd oni ddaeth o lawn oedran.

*Atteb.* Nid ydym ni yn cwrdd â'r fath nôd o ran bedydd ein jachawdwr, oblegid y mae'n rhaid i bawb addef fod y *forwyn fendigedig*, neu fam yr Jesu a *Joseph* yr hwn oeddit yn gymeryd am ei dâd yn grediniol rhagorol a chwedi cael eu bedyddio hefyd (nid oes neb yn ammeu hyn) ac etto fe ddarfu iddynt hwy oedi bedydd yr Jesu bendigedig hyd oni ddaeth o lawn oedran.

Gwrthdd. *Beth pe bai rhyw vn yn gwrthddadlu nad oedd* Joan *yr hwn a dderbynniodd y Commissiwn cyntaf am fedyddio, ond ychydig benach na'n jachawdwr, ac felly nad oedd yn gallu bedyddio Jesu Ghrist pan yr oedd efe yn faban.*

Yr wyf yn *Atteb*, er bôd hyn yn wîr, etto gan fod Duw yn rhydd i wneuthur yr hyn a fynno, ac heb fod yn rhwym i vn dyn mwy na'r llall; oni allasei efe roddi Commissi-

wn

wn i ryw ddyn arall y sawl y fynnei efe i fedyddio'r *Jesu* bendigedig, neu ddanfon *Joan* yn gynt i'r byd; nid oedd arno ei eisieu offerynnau neu weinidogion i wneuthur yr hyn yr oedd efe yn ewyllysio gael ei wneuthur; am hynny y mae'n canlyn yn eglur nad oedd yn rhyngu bodd iddo ef i Grist gael ei fedyddio pan yr oedd yn faban, a hyn er dargan ini nad yw babanod yn ddeiliaid uniawn o'r bedydd Efangylaidd.

4. Y mae hyn yn dangos hefyd yn wrthwyneb i'r hyn a ddywedodd Mr. *Owen* o'r blaen, nad oed bedydd yn ol gorchymyn Duw yn Eglwys yr Iddewon cyn i *Joan* dderbyn Commissiwn o'r nefoedd am fedyddio.

5. Am yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd na ddechreuodd Christ ar swydd gweinidog hyd onid oedd ddeng mlwydd ar hugain oed nad yw hyn ddim Siampl i eraill; yr wyf yn *Atteb* i fod efe yn rhwym i gyflawni pob gorchymyn o'r gyfraith ac o'r efengyl; am hynny efe er cyttuno â'r gyfraith (fel na allei'r Iddewon gwympo i maes ag ef) ni ddechreuodd a'r swydd y weinidogaeth hyd y cyfamser hynny o'i oedran, ymmha un yr oedd yr offeiriaid ar gweinidogion tan y ddeddf yn dechreu; oblegid efe a wnaethpwyd tan y ddeddf, ac yr oedd yn ddeiliad i'r holl gyfraith a'i gorchymynnion, ac yn hyn y mae'n wir nad yw efe yn siampl i weinidogion yr efengyl; eithr gan fod bedydd yn orchymyn pûr Efangylaidd y mae'n rhaid ini ei ddilyn ef yn hyn cynbelled, ac na ddylem ni gael ein bedyddio, hyd oni byddom o oedran ac yn credu ynddo ef - efe a adawodd ini Siampl ymma fel y byddei ini ddilyn ôl ei droed ef.

Y mae Mr. *Owen* yn dyfod i mewn â'i bummed wrthddadl yn erbyn ei athrawiaeth a'i arfer o fedyddio babanod sef, *Os ydyw bedydd yn perthyn i fabanod, pa ham nad ydych yn rhoddi iddynt Swpper yr Arglwydd.*

'Cymmerwch ei *Atteb* ef; O herwydd (medd efe) bod
'yr Apostol yn gorchymyn i'r cyfryw ac sydd yn derbyn
'Swpper yr Arglwydd holi eu hunain, a jawn farnu corph
'yr Arglwydd, pa beth ni all plant bychain mo'i wneu-
'thur.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, ac fel y gorchymynnodd yr Apostol i bawb ac sydd yn derbyn Swpper yr Arglwydd holi eu hunain a jawn farnu corph yr Arglwydd, felly hefyd *Joan Fedyddiwr* a'r Arglwydd Jesu a'i Apostolion

a or-

a orchymynnasant i bawb a dderbyniasant fedydd, gredu ac edifarhau, a dwyn allan ffrwyth addas i edifeirwch, pa beth a all plant bychain mo'i gwneuthur? Ediferwch a bedyddier pob vn o honoch chwi, Act. 2. 37. *Os wyti yn credu a'th holl galon, fe ellir*, Actau 8. 37. hynny yw, dy fedyddio.

2. Yr ydych chwi yn dywedyd, mae bedydd yw Sa'crament ein adenedigaeth a'n gollyngiad i mewn i Eglwys 'Dduw, mae Swpper yr Arglwydd yw Sacrament o'n tyfiant 'a'n ymborth ysprydol.

*Atteb* 1. Yr wyf yn *Atteb*, fod hyn yn llwyr ddestrywio ych bedydd babanaidd chwi; oni fyddwch chwi *Presbyteriaid* yn credu mal y mae Eglwys *Lloegr* yn credu, neu o'r lleiaf yn gwneuthur fel y maent hwy yn haeru; sef, fod bedydd yn ailgenhedlu y plentyn; a ydyw bedydd yn ordeiniaid neu Sacrament o adgenhedliaid, hwnny yw yn perthyn i ddynnion a adgenhedlwyd, gnelr yn dal allan fod adenedigaeth yn cael ei weithio yn y gyfryw oll ac sydd yn cael eu bedyddio? pa ham gan hynny yr ydych chwi yn bedyddio babanod, y rhai nid ydynt ddeiliaid o adenedigaeth? a allant hwy farw i bechod, neu a ydynt hwy yn cael eu cyfodi i fynu o'r dwfr i newydd-deb buchedd.

2. Os yw ych babanod gwedi cael eu newydd eni neu eu hail-eni trwy fedydd, yn ddiammeu fe ddylei ymborth y creadur newydd, sef, Swpper yr Arglwydd gael ei roddi iddynt hwy.

Y mae'r Sacrament gyntaf yn dal allan yn amlwg fod y person gwedi cael ei ail-eni neu yn faban grâs; ac y mae'r llall yn ymborth vniawn ac addas i'r dyn hwnnw newydd eni neu a gaedd ei adcenhedlu, fel y gallo dyfu trwyddo; ac fe ymddengis oddiymma nad oes vn o honynt hwy yn perthyn i fabanod.

3. A ydyw'r babanod oll yr ydych chwi yn fedyddio yn cael eu gollwng i mewn megis aelodau o'ch eglwys, a ydynt hwy yn aelodau yn llwyrgwbl o'ch cynulleidfeidd chwi, megis a'u bod gwedi derbyn yr ordinhâad o'u gollyngiad i mewn? A ydyw drws ty Dduw gwedi ei agoryd iddynt hwy ynawr? A ellwch chwi gan hynny (meddafi) naccau iddynt hwy fraint gwîr a chyfreithlawn aelodau? A gaiff ych aelodau bychain chwi, ych wyn ynghorlan Christ, gwedi eu newydd eni, eu newynu? Beth!

ag

ag ni chaiff baban adcenhedlig moi borthi ag ymborth ty ei dad?

4. Os fel hyn, pa nifer o aelodau sydd genych chwi yn ych eglwysi, enwaw pa rai nid ydynt scrifennedig yn ych *Llyfr Eglwysig*, ac fe allei nad ydynt yn amlex yn cael edrych am danynt pan dyfont i fynu, na'i tafsu allan er eu bod yn ddrwg ac yn annuwiol, oblegid a ydych chwi yn tafsu neu yn cau allan y cyfryw blant oll ac a gawsant eu bedyddio, y rhai ydynt yn profio yn annuwiol pan y delont i lawn oedran, ac onide pa fath o eglwysi llygredig sydd gennych chwi; fe ddychymygwyd bedydd babanaidd yn ddiammeu tuag at amlhau eglwysi cenhedlig neu tuag at eu gwneuthur hwynt yn eglwysi cenhedlig, ac y mae efe yn tueddu i amlhau a chynal i fynu y fath grefydd gristnogaidd ac sydd felly mewn enw yn vnig, ac nid mewn nerth; chwychwi yn *Lloegr* o wir anghenrheidrwydd a gollasoch eich ordeiniad cenhedlig, ac yr ydych gwedi myned yn eglwysi ymgynullticdig pa vn ai mynoch neu peidio; eithr ni chytuna bedydd babanaidd ag ordeiniad ymgynullticdig; ac nid yw'r fath eglwysi a seiliwyd felly ac sydd yn dal bedydd plant, yn addef fod eu babanod yn wir ac vniawn aelodau o'u heglwysi cyn belled ac yr wyf i yn gwybod; beth gan hynny a dal ych Sacrament o'u gollyngiaid i mewn, os nid ydynt mewn gwirionedd yn cael eu gollwng i mewn a'u cydnabod megis aelodau, ac yn cael ymborth a Braintiau y cyfryw.

3. 'Yr ydych chwi yn dywedyd, er bod enwaediad 'gynt yn perthyn i fabanod; etto nid oedd yr Oen-'Pasc yn perthyn iddynt hwy ond i'r rhai oeddynt o oe-'dran.

*Atteb*. Yr wyf yn *Atteb*, ein bod ni yn naccau hyn, profiwch os gellwch nad oedd plant bychain yn eglwysi yr Iddewon yn cael eu gollwng i fwytta o'r Oen-Pasc. Fe ddywedir yn eglur, *Exo*. 12. 3. 4. Fod i'r holl deulu fwytta o hono, ie *oen dros pob teulu*; ac yr wyf yn cael awdwr mawr yn haeru yr vn peth, fod plant bychain yn bwytta o hono; yr oeddynt hwy i ddyfod a'u plant vnwaith neu ddwy yn y flwyddyn i fynu ger bron yr Arglwydd; ac nid wyf yn gweled dim sail gennych am ddywedyd nad oedd i neb ond rhai o lawn oedran fwytta mo hono.

2. Eithr bydded y peth fel y mynno, yr hyn ydoedd neu y allei fod yn rhoddi iddynt hawl, o fod

yn

yn aelodau o eglwys yr Iddewon, neu nid oedd yn rhoddi iddynt hawl, nid yw yn rheol ini yn amser yr Efengyl, megis ac y profiais yn ddigonol eisioes, ac y mae'n sicr na ellir rhwystro Swpper yr Arglwydd, heb bechod i neb ac a gawsant eu bedyddio, ac ydynt aelodau rheolus o'r Eglwys Efangylaidd: hyd yn hyn i'ch Attebion i'n gwrthddadlau ni; chwychwi a allasech ddyfod a llawer jawn ychwaneg.

---

# PEN. XX.

*Gan roddi Atteb i ddwysed Bennod ar bymtheg Mr.* James Owen, *ymmha un yr ydys yn rhyddhau y Bedyddwyr oddiwrth y beiau ffieidd hynny y daflodd efe arnynt, ac yn profio nad yw ammau bedydd babanaidd yn bechod, ac nad yw'r rheini yn euog o lofruddiaeth na godineb ac sydd yn bedyddio neu'n soddi gwyr a gwragedd mewn dwfr yn enw'r tâd, a'r mâb, a'r yspryd glân; eithr yr ydys yn profio yn y gwrthwyneb mae arfer anghyfreithlon ydyw bedyddio neu taenellu babanod.*

*CHwychwi a ddywedwch, y bydd i chwi ddatgan yn amlwg yn y Bennod hon pa faint yw eu pechod hwy ac sydd yn cael eu temptio i naccau y bedydd a dderbyniasant yn eu mebyd ac yn gadael eu hunain i gael eu hail-fedyddio; y mae llaweroedd o bobl y rhai nid ydynt yn deall natturiaeth eu bedydd cyntaf, ac yn cael eu gwyro i ymwrthod ag ef, gan dybied i bôd hwy yn rhyngu bodd i Dduw wrth wneuthur felly; eithr y maent hwy yn cwympo i brofedigaeth a maglau i Diafol, yr hwn yw awdwr cyfeiliornad a thâd anwiredd.*

*Atteb.*

*Atteb.* Yr wyf yn gobeithio erbyn hyn fod y darllenydd yn jawn ganfod pa gyfeiliornad mawr ydyw galw taenelliad neu dywalltiad yn fedydd, a bod bedydd babanaidd yn gyfeiliornad mawr hefyd, gan ei fod yn ddychymyg fûr ddynol, mysi a brofais hyn; ac felly y mae cyn belled a bod yn bechod ei wadu ef a'i daflu ymmaith, ac ei fod yn ddyled-swydd ar Gristion da wneuthur felly, yr hwn a fynnei ymmhob peth rodio yn ol rheol gair Duw, ac y mae Mr. *Owen* yn gwneuthur yr un peth wrth farnu ein pobl ni yn y modd hyn, megis pe byddem gwedi cael ein gwyro a'n maglu gan y diafol gan neccau fod ein bedydd babanaidd yn vniawn, ac yr oedd y *Papistiaid* yn arferyd gan farnu y *Protestaniaid* y rhai a wrthodalant draddodiadau dynol a dychymyglon ofer eu heglwys lygredig hwy, a'u hyscymmuno hwynt.

*Yr ydych chwi yn dywedyd i bod hwy yn euog o bechod mawr yn gymmaint a'u bod hwy yn esceuluso arferyd yn vniawn eu bedydd cyntaf; y mae bedydd babanaidd yn eu gosod hwy tan adduned gwastadol i'r Arglwydd, ac y maent hwy yn rhwymedig i adnewyddu eu addunedau, i gymeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt pan gyntaf ac y delont o oedran.*

*Atteb.* 1. Gwir yw chwychwi a ddaethoch a hwy tan rwymedigaeth neu adduned o gymmeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt yn eu mebyd, eithr pa ham y gwnaethoch hyd oni buasei gennych warand ac awdurdod oddiwrth Dduw; oblegid y mae'n bechadurus gwneuthur y fath beth yn ei enw ef heb ei awdurdod.

2. Fe fuasei gwell i chwi aros hyd oni ddaethant i amser dealltwriaeth, ac os mynnech ddyfod a hwynt tan adduned, beri iddynt y pryd hynny fyned mewn cyfammod i gymmeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt, ac yn ddiammeu fe fyddei ar ych plant fwy o fraw i dorri y fath adduned a wnaethant o'u gwir fodd na'r gyfammod neu'r adduned a barasoch chwi iddynt wneuthur yn eu mebyd, at ba vn ni ddarfu iddynt erioed gyttuno; eithr fe allei y byddwch yn dywedyd nad oes gennych ddim sail neu awdurdod oddiwrth air Duw am wneuthur felly; y mae gennych gymmaint bôb ffordd ac sydd gennych am eu bedyddio yn eu mebyd, yr hwn yr ydym ni yn dywedyd nid yw yn fedydd mo hono oll, pa faint llai y mae efe yn wir fedydd Christ; am hynny y mae Duw wrth hynny yn eu rhwymo hwynt na wnaent yr hyn yr ydych chwi

chwi yn ei ddywedyd; eithr ei dyledswydd hwynt ydyw pan y tyfont i fynu, os bydd Duw yn rhoddi ffydd iddynt i daflu ef ymmaith megis traddodiad dynol, a chymeryd arnynt gyfammod fedyddiawl sanctaidd Duw, megis rhai crediniol yn ol Commission mawr Christ.

*Yr ydych chwi yn dywedyd, ych bod chwi yn gweled fod y rhai gwaethaf o blant pan y delont i oedran lleill ai yn anwybodus neu yn anofalus am eu haddunedau bedyddiawl,* &c. *am ba beth yr ydych yn argyhoeddi gweinidogion a phen-teuluoedd gan beidio a dyscu iddynt eu Chatechism a'i athrawiaethu hwynt, ac felly* (meddwch chwi) *y mae Satan yn eu temtio hwynt i fwrw y bai ar eu bedydd,* &c.

*Atteb.* Chwychwi a ellwch weled pa fath beth ofer ydyw dychymyg dynol, pa ddelwad ar gydwybodau dynnion a all y peth hynny wneuthur yr hwn ni orchymynnodd Duw erioed ac ni wnaeth addewid am ei fendithio.

Eithr gochelwch rag i chwi fwrw hwnnw ar y diafol yr hyn a wneir gan Jesu Grist; nid Satan sydd yn ein temtio ni i ddirmygu bedydd babanaidd neu edrych arno megis peth diddym, eithr trwy ddylanwad grasusawl Christ gan agoryd ein llygaid ni yr ydym yn gweled mae defod a dychymyg pur ddynol o fennydd Dyn ydyw; am hynny nyni ai taflasom hi ymmaith ac a aethom tan gyfammod newydd a gwir fedyddiawl, ac y mae llawer eraill yn gwneuthur felly o dydd i ddydd.

*Yr ydych chwi yn dywedyd, ych bod chwi yn appelio at gydwybodau y cyfryw ac a gawsant eu hail-fedyddio pa vn ai bod y peth fel hyn? bydded iw cydwybodau ddywedyd a'u hargyhoeddi hwynt* (meddwch chwi) *oblegid yr esgeulusdra pechadurus hwn na ddarfu iddynt erioed arferyd yn vniawn eu bedydd cyntaf; pe buasent hwy yn derbyn bûdd oddiwrth y cyntaf ni fuasent yn ymwrthod oll ag ef.*

*Atteb.* Mysi a gymmeraf arnaf ych bod chwi yn appelio yn llyn attafi; er na cheisym erioed mo'm ail-fedyddio, ie at fynghydwybod i; ac yr wyf yn mynegu yn gyhoeddus ac yn ficcr gennyf y gall fy mrodyr ddywedyd yr vn peth, mae'r achos paham y darfu ini daflu ymmaith ein bedydd babanaidd neu'n hytrach *daenelliad*, oedd o herwydd i ni gael gweled yn gyflawn nad ordinhâad Christ ydoedd, ac am hynny yr oeddym yn gwybod na allei efe wneuthur dim llês ini.

1. Yr ydych chwi Sr yn cyfeiliorni megis pe bydděch yn breuddwydio fod y rhan fwyaf o'r cyfryw ac a daflafant ymmaith fedydd babanaidd yn bobl o ymarweddiad drwg; a chwi a fynnech honni hefyd megis pe bae'r cyfryw o'ch pobl chwi pan dyfont i fynu, ac ydynt dduwiol ac yn *dewis yr Arglwydd i fod yn Dduw iddynt* i bod yn gwneuthur hyn trwy rinwedd eu hadduned fedyddiawl; nage, nage; ni chaedd honno ddim o'r fâth affaith arnynt hwy, grâs Duw yddynt hwy yn vnig fydd yn effeithio hynny, trwy rinwedd ei yfpryd ef y maent felly; ac y mae'n eglur fod y cyfryw ac fydd gyntaf mewn petrufder oblegid gwirioned bedydd babanaidd yn gyffredinol yn bobl grefyddol a duwiol.

Am hynny nid ydynt hwy o eifieu crefydd neu Zêl tuag at Dduw yn taflu ymmaith fedydd babanaidd, eithr y maent yn gwneuthur felly o ran eu crefydd a'u cariad at Dduw a Zêl iw enw ef, fel na byddont euog o chwanegu dim at ei air ef, neu gymmeryd y fath beth yn lle gwir fedydd Chrift yr hwn nid yw felly; a ydyw yn bechod taflu ymmaith ddychymygion dynnion.

2. *Y maent hwy* (meddwch chwi) *yn euog o bechod mawr gan halogi ordinhâad Chrift; a ydyw yn beth hychain halogi pethau fanctaidd, er bod rhai yn gwneuthur felly trwy annwybodaeth; y mae bedydd yn beth fanctaidd yr hwn ni ddylei gael ei dderbyn ond vnwaith*, vn Arglwydd, vn Ffydd, vn Bedydd, Eph. 4. 4. *am hynny y cyfryw ac fydd yn adnewyddu eu bedydd, fydd yn cymeryd enw Duw yn ofer*, &c.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*; onid ydyw yn bechod mawr cyfnewidio ordinhâad fanctaidd Chrift o fedydd i *daenelliad*, neu yn gymraeg vniawn o foddi yr holl gorph tan ddwfr i dywalltu ychydig o ddwfr ar yr wyneb, ac yn newidio y gwir ddeiliad a Gredadyn i faban; onid ydys fel hyn yn hologi'r ordinhâad fancteiddiaf a'r peth fanctaidd; ac y mae'n ddiammeu yn bechod mawr er ei wneuthur trwy annwybodaeth, o herwydd ych bod chwi yn i taenellu hwynt yn *enw'r tâd, a'r mâb a'r yfpryd glân* heb eu hawdurdod hwynt; ni orchymynnodd Duw erioed i chwi wneuthur felly; onid ydys wrth hyn yn halogi ei enw fanctaidd bendigedig ef; ac yn gymmaint ac yr ymddengis nad oes ond vn bedydd mewn dwfr, ac ni ellwch chwi ammeu ond yr ydych yn addef fod bedydd y credinioI o'r cyntaf gwedi ei ordeinio a'i appwintio gan

Grift;

Grist; yna y mae'n canlyn yn eglur, nad yw bedydd babanaidd yn vn o ordinhadau Christ, nid bedydd Christ ydyw; nid y bedydd vnigol hynny a appwyntiwyd ac a ordeiniwyd ganddo ef ydyw hwn; nid ydym ni yn cydnabod fod ond vn bedydd a hwnnw yw bedydd y credinol; od oes gennych chwi vn arall, edrychwch am dano, oblegid nid oes ond *vn Arglwydd, vn Ffydd, ac vn Bedydd*, Ep. 4. 4.

3. *Y maent* (meddwch chwi) *yn euog o anghrediniaeth, oni bydd i Dduw rag-ddywedyd wrthynt* in totidem verbis, *bedyddiwch ych plant, nid ydynt hwy yn credu; y mae ffydd yn edrych ar bob amnaid oddiwrth yr Arglwydd, a'r ymddangosiad lleiaf o'i ewyllys; yr oedd y wraig yr hon a suasei mewn diferlifsgwaed yn credu pe gallasei hi ond cwrddyd â gwisg Christ y byddei iddi gael ei jachau, er nad oedd ganthi nag addewid, na gorchymyn na siampl neillduol yn ei chynhyrfu i wneuthur felly*, &c.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, a fyddwch chwi yn ein barnu ni o fod yn euog o anghrediniaeth, oblegid na's gallwn gredu fod hwnnw yn wir, am ba vn nid oes gennym na gorchymyn na siampl, ac am ba vn ni ellir tynnu dim canlyniad neu ddibenniad da oddiwrth vn testun o'r scrythur; a chan wneuthur pa beth nid oes gennym ddim addewid; ac nid oes dim bygwthiad oll yn erbyn y cyfryw ac ni wnant mo hono yn Llyfr Duw; y mae hyn yn beth rhyfedd, a raid ini gredu *bedydd babanaidd*, oblegid ych bod chwi ac eraill yn dywedyd mae gwirionedd ydyw; y mae'n rhaid ini ac ni allwn yn ol yr vn rheol goilio'r holl ddefodau pabaidd, chwedlau ofer a ceremoniau; pa adnewyddiadau na all ych ffydd chwi gymeryd gafael arnynt yn ôl yr hyn a ddywedwch yn y man hyn.

2. A oes dim gwahaniaeth rhwng credu ynghrist o ran pethau a berthynant i ffydd, pa rai sydd yn vniawn yn sefyll tan ei addewid ef, a rhwng credu pethau y rhai ydynt yn perthyn at arferiad ac yn llwyr sefyll ar orchymmyn pur pennodol Christ; y mae'n rhaid ini gael rhyw sail neu achos oddiwrth air Duw am gredu mae gwirionedd ydyw'r hyn yr ydych chwi yn ein beio ni am bedio ei gredu; ac yr ydym ni yn gwneuthur yn hyspys nad ydym yn gweled fod gennym ni ddim achos na sail i adeiladu ein ffydd na'n arfer arno o ran bedydd babanaidd; ac a ydym ni yn euog o anghrediniaeth oddiymma? a pha ddifeiriaeth yr

ydych

ydych chwi yn bregethu ac yn gyhoedi i'r byd; chwy chwi a fynnwch im weithredu ffydd ymma yn y tywyll neu gredu mal y mae'r Eglwys yn credu; onid ydych chwi yn chwedleua megis mab *Eglwys Rhufein.*

3. A oedd gan y wraig yr hon a fuasei mewn diferlif-gwaed, na gorchymyn, na siampl nag addewid am gredu y gallei Christ ei jachau hi? A ydych chwi yn credu yr hyn yr ydych yn gwneuthur lliw o haeru; A na welodd hi erjoed ac na chlywodd am vn dyn yr hwn a gaedd ei jachau gan Grist; yn ddiau ni ellwch chwi feddwl mo'r fath beth; ni allasei hi gredu oni buasei ganddi ryw sail dda am hynny; onid oedd hi yn gwybod fod gallu Christ yn fawr; Pe buasem ni yn clywed am vn baban yr hwn a gaedd ei fedyddio gan Grist neu Apostolion ar ffydd ei rhieni, ni fuasem ni y fath rai anghrediniol ac yr ydym yn awr ynghylch bedydd babanaidd.

*Yr ydych chwi yn dywedyd i'r wraig o* Ganaan *ddyfod yn eofn â'i phlentyn at Grist i dderbyn bydd oddiwrtho ef, er nad oedd hi mewn cyfammod weledig â Duw; a Christ a ganmolodd ei ffydd ac a dderbynniodd ei merch, ei ffydd a dorrodd trwy bôb rhwystrau,* Mat. 15. 22, 28.—— *Ei ffydd hi oedd fawr, yr hon yn wrthwyneb i obaith a gredodd mewn gobaith; onid ydyw dy anghrediniaeth di yn fawr yr hwn a ddestrywiaist sail dy obaith oblegid dy blant; Och! Na chwesllyna addewid Duw trwy anghrediniaeth, eithr bydd nerthol mewn ffydd gan roddi gogoniant i Dduw.*

*Atteb* 1. Yr wyf yn *Atteb*, a raid i ni ddyfod yn eofn â'n plant iw bedyddio heb ddim awdurdod oddiwrth Grist, o herwydd i'r wraig o *Ganaan* ddyfod yn eofn atto ef am gael jachau ei merch oddiwrth ei chlefyd corphorol; yr oedd sail ganddi hi am ei ffydd, eithr nid oes gennym ni ddim sail am y fath weithred.

2. A ydym ni yn destrywio sail ein gobaith ynghylch cyflwr ein babanod o herwydd na feiddiwn ni mo'i bedyddio hwynt heb air oddiwrth Grist, neu heb awdurdod oddiwrtho ef; Sr, y mae gennym achos o obaith fod ein plant y rhai sydd yn marw felly mo'r happus a'ch plant chwi, er na chawsant erjoed mo'i bedyddio a hyn hefyd sydd gennym oddiwrth air Duw; oni ddywedodd Christ, *o'r cyfryw rai y mae teyrnas nefoedd:* Duw yn ddiammeu a gynhwysodd fabanod ac sydd yn marw felly yn ei garedigrwydd etholedig tragywyddol, tros parai y rhoddodd

efe hefyd ei fâb, ac y mae efe mewn rhyw ffordd ddirgel yn eu sancteiddio hwynt neu'n eu gwneuthur hwynt yn addas o ogoniant nefol: Ac y mae gennym gymmaint o achos am obeithio y rhoddyff Duw râs i'r cyfryw o'n plant ni ac fydd yn byw, ac fydd gennych chwi am obeithio y rhoddyff efe râs i'ch plant chwi ; a ydyw ych bedydd yn achub ych babanod chwi; a ddywedwch chwi gyda'r *bêndadau cyfeiliornus* ar *Papistiaid deillion* fod bedydd yn golchi ymmaith y pechod dechreuol, y mae'ch ymadroddion yn tueddu y ffordd hynny, y mae arnafi ofn am danoch.

*Oni ddylem ni gredu* (meddwch chwi) *tros ein plant y derbynnia Christ hwynt, a ydyw efe yn ammharotach i weinidogaethu bendithion temmhorol i blant y ffyddloniaid*——

*Atteb.* Gadewch i Grist dderbyn y sawl y fynno ; *efe a gymmeryff drugaredd ar y sawl y gymmero efe drugaredd,* ac a dderbyn a bendithia y sawl ac a dderbynnio ac a fendithio efe ; nid oes dim ammeu nad yw ei rydd râs ef yn cyrhaeddyd at lawer o blant y ffyddloniaid yn awr megis yn yr amser gynt; eithr beth yw hyn i'r Perwyl ; a fynnwch chwi, oblegid iddo jachau rhai plant bychain yn nyddiau ei gnawd o'u clefydiau corphorol, gan hynny i bedyddio hwynt, heb gael derbyn dim awdurdod oddiwrtho ef ; Chwychwi a ellwch os mynnych yn gystal ymresymmu yn y modd hyn sef ; Jesu Grist a ymborthodd lawer o blant bychain âg ymborth temmhorol, pan y porthodd efe y dyrfa, am hynny y mae'n rhaid iddynt ddyfod at fwrdd yr Arglwydd a chael eu porthi ag ymborth ysprydol ; a ydyw'r fâth ymresymiad a hyn yn gweddu i wr call a dyscedig.

3. 'Y maent hwy (meddwch chwi) yn euog o falchder felly
'yr ydych yn barnu am danynt hwy ac fydd yn naccau be-
'dydd babanaidd ; y mae'r dyn gostyngedig yn darostwng
'ei hunan i bôb datcuddiad o ewyllys Duw (meddwch
'chwi) Duw a adawodd laweroedd o bethau yn dywyll
'yn y scrythur, fel y byddei ini eu chwilio hwynt a barnu
'yn isel am danom ein hunain ; y rhai ydym yn gwybod
'pethau yn vaig yn rhannol, gan weled trwy ddrych mewn
'dammeg ; onid ydyw'n falchder mawr i ddyn gwael gym-
'meryd arno ddyscu i Dduw pa fodd yr oedd iddo ef lefa-
'ru yn ei air, bydded i'r Arglwydd ddywedyd ei feddwl
'yn eglurach ynghylch bedydd plant ac onide ni chredwn
'ni mo hono, medd rhai ; onid ydyw hyn yn ymresymiad
'balcher

balcher calon Dyn; y mae'r galon ddifalch yn chwilio'r 'scrythurau ac yn ystyried y naill scrythur â'r llall gan 'gredu cyttundeb yr hên destament â'r newydd, a chan 'ofni pôb llwybr di-ôl a dyrys; y mae gwirioneddau 'mawr megis trysor dirgel ym maes y scrythur yr rhai 'y mae'r gostyngedig yn chwilio am danynt ac yn cael 'cwrdd â nhwy, eithr y mae'r balch yn eu dirmygu ac yn 'myned hebddynt.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, a ydyw'n falchder ynom ni beidio a chredu fod hynny yn wîr na chaedd ei ddatcuddio mewn vn man yn y scrythur; neu onid ydyw'n ffolineb ynoch chwi gredu fod y fath beth o appwyntiad Duw, ac etto yn ôl chwilio cyn ddyfaled ac y gellir yngair Duw ni ellir cyfarfod â dim tuag at brofio fod y peth felly.

2. Oblegid bod rhai pethau yn faterion ffydd (yr wyf yn dywedyd drachefn) neu rai o wirioneddau'r efengyl yn dywyll ac wedi eu rhoddi mewn dammegion tywyll yn y scrythur lân, a ydyw gan hynny yn canlyn fod vn o ordeinhadau mawr Efangylaidd Christ, ie vn o'r Sacramentau mawr (mal yr ydys yn eu galw) yn sefyll mo'r dywyll a chuddiedig ynddi hefyd; y mae hyn yn beth rhyfedd; *Moses* yr hwn a roddodd allan gyfreithiau'r hên destament oddiwrth Dduw megis gwâs, a wnaeth bôb peth yn eglur; hynny yw, efe a ddangosodd iddynt yn eglur beth oedd y gorchymyn a'r athrawiaeth, *felly ac y byddei iddo ef yr hwn oedd yn rhedeg allu i darllen hi*; ac a fydd i vn dyn dybied y byddei i'n Harglwydd Jesu *yr hwn oedd ffyddlon megis mab tros ei dy ei hun*, fod yn llai ffyddlon, a gadael ordinhâad mo'r dywyll a chuddiedig; yn gymmaint ac nad oes na gorchymyn na siampl yn yr holl destament newydd am y fath beth: A roddodd Christ allan erioed orchymynnion Efangylaidd mewn dammeglon tywyll, *Rhyfedded yr wybren wrth hyn*.

3. Yr ydym ni yn dywedyd am fedydd babanaidd na osodwyd i lawr mo hono ef yn vnig yn dywyll ac anamlwg yn y scrythur, eithr yr ydym yn haeru yn ofn sanctaidd yr Arglwydd na ellir cyfarfod ag ef oll yno; ac fe all pawb weled na ellwch chwi brofio ei fod; pe buasei Duw yn ei fynegu ef yn y modd tywyllach, nyni a fuasem yn ei derbyn ef; eithr o herwydd na ddatcuddiodd efe nag yn eglur nag yn dywyll mae ei ordeiniad ef ydoedd, yr ydym ni yn ymwrthod ag ef, ac ni chawn ein barnu

am fod yn falch gan wneuthur felly; y mae arnaf ofn i fod yn rhy eglur i chwi gael eich gadael yn y matter hwn gan yr Arglwydd i roddi coel i gelwydd, ac fe allei, oblegid na fynnwch gredu neu dderbyn y datcuddiad eglur o fedydd y crediniol; er nad oes vn gwirionedd yn cael ei gynnwys yn fwy eglur ac amlwg yngair Duw.

4. A ydyw'n falch-der ynoch chwi oblegid nad ydych yn cydnabod y *weddi gyffredyn*, a'r defodau o *ymgroesi mewn bedydd*, a *thadau bedydd* a *mammau-bedydd*? fe allei nad ydych yn coelio'r pethau hyn, eithr nid o herwydd iddynt gael eu gadael yn dywyll yn y fcrythur, eithr o herwydd eu bod yn ddychymygion dynol yn vnig, ac heb fod yn y fcrythur oll.

*Yr ydych chwi yn dywedyd na fyddwn ni yn credu oni ddangofwch chwi ini ryw orchymyn neu fiampl eglur am fedydd babanaidd, ei fod ef oddiwrth Dduw; eithr pe na buafei na gorchymyn na fiampl (er fod y ddau am fedydd plant) od oes canlyniadau fcrythurol yn dangos y dylent hwy gael eu bedyddio, y mae hynny yn ddigonol er bodloni y chwiliwr goftyngedig; oni chawedd Chrift enau'r* Saduceaid *yngbylch adgyfodiad o'r meirw trwy ganlyniad fcrythurol*, Mat. 22. 32.

*Atteb*. Yr wyf yn *Atteb*, onid ydys yn ein gorchymyn ni beidio a chredu fod hynny yn wîr, am ba vn nid oes na gorchymyn na fiampl; pa ham nad ydych chwi yn arfer ymgroefi mewn bedydd, nag olew na mêl ychwaith fel y mae'r *Papiftiaid* yn gwneuthur? onid yr achos ydyw, oblegid nad ydych yn cyfarfod ag vn gorchymyn neu fiampl am y fath bethau.

2. Y mae'n rhyfedd fod gennych orchymyn a fiampl am fedydd babanaidd yn y fcrythur lân, ac etto ni ellwch gyfarfod ag vn o honynt; neu onide ni all neb gwrdd â hwynt ond chwychwi eith hunain.

3. Ond pe gallech ddyfod â chanlyniadau têg oddiwrth vn teftun am dano, megis ac y gwnaeth ein jachawdwr tuag at brofio'r adgyfodiad, nyni a'i derbyniem ef yn barodol; eithr myfi a ddangofais nad yw'ch holl ganlyniadau yn gwneuthur dim i'r perwyl, eithr pe buafech yn dywedyd y gwîr; ni fuafei raid i chwi redeg at ganlyniadau a gymmerwyd o hîr-bell.

4. 'Y mae'r rhai hyn fydd yn wrthwyneb i fedydd plant '(meddwch chwi), ac yn derbyn ail-fedydd yn euog o an'gharedigrwydd mawr, *Chariad* fydd yn cyflawni y gy'fraith, 1 *Tim*. 1. 5. a chariad hefyd fydd ddibenniad yr

efengyl

'efengyl, ac am hynny nyni a ddylem fod yn gochelyd pôb
'barn ac fydd yn deftrywio cariad; eithr y farn hon ac
'fydd yn naccau bedydd plant fydd farn anghariadus jawn;
'onid yw hono yn farn anghariadus yr hon fydd yn taflu
'plant allan o deulu Duw, o ba vn yr oeddynt aelodau
'tros rai miloedd o flynyddoedd; onid ydyw yn farn
'anghariadus yr hon fydd yn eu hyfgymmuno hwynt allan o
'eglwys Duw.

*Atteb* 1. Yr wyf yn *Atteb*, pe byddech yn gallu profio fod bedydd babanaidd yn wirionedd Duw, fe fuafei gennych achos i'n cyhuddo ni; eithr fe all y darllennydd weled na ellwch wneuthur felly.

2. Ac ni ellwch chwi brofio i fabanod erjoed gael eu derbyn megis aelodau o'r eglwys Efangylaidd, am hynny yr ydych yn ein camfarnu ni, gan ddywedyd fod ein barn ni yn eu taflu hwynt allan neu yn eu hyfgymmuno hwynt o honi.

3. Gochelwch rhag i chwi gael ych cymeryd ryw-ddydd yn wr heb gariad tuag at Grift ei hun, yr hwn fydd vnig adeiladwr o i deml Efangylaidd a'r hwn yn ei ddoethineb ni welodd fod yn dda gymeryd i mewn yr hâd cnawdol iw eglwys Efangylaidd, megis ac y cawfant eu derbyn i mewn i *eglwys gyfcodawl a chyfreithlon* yr Iddewon.

*Yr ydych chwi yn honni i ni hyfgymmuno hwynt, a hynny heb achos, cyn iddynt wneuthur dim ac oedd yn haeddu y fath farn galed a hon; onid ydyw hon yn farn ddi-gariad yr hon fydd yn gommedd iddynt yr vn lle yn y gyfammod o râs tan yr efengyl, ac oedd ganddynt tan y ddeddf; onid ydyw honno yn farn anghariadus yr hon fydd yn gwneuthur eu cyflwr yn waeth er dyfodiad Chrift nag yr oedd o'r blaen; mewn vn gair* (meddwch chwi) *onid ydyw'n farn anghariadus, yr hon fydd yn naccau iddynt hwy ran yn yr addewid*, Actau 2.39. *Onid ydyw Duw yn Dduw i hâd y ffyddloniaid; pa obaith gan hynny a allwn ni gael am eu jechydwriaeth.*

*Atteb.* 1. Nid oblegid pechod ac anhaeddiant babanod y peidiodd Duw a'i derbyn hwynt mal aelodau o'r eglwys Efangylaidd; eithr ei ewyllys arbennig ef nid oedd yn gwneuthur felly; ac ni ellwch chwi brofio fod hyn yn ddim colled yfprydol i'n babanod ni.

2. Duw yn yr vn faint a daflodd allan feibion gweinidogion yr efengyl (megis y cyfryw) fel na chaffent ran

 yn y

yn y weinidogaeth; yr hwn, chwi a wyddoch, fod ganddynt tan y ddeddf; oblegid yr oedd pôb mâb offeiriad pan y tyfei efe i fynu yn perthyn at yr offeiriadaeth; ac yr ydys yn gommedd hyn i'n meibion ni megis y cyfryw; fe all vn arall ddywedyd; pa bechod a wnaeth ein meibion gan fod yn naccau iddynt y braint mawr hwn gwedi dyfodiad Christ; ac hefyd pa ham na-chai ein plant addewid o *Canaan oddiallan*, mal yr oedd gan blant *Israel* tan y ddeddf, beth a wnaethant hwy tuag at haeddu'r colled hyn?

3. Nid ydym ni yn gommedd i fabanod yr vn braintiau a'r lle yn y gyfammod o râs ac oedd ganddynt erjoed; na atto Duw; nid oes dim ammeu nad oes gan ein plant yr vn lle yn y gyfammod honno, ac oedd gan blant y ffyddloniaid tan y ddeddf; ie hwynt hwy a'r cyfryw oll o'n plant ac sydd oddifewn etholedigaeth Grâs, y mae ac fe fydd ganddynt fendithion safadwy haeddedigaethau Christ a'r gyfammod anghyfnewidiol dragwyddol honno; eithr yr ydym-ni yn dywedyd nad ydynt hwy oddifewn y gyfammod *neillduol* honno a wnaeth Duw â hâd naturiol *Abraham*, megis y cyfryw; ac felly nid ydynt gyfrannogion o'r defodau oddiallan a braintiau'r eglwys Efangylaidd neu'r creadigaeth newydd hyd oni chredont ac y caffont eu galw gan yr Arglwydd yn ôl yr addewid honno yr ydych chwi yn nodi, *Act.* 2. 39.

4. Pa swn yr ydych chwi yn wneuthur ynghylch colled mawr ych babanod yn ôl yn barn ni; Gwaefi, ni ellwch mo'i brofio neu ddangos fod iddynt ddim colled gwîr ysprydol oddi ymma; y mae gan ein plant yr vn rhyw fendithion ysprydol ac oedd ganddynt erjoed; ac y mae Duw yn gymmaint yn Dduw i'n hâd ni mewn ystyr ysprydol ac yr oedd erjoed i hâd y ffyddloniaid; y cwbl ac yr ydym ni yn ei ddywedyd sydd fel hyn, sef nad oes gan ein babanod ddim hawl i'r ordinhâad oddiallan o fedydd, na neb ond y crediniol yn vnig; ac attolwg pa gamwedd yr ydys wrth hynny yn wneuthur a hwynt, a adawyd ni gan hynny heb ddim gobaith am jechydwriaeth ein babanod y rhai sydd yn marw felly; beth a dal ini roddi i'n babanod megis y cyfryw, yr arwydd, yr rhai nid oes ganddynt y peth a arwyddocceir wrtho; chwychwi a fynech iddynt gael y plifcyn y rhai nid oes ganddynt y cnewyllyn; ac o herwydd na fyddwn ni yn rhoddi iddynt y naill hyd oni roddo Duw iddynt y llall, yr ydym ni yn cael ein beio megis pe byddem yn ddi-gariad; pa ddaioni y wnaeth bedydd *Simon Magus*

iddo

iddo ef; a achub bedydd ych babanod; ac os ydyw holl hâd y ffyddloniaid (mal yr ydych chwi yn dywedyd) oddifewn y gyfammod o râs; y maent hwy yn ddiogel ddigon pa vn a'i caffont eu bedyddio neu peidio; ni allwn ni ddyfod â nhwy i'r gyfammod honno na'i taflu hwynt allan o honi.

5. Ac ynawr attolwg Sr, cymmerwch arnoch tros vnwaith wneuthur mwy nag y wnaeth ych holl frodyr o'ch blaen chwi, sef, profio pa fendithion ysprydol neu demmhorol y mae'ch plant yn dderbyn trwy ei bedydd lledrithiog; Mr. *Burkit* a ddechreuodd wneuthur hyn, eithr efe a gaedd ei *Atteb*, ac nid yw yn dywedyd ychwaneg, ac yr wyf yn bwriadu er mwyn *y Britaniaid benaidd anrhydeddus*, tuag at ba rai yr oedd gennym bôb amser gariad mawr a pharch, gymeryd ychydig o boen i scrifennu drachefn resymmau Mr. *Burkit* ar yr achos hyn a'm hattebion iddo yn y man.

6. Y mae'n eglur nad yw bedydd yn gweithio grâs ynddynt hwy na'i anfodd ef; nid yw yn newidio eu calonnau, nag yn cymmeryd ymmaith y pechod dechreuol; gwîr yw Duw a all wneuthur hyn; ie, ac yn ddiammeu y mae Duw yn cyfnewidio calonnau'r fath fabanod ac sydd yn marw ac a fyddant gadwedig; eithr profiwch os gellwch fod eu bedydd hwy yn gwneuthur hyn; ac yno pa fraintiau eglwysig oddiallan y mae'ch babanod (megis y cyfryw) yn dderbyn, ac sydd meddwch chwi, yn cael eu bedyddio; ni fyddwch chwi, yn eu cydnabod hwy yn lle *brodyr a chwaerydd* hyd oni byddont yn cael eu ymchwelyd; ni fynnwch roddi iddynt Swpper yr Arglwydd, hyd oni byddont gwedi dychwelyd at yr Arglwydd; nid ydynt hwy trwy ordeiniad yr Arglwydd yn cael eu dwyn tan ddim rhwymedigaeth wrth eu bedyddio; ac y mae'n eglur fod cyn lleied o'ch plant chwi yn myned yn dduwiol ac sydd o'n plant ninnau; dangoswch pan scrifennoch drachefn pa fendithion neu fraintiau y mae'ch plant yn dderbyn wrth eu *taenelliad* neu fedydd, mal yr ydych yn ei alw ef. Pa eisieu cariad gan hynny sydd ynom ni gan naccau i'n babanod y peth hynny, yr hwn ni ellwch chwi brofio, pe bae efe ganddynt, y gwnai iddynt ddim math o ddaioni.

Ie Sr, myfi a brofiaf cyn y byddo imi ddarfod â chwi, y gall ac i fod efe, mae arnaf ofn yn gwneuthur llawer o ddrwg iddynt.

5. *Y rhai sydd yn erbyn bedydd babanaidd ac ai ei adnewyddu ef* (meddwch chwi) *ydynt yn euog o aniolchgarwch mawr tuag at Dduw; y mae aniolchgarwch yn bechod mawr yn erbyn yr Arglwydd ( fel y gwyddom ) y mae aniolchgarwch am fendithion daiarol yn annog Duw i ddigofaint*, Rhuf. 1. 21. Luc. 17. 17, 18. *Pa faint mwy am fendithion a breintiau ysprydol onid ydyw yn aniolchgarwch mawr ynom ni ddirmygu ein enedigaeth-fraint: y mae'r scrythur yn dodi nôd gwradyddus ar* Esau, *&c.*

*Atteb.* Nid yw hyn oll ddim i'r perwyl, yr ydych yn beggian y peth yr ydym yn ymryson yn ei gylch, sef fod bedydd babanaidd yn ordinhâad Christ ac yn enedigaeth-fraint, yr hyn beth yr ydym ni yn llwyr wadu; o herwydd os bedydd sydd enedigaeth-fraint yn ol gorchymyn pennodol Christ, y mae efe yn perthyn yn vnig i'r ail-enedigaeth ac nid i'r cyntaf.

'Yr wyt yn euog o bechod mawr (meddwch chwi) 'wrth wneuthur gwahaniaeth ynghorph Christ; vn corph 'ac vn bedydd y sydd *Eph*. 4. 4, 9. ac ni ellir gwahanu 'mo honynt, gan gymmaint ac pan yr wyf yn naccau y 'cyntaf yr wyf yn torri ymmaith vndeb y corph hwnnw 'i ba vn y mae Christ yn ben; yr wyt yn torri dy hunain ymmaith oddiwrth y wynwydden ac yn gwywo mal 'canghen anffrwythlon, yr hon ni bydd gwêll, er iddi ga'el ei dwfrhau drachefn: Yr wyt yn torri dy hunan 'ymmaith nid oddiwrth y gynnulleidfa hon neu arall yn 'vnig, eithr oddiwrth yr eglwys Gatholig ymmhôb oes 'a gwlâd ar wyneb y ddaiar; yr hon sydd gwedi ei glanhau â golchiad Dwfr trwy y gair, *Eph*. 5. 26. ac yn parhau mewn vndeb bedydd; a elli di dybied fod hyn yn 'bechod bychan ynotti gan rwygo dy hunan ymmaith oddiwrth gorph Christ, er bod *dyfroedd lladradaidd yn felys* 'ar yr amser hyn a *bara a fwytawyd mewn lle dirgel yn hyfryd*, gwybydd a gwêl y bydd yn beth drwg a chwerw iti 'yn y diwedd daflu dy hunan allan o eglwys y Duw byw, 'colofn a sail y gwirionedd.

*Atteb.* 1. Yr wyf yn *Atteb*, nad oeddwn hyd ni ddaethym i'r man hyn yn amgyffred pa fath o yspryd chwerw sydd gennych; Och! na byddei Duw yn ymddangos ac yn rhoddi i chwi wêll calon; Pwy sydd yn angharia-dus ynawr? Os ydyw, cariad yn rhwymyn perffeithrwydd;

wydd; pa mor ammherffaith ydyw fy mrawd *Owen*; a raid ini oll y rhai ydym yn naccau bedydd plant gael ein difarnu megis rhai ac a gawsant eu llwyr daflu ymmaith, ac heb fod yn cael edrych arnom yn gymmaint a bod yn aelodau o'r eglwys gyffredin; y mae'n dda nad ydyw ar y'ch llaw chwi ein gwneuthur ni a'n plant yn llwyr wrthodedig.

2. Eithr arhoswch ychydig; a ydyw pawb ac sydd yn cydnabod bedydd babanaidd neu a gawsant eu bedyddio ymmhob oes a gwlâd o'r byd, yn gorph Ghrist ac eglwys y Duw byw? a ydych chwi yn addef yr eglwys babaidd onid ydyw *eglwys Rhufein* yn ôl ych barn chwi er hynny yn rhan o gorph Christ? ac onid ydych chwi mewn vndeb â'r eglwys hynny a'r holl eglwysi ac sydd yn addef bedydd babanaidd, yn yr holl fyd? y mae'n canlyn fod yn rhaid i'r peth fod felly. Yr wyf yn tybied *Fritaniaid Anrhydeddus* i bod yn amser i chwi edrych tuag at y gwr hwn â lygad drwg-dybus, oblegid os nid yw efe mewn cymmundeb gweithredol ag *Eglwys Rhufein*, etto y mae ei wyddorion ef yn tueddu iddo fod felly; oblegid fe debygit i fod ef yn addef fod yr holl eglwysi yn gorph Christ y rhai a gawsant neu ydynt yn cael eu bedyddio yn eu mebyd; ie a bod yr eglwysi hynny a neb eglwysi eraill yn gwneuthur i fynu holl eglwys ddirgel a chyffredin Duw, fe debygir i fod ef yn gwneuthur yn rhai gwrthodedig yr holl Gristnogion hynny ac ydynt yn naccau bedydd babanaidd ac wedi eu dadgyssylltu oddiwrth ei eglwys gyffredin gatholig ef o fabanod ac a gawsant eu bedyddio; yr wyf yn gwybod fod ei frodyr anrhydeddus ef yn *Llundain* yn bobl a mwy o gariad ganddynt, ac yn ffieiddio y fath bethau ac a osododd efe i lawr yn y man hyn; nid wyf yn gallu tybied fod ei wyddorion ef yn caniattau jechydwriaeth i neb ac nid ydynt mewn vndeb â'r eglwys weledig gyffredin yr hon sydd yn arddael bedydd babanaidd; y mae'n amser taflu ymmaith y ddelw hon.

3. Sr, a ydyw'n bechod ymwthod ag eglwys *Rhufein* neu eglwys *Lloegr*, neu beidio ac ymaros yn eu cymmundeb hwy; onid ydych chwi gan hynny yn vn a neilltuodd eich hunan oddiwrthynt hwy ill dwy, ac oddiwrth y ddiweddaf yn fwy enwedigol; yr wyf yn tybied ych bod chwi yn addef i bod nhwy ill dwy yn wîr eglwysi, er i chwi ryddhau ych hunan rhag bod yn euog o *ymraniad* ffieidd;

o her-

o herwydd chwychwi a wnaethoch wahaniaeth yn y corph hynny, yr hwn yr ydych chwi yn addef fod yn gorph Crist ac eglwys y Duw mawr; a all y perhau hynny am ba rai y gwnaethoch y gwahaniaeth hyn gyfiawnhau ych *ymraniad* chwi. Sr, er ein bod ni yn credu fod amryw o Gristnogion grasusawl a sanctaidd oddifewn cymmundeb eglwys *Lloegr*, a'i bod hwy yn aelodau o'r eglwys gyffredin anweledig, etto nid ydym ni yn credu, fod eglwys *Lloegr* nag vn eglwys genhedlig arall, yn eglwys weledig drefnus Jesu Grist, ac am hynny y darfu ini neilltuo ein hunain oddiwrthynt hwy; eithr fe ymddengus nad ydych chwi yn credu yn y modd hyn.

4. Y mae'n debyg fod ych barn chwi fel hyn, sef, na ddichon vn dyn fod yn aelod o'r eglwys gyffredin gatholig, yr hwn ni chaedd ei fedyddio ac felly ei vno â hi yn ei lebyd, neu ei daenellu pan yr oedd o oedran, hynny yw, y mae'n rhaid iddo ef cydnabod bedydd babanaidd; Sr, ni chyfarfyddais i erioed â gwr yn gyffelyb i chwi hyd ac yr wyf yn cofio a llai o gariad ganddo, etto yr ydych chwi yn gwaeddi yn ein herbyn ni am eisieu cariad.

5. Yr wyf i'n haeru mae'r vnig fedydd ac sydd yn vno neb â'r eglwys weledig (nid â'r eglwys gyffredin) ydyw bedydd y crediniol, ac nid bedydd babanod; a thuag at brofio hyn cymmerwch y rhesswm hwn.

*Od oedd y bedydd hwnnw a weinidogaethwyd gan yr Apostolion, ac ar ba vn y derbynniasant hwy bawb i'r eglwys weledig yn fedydd rhai o oedran neu'r crediniol yn vnig, yna bedydd y rhai oeddynt o oedran neu'r crediniol yn vnig, yw'r bedydd vnig hwnnw ar cyntaf; Eithr y bedydd a weinidogaethwyd gan yr Apostolion, oedd fedydd y rhai oeddynt o oedran neu'r crediniol; am hynny bedydd y rhai oeddynt o oedran neu fedydd y crediniol, ydyw'r bedydd vnig hwnnw a'r cyntaf o eglwys weledig Christ.* O herwydd yr aelodau hynny o'r eglwys weledig yn y prif amseroedd y rhai a gawsant eu golchi mewn dwfr bedyddiawl a wnaethant broffes o'u bod hwy yn cael eu golchi hefyd yngwaed Christ; a'r cyfryw ac oeddynt yn ddiragrith a gawsant y peth a arwyddoccawyd yn gystal a'r arwydd, pan y cawsant eu bedyddio; eithr ni wnaeth babanod erioed mo'r fath broffes; am hynny bedydd babanaidd nid oedd yr vn bedydd hwnnw a chyntaf yr hwn a adawodd Christ yn ei eglwys.

6. Gwir

6. Gwir yw, y mae'r cyfryw ac nid ydynt yn arddael bedydd babanod yn gommedd cymmundeb yr eglwys genhedlig o ba vn fe allei yr oeddynt hwy vnwaith, eithr nid yw hyn yn gwneuthur ymryſſon ynghorph dirgel Chriſt, nag mewn eglwys Efangylaidd yr hon a gaedd ei hordeinio yn vniawn; y mae'n ddyledſwydd arnom ddyfod allan oddiwrth bob eglwys gyfeiliornus, Dewch allan o honi fy mhobl, *Datc.* 18. 4.

7. Os yr ordinhâad honno yw bedydd trwy ba vn yr ydym yn cael ein huno â'r wir eglwys weledig, ac od yw bedydd Chriſt y bedydd hynny o'r crediniol, yna y mae Mr. *Owen* wrth naccau bedydd y crediniol, mor euog o bechod wrth rwyſtro yr vndeb hwnnw, a chan rwyſtro cymmaint ac y gallo ef y crediniol iw bedyddio ac felly iw huno â'r gwir eglwys weledig Chriſt, megis y cyfryw, a'r rheini ac ſydd yn gwahanu oddiwrthi, ac a ydyw hwn yn bechod bychain? eithr bedydd y crediniol ydyw'r ordinhâad hynny ac ſydd yn vno; ni all vn dyn heb fedydd, a'r wneuthur proffes o'r ffydd yn ol rheol yr efengyl gael ei vno â gwir eglwys weledig Chriſt; ac y mae'n beth enbydus gyda chwi rwyſtro dynnion rhag vno a gwir eglwys neu eu rhwygo hwynt oddiwrthi, eithr nid yw felly am ymadael ag eglwys gyfeiliornus.

8. Fe ymddengis hefyd nad yw ein gwahaniaeth ni oddiwrth 'r Eglwyſi hynny y rhai ydynt yn ſefyll ar fedydd babanaidd, ond gwahaniaeth oddiwrth y fath eglwyſi y rhai ni chawſant eu caſclu neu hordeinio yn drefnus yn ôl rheol yr efengyl ac ordeiniad Jeſu Griſt ac am hynny nid yw'n bechod i ni wneuthur felly.

9. Ie, ac y mae'n eglur, fod y rhan fwyaf o eglwys cyffredin catholig Mr. *Owen* yn *angbriſtnogaidd*; oblegid yr wyf yn tybied nad oes neb yn ammeu nad yw'r *eglwys babaidd* yr hon a ſeiliwyd ar fedydd babanaidd yn fwy o ran nifer na'r *eglwyſi Proteſtanaidd*, er bod yn rhaid i eglwys *Rhufein*, mal y mae efe yn mynegi, fod yn rhan fawr o'r eglwys gatholig neu eglwys y *Duw byw*.

10. Ac yn ddiweddaf; y mae Mr. *Owen* yn cyfeiliornu; y dyfroedd o ba rai yr ydym ni yn yfed, yr rhai ydym yn cynnal bedydd y crediniol, nid ydynt *ddyfroedd lladradaidd*, eithr dyfroedd ac a gawſom ni yn gyfiawn y rhai a gymmerwyd allan o ffynnon mawr gair Duw, ac ydynt ran o ddyfroedd cyſſegr Dduw, ac am hynny y maent hwy yn

felys

felys i'n heneidiau, a'n bara ni sydd oddiwrth fwrdd ein tâd ein hun, yr hwn nid yw ddim peth arall ond yr hyn ac yr ymborthodd holl blant Duw arno yn yr amseroedd prif Apostolig; ac fe all ei ddyfroedd lledradaidd ef o fedydd babanaidd fyned yn chwerw yn y diwedd er ei ffrôst ofer ef; eithr edryched efe at hynny; fe allei y bydd Duw yn agoryd ei lygaid ac yn peri iddo chwydu ef i fynu trwy edifeirwch, pa beth y fyddei da gennyf glywed.

'Yr ydych chwi yn dywedyd fod y gwahaniaeth hwn 'yn debyg iawn i hwnnw o'r *hên Ddonatiaid* (*Donatists*) 'y rhai oeddynt am ail-fedyddio, oblegid i bod hwy yn 'cyfrif y rheini yn bechaduriaid ac a'i bedyddiodd hwynt o'r 'cyntaf, *&c.*

*Atteb.* Yr wyf yn dywedyd wrthych drachefn ein bod ni cymmaint yn erbyn ail-fedyddio ac y gellwch chwi fod; eithr nid oes gennych chwy rannau sylweddol bedydd yn gystal o ran ffurf bedydd a'i ddeiliaid ef; nid yw taenelliad yn fedydd, a babanod nid ydynt wîr ddeiliaid o fedydd Christ ond y crediniol yn vnig.

Yr ydych yn myned rhagoch yn y blaen i roddi allan o Histori farn yr hên dadau ynghylch ail-fedyddio fel hyn, meddwch chwi, 'Y dywed *Optatus*; *& quid vobis visum est, 'non post nos, sed post Trinitatem baptisma geminare?* Pa ham 'yr ydych chwi yn ail fedyddio nid yn ein hôl ni on yn ôl 'y drindod. *Opt. l. 6. tu dalen 51. l. 5. tu dalen 61. Quicunque a 'vobis se re-baptizandi*, &c. Pwy bynnag ac a fyddo foddlon 'i gael ei ail-fedyddio gennych, y mae efe yn ddiau yn ad-'gyfodi i fynu yn noeth o herwydd iddo adael i chwi gymme-'ryd ymmaith ei wisg priodas.

Y mae *Augustine* yn dywedyd, '*Revera enim fieri potest ut 'scelerator sit re-baptizator totius hominis quam solius corporis 'interemptor, Aug. ad Elusium*, Ep. 16. 3. Y mae'n possibl 'y gall efe yr hwn sydd yn bedyddio'r holl ddyn, fod yn 'waeth nag efe yr hwn sydd yn lladd y corph yn vnig— 'trachefn *Rebaptizare Hæreticum hominem omnino peccatum est 'immanissimum, &c.* y mae'n bechod ail-fedyddio Hæretic; 'eithr os bedyddier dyn catholig, neu vn yr hwn sydd 'mewn vndeb â'r eglwys gyffredin, y mae hyn yn bechod 'ffieidd. *Aug. de vnico Bap. Pen.* 13. Os dywed neb, yr 'ydym yn baru fod y geiriau hyn yn eiriau rhy galed, by-'dded iddynt ystyried mae geiriau *Augustin* ydynt ac nid

'fyng-

'syngeiriau i; yr wyf yn eu gosod i lawr tuag at ddan-
'gos barn yr hên eglwys ynghylch ail-fedydd.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, nid yw'r siamplau hyn yn ein drygu ni, oblegid fe ymddengis oddiwrth y nodau hyn ill dau i'r dynnion a ail-fedyddiwyd gael eu soddi yn gyntaf pan y bedyddiwyd hwynt, ac a allent fod yn rhai credini-ol hefyd; oblegid yn y lle cyntaf, nid yw'r gair hynny sef *adgyfodwyd i fynu* yn cynnwys dim llai, gan arwydd-occau iddo ef gael ei gladdu mewn dwfr; ni ellir dy-wedyd am ych babanod, pan yr ydys yn eu bedyddio hwynt (mal yr ydych chwi yn ei alw ef) i bod hwy yn *adgyfo-di i fynu*, y mae geiriau *Augustin* yn cynnwys yn eglur fedyddio 'r holl gorph; *yr hwn* (medd efe) *a fedyddio'r holl ddyn*, eithr yr ydych chwi yn taenellu yn vnig, ac nid yr *holl gorph* eithr yr *wyneb yn vnig*. Y mae'r pethau hyn yn wrthwyneb i'ch tywalltiad neu'ch taenelliad chwi.

Eithr yn gymmaint a'ch bod chwi yn gwneuthur cym-maint o swn ynghylch *ail-fedyddio*, ac y mynnwch ein bod ni y fath dynnion ac yr ydys yn ein cam-cyhuddo ni o fod sef *Ail-fedyddwyr*; mysi a gâf ddangos i chwi yn awr hefyd farn rhai o'r hên dadau a diseinwyr diweddar ynghylch gweini-dogaethu bedydd eil-waith.

Y mae *Gregori* yn dywedyd, *l.* 1. *Ep.* 7. *Nid ydyi yn dywedyd i'r peth hynny gael ei ail-wneuthur, yr hyn ni ellir dangos yn sicer iddo gael ei wneuthur yn vniawn ac yn addas.* Ac efe a ddywed mewn lle arall; *Os bydd neb yn tram-gwyddo wrth y gwirionedd, y mae'n well cymmeryd y tramgwydd hynny, nag y byddei i'r gwirionedd gael ei wrthod; arferion yr eglwysi a ddylent ymostwng i eiriau Christ, ac nid geiriau Christ i gael eu gwrthdroi ar arfer yr eglwys; yn gymmaint a bod geiriau Christ yn sail a'r ba vn y mae'r arferion i gyd i gael eu ba-deiladu.* Hom. 7. a'r Ezechiel.

*Cyprian* sydd yn dywedyd, *Y mae'n fwy addas i'r call a'r cyfryw ac sydd yn ofn Duw, i vfyddhau'r gwirionedd eglur ac agoryd yn ewyllyscar ac heb aros; na'i wrthsefyll ef yn gyndyn ac yn ben-drwm.* Cyprian Ep. ad Jubiam, gwelwch Dr. *Du Veil* a'r *Actau Pen.* 2.

*Y mae* Scotus (medd Dr. *Du Veil*) *gwedi iddo annog barn* Alexander *y trydydd ynghylch bedyddio y cyfryw, am ba rai yr oeddynt yn betrus pa vn ai bôd hwy gwedi cael eu bedyddio neu peidio, yn cymmeryd yr achos hwn i ymmannerch tri rheol*, y cyntaf sydd fel hyn.

Pa

*Pa le y mae possiblrwydd, y mae'n rhaid dewis y ffordd ddiogelach.*

*Yn ail; Pa le nid oes dim Possiblrwydd y mae'n rhaid arferyd y ffordd sydd nessaf at y ffordd ddiogelaf.*

Yn drydydd *pan y bo ammhossiblrwydd yn darfod am dano, y mae'n rhaid dyfod i mewn o phob peth, yr hwn ni fyddei ammhossiblrwydd yn gallu goddef.*

*Pwy bynnag* (medd y Dr. *Du Veil* ddyscedig) *ac sydd yn bwriadu dilyn y rheolau hyn y rhai sydd yn cyttuno cystal a rhessymm, ni fyddant byth yn questiyno, eithr y dylent gael eu bedyddio, oni dderbyniasant y bedydd hwnnw a ordeiniwyd gan Grist, ond y tywalltiad, sef y taenelliad hynny* (medd efe) *a osodwyd yn ei le ef trwy arfer neu yn hytrach gam-arfer cyffredin, megis ac y mae* Luther *yn ei alw*; fel hyn y scritennodd y Dr. *Du Veil* yn ei esponiad Hist. o'r *Actau pen.* 2. *tu dalen* 86.

*Y mae'r diseinwr enwog hwnnw* John Forbes *yn dywedyd; Ac nid oes dim ammeu na ddylent hwy gael eu bedyddio drachefn, y rhai o'r blaen a dderbyniasant yn unig olchiad ofer, ac nid y wîr Sacrament o fedydd, ac er nad yw cymmaint ac y mae'r* Papistiaid *yn tybied, etto y mae anghenrheidrwydd y Sacrament hon yn fawr jawn, a'r budd a'r llês yn gryn dda.* Gwel Dr. *Du Veil. Ac.* 2. *tu dalen* 87.

*Y mae* Tertullian *yn dywedyd, Pa beth bynnag ac sydd yn wrthwyneb i'r gwirionedd sydd Hæresi, er ei fod ef yn hên arfer.*

Fel hyn y gwelwch fod y dyscedig er nad ydynt yn cydnabod ail-fedydd, ple y caedd bedydd o'r cyntaf ei weinidogaethu yn vniawn, etto fe ddylei y cyfryw ac ar y cyntaf a dderbyniasant yn vnig fedydd lledrithiog gael eu gwir fedyddio; Peth pechadurus ac anghyfreithlon ydyw bedyddio crediadyn drachefn; eithr gan nad yw'ch bedydd chwi yn wir fedydd eithr *taenelliad*, ein harfer ni nid yw'n ail-fedydd, oblegid megis ac nid ydych chwi yn gwneuthur y weithred, felly nid yw yn cael ei gwneuthur ar ddeiliad cyfaddas.

7. 'Y maent hwy yn euog (meddwch chwi) sef y cyfryw ac sydd yn gwadu bedydd babanaidd, o bechod 'mawr gan roddi tramgwydd i llaweroedd ac a gawsant 'eu bedyddio yn eu mebyd, gan demtio mo honynt i dybied nad ydynt tan ddim addunedau i Dduw; ac nad yw 'eu bedydd yn eu rhwymo hwynt i fyw yn ôl rheol newydd; os bydd pobl yn barnu eu hunain fod yn rhydd 'oddiwrth eu rhwymedigaeth fedyddiawl, Och! pa mor 'noeth y maent hwy yn dyfod at brofedigaethau Satan, &c.

*Atteb.*

*Atteb.* 1. Yr wyf yn *Atteb*, os bydd i chwi dramgwyddo wrthym ni, oblegid ein bôd ni yn taflu ymmaith draddodiad dynol, ni allwn ni rwystro mo hynny, a ddylem ni vfyddhau gair Dyn, yn hytrach na Duw, bernwch chwi.

2. Grym rheflymmau'r scrythur neu bwer gair Duw, sydd yn ein hannog ni a llawer mil y chwaneg i daflu ymmaith yr adnewyddiad ac arfer pechadurus o fedydd babanaidd; ac a anturiwch chwi ddywedyd mae Satan ein hudodd ni; nage, y mae arnaf ofn mae Satan neu fûdd dalarol, neu er mwyn rhyddhau eu hunain oddiwrth wradwydd, sydd yn hudo rhai o honynt hwy ac sydd yn dal bedydd plant i ddilyn yr arfer dychymygol hynny: Nid arfer Satan ydyw na'i fûdd ef i demtio dynnion i gydnabod ordeiniadau sanctaidd Christ a thaflu ymmaith ddychymygion dynol, eithr i wneuthur ei oreu am gadw mo honynt yn annwybodus o'r cyntaf, ac i gynnal i fynu yr Ail, yr hwn a adawyd i ddyfod i mewn yn amser Gwrthgiliad yr eglwys; yr hyn beth (y mae'n eglur) sydd golofn tuag at gynal i fynu eglwysi cenhedlig, ac nid yn vnig rhai pabaidd eithr ordeiniadau *Protestanaidd* hefyd.

3. Nid ydym ni yn cael ein hudo gan Satan, eithr yn cael ein hannog gan yr Arglwydd trwy bwer ac awdurdod ei air ef i gredu na ddaeth Duw â ni tan yr adduned neu'r rhwymedigaeth hwnnw yn ein mebyd; er ych bod chwi, gwir yw, yn gwneuthur felly, ac felly y mae'r *Papistiaid* yn dyfod a phobl tan addunedau a rhwymedigaethau i fyw yn weddw, ac i wneuthur pethau eraill, y rhai sydd yn tueddu tuag at weithio sancteiddrwydd a ddaioni, fel y dywedant wrthych, eithr ni ddaeth Duw erioed a hwy tan ddim fâth addunedau a rhwymedigaethau.

Ac er y gall fod gan rwymedigaeth dynol ryw bwer ar y gyd-wybod, yn enwedig pan y byddo pobl yn tybied mae cyfammod Duw ydyw hi; etto oni ddylit dywedyd wrth y bobl ddeillion ymmhlith y *Papistiaid* fod y cyfammodau hynny yn rhai dynol, ac nid cyfammodau tan ba rai y daeth Duw â hwy; onid oes gan Dduw ffyrdd ddigon, a'r fâth ac sydd ddigonol tuag at rwymo ein plant i farw i bechod, ac i fyw mewn newydd-deb buchedd; a oes arno ef eisieu chwanegiadau dynol? a gaiff dyn ddyscu Duw? ac a fyddwch chwi yn dodi'ch rhwymedigaeth bedyddiawl ar Dduw, megis y peth y mae efe yn gofyn i

faba-

fabanod ddyfod tano, heb ddim lliw o brawf oddiwrth ei air bendigedig ef.

Y mae'n rhaid imi ddywedyd wrthych, fod addunedau ewyllyscar oll gwedi cael eu gwahardd gan Grist yn amseroedd yr efengyl, *Mat.* 5. 33, 34. ni ddylech chwi ddyfod â chwi eich hunain neu'ch plant tan y fâth lwon, addunedau neu rwymedigaethau *ewyllyscar* neu *addewidiol*; y mae'n rhaid i chwi edrych fod gennych orchymyn am ei wneuthur, neu awdurdod eglur oddiwrth yr Arglwydd am wneuthur y peth hyn cyn y gwneloch ef; y mae Duw yn gofyn i'r crediniol a'u plant pan y byddont yn credu ddyfod tan adduned a rhwymedigaeth fedyddiawl ac nid hyd y pryd hynny.

Eithr a ydych chwi yn tybied fod tueddrwydd ein athrawiaeth ni yn y peth hyn yn agoryd drws i bobl jevaingc i bechu; na atto Duw: Y mae'r Rhwymedigaethau a osododd Duw yn ei air, a rhieni duwiol a gweinidogion trwy awdurdod gair Duw, yn ddigonol pan y byddo'r Arglwydd yn gweithio gyda hwynt i beri iddynt edifarhau a chredu a byw bywyd newydd; heb eich rhwymedigaeth ewyllysgar a di-warand sydd gennych chwi ac yr ydych yn ddodi arnynt yn eu mebyd, oddiwrth pa vn nid oes gennych ddim sail i gredu y bendithia Duw hwynt oll i'r dibennion hynny ac yr oeddych chwi yn bwriadu, oni buasei iddo ef ei orchymyn; *A wnewch chwi ddrygioni fel y delo daioni o bono.*

8. 'Y mae bedydd wrth foddi yr holl gorph mewn 'dwfr oer (meddwch chwi) yn y gwledydd oerion hyn 'yn droseddiad o'r chweched gorchymyn, *na ladd*, oblegid y mae'n siccr na all llawer o gyrph tynner ac an'hwylys ddioddef cael eu soddi mewn dwfr oer yn am'ser gauaf heb fyned mewn perigl o'i bywyd; yn enwedig 'pan y byddo Rhew ac Iray; ni ddylem ni demtio yr 'Arglwydd gan dybied y bydd i Dduw wneuthur rhy'feddodau beunydd er achub ein bywyd; y mae efe yn gwei'thio yn arferol trwy foddion a appwyntiwyd ganddo; 'y mae Mr. *Cradock* ar y fâth achos a hyn yn barnu, y dy'lei y Pen-llywodraethwr rwystro i bobl gael eu soddi 'rhag ofn y byddei hynny yn beriglus iw ddeiliaid ef. *Esen.* '*l.* 16. *tu dalen* 108.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*, y mae hyn yn achwyn mawr yn ei herbyn ni, yr ydym yn cael ein cyhuddo gennych o

fod

fod yn euog o lofruddiaeth gan dorri y chweched gorchymyn; eithr yr ydych chwi yn anghofio ych bod chwi wrth hyn yn troseddu yn bennodol y nawfed gorchymyn, *na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog*, *Exo.* 20. 16. Pronwch yr hyn

Yr ydych yn ei ddywedyd ac onide, cyfaddefwch, gyda thristwch ych cerydd ffugiol a ffieidd; a wyddoch chwi yn sicr am vn dyn llaill ai gwr a'i gwraig ac a laddwyd erjoed neu y gaedd ddim niwedd ac y gaedd ei fedyddio, hynny yw ei soddi yn enw'r tâd, a'r mâb, a'r yspryd glân *mewn dwfr oer yn y gauaf*; y mae'n rhaid i chwi ddyfod a'ch rystion ac onide yr ydych yn euog jawn ger bron Duw a Dyn; yr ydych chwi yn dywedyd *mae siccr ydyw fod llawer o gyrph tyner ac annhwylus na allant ddioddef cael eu soddi mewn dwfr oer heb fod mewn perigl o'u bywyd*, &c.

Sr, Mysi fy hun a fedyddiais rai cant o wyr a gwragedd, a rhai ar bôb amser o'r flwyddyn, ie, yn amser Rhew ac Iray mawr, gan dorri yr ja yn gyntaf, a dynnion ac oeddynt yn wan ac annhwylus yn eu cyrph a benywaid yn feichiog fawr, ac eraill ymmron deng-mlwydd a thri vgain oed a rhai yn agos i bedwar vgein, ac ni welais i vn erjoed yn derbyn dim o'r niwdd lleiaf oddiwrtho; eithr llawer a gawsant jechyd gwêll yn ôl hynny; ie mysi a glywais weinidog anrhydeddus yn ddiweddar yn dywedyd, i fod efe yn adnabod gwraig oedrannus yng *Gent*, yr hon ni ddaethei tros y gwely tros ryw amser, ac ni byddei foddlon hyd oni chae ei bedyddio, a'i bedyddio hi a wnaed, ac ar hynny hi a ymgryfhaodd ac a rodiodd i maes ac a fu fyw dros rai blynyddau gwedin mewn jechyd a chryfder yn gyfattebawl i hoedran. Ac hefyd tros ddeugain mlynedd mysi a glywais, am dan ac a adnabum rai miloedd a gawsant eu bedyddio bôb amser o'r flwyddyn, o'r ddau ryw, ac ni chlywais erjoed am neb ac a dderbyniasant y niwed lleiaf yn eu jechyd wrth hynny, pa faint llai ac iddynt golli eu bywyd; am hynny y mae'n eglur ych bod chwi yn euog o ddrwgenllib a chamgyhudded ffieidd *gan ddwyn* cam dystiolaeth yn erbyn ych cymydogion gwirion; ac y mae'n dda onid yw hyn yn tarddu oddiwrth falis, a hynny nid yn vnig tuag attom ni eithr hefyd tuag at ordinhâad sanctaidd Christ o soddi y credinol yn ei enw ef.

2. Eithr y mae'r rhan waethaf etto yn ôl; ar bwy yr ydych chwi yn taflu y gwradwydd hyn? a'i arnom ni? neu onid a'r Christ ei hun yr ydych yn gwneuthur hyn? oni ordeiniodd ein Harglwydd Jesu'r Ordinhâad hon o fedyddio, sef, o soddi cyrph dynnion mewn dwfr? onid oedd y gwyr a'r gwragedd hynny y rhai a fedyddiwyd yn amser yr Apostolion yn cael eu soddi? a fyddwch chwi yn gwahanu oddiwrth yr hên dadau oll a difeinwyr diweddar? myfi a nodais liaws o honynt yn y traethawdd hwn, y rhai sydd yn haeru y matter hyn yn bennodol; a'r pa bennod, daled y darllenydd sulw.

Y mae *Ambrose* yn dywedyd, Dwfr yw'r hyn beth, ple y mae'r corph yn cael ei soddi.

*Chrysostom* sydd yn dywedyd, fod y corph yr hwn a fedyddier yn cael ei gladdu mewn dwfr.

*Basil* mawr a Dr. *Du Veil* sydd yn dywedyd yr vn peth.

*Bernard* a ddywed, soddiad sydd yn arwyddoccâad marwolaeth a chladdedigaeth.

Y mae'r *Gymanfa* yn eu nodiadau yn dywedyd, mae'r hên ffordd o fedyddio oedd trwy soddi yr hwn ac oedd i gael ei fedyddio, ac fel pe buasit yn eu claddu hwynt tan y dwfr.

Nodiadau *Pool* ar *Mat.* 3. 6. ac a gawsant eu bedyddio gantho ef yn y *Forddonnen*, *hynny yw* (medd efe) *eu soddi yn y Forddonnen*; ac a'r *Rhuf.* 6. 3, 4. Y mae efe yn dywedyd, yr hên ffordd o fedyddio yn y gwledydd gwresog hynny oedd wrth sudo neu soddi y dyn ac oedd i gael ei fedyddio; *Cajetan*, *Dail*, ar y tadau, *Tilenus*, *Luther*, *Calvin*, *Perkins*, *Zanchi*, *Paræus*, Dr. *Cave*, Dr. *Sharp*, Dr. *Fowler*, Dr. *Sherlock* a llaweroedd o rai eraill ac a enwais, ydynt yn dywedyd eu gyd mae Bedydd yw soddiad.

Y mae Dr. *Tillotson* Arch-Escob ddiweddar *Canterbury* yn dywedyd, fod y rhai ac oeddynt i gael eu bedyddio yn yr hen amseroedd yn dihatru eu dillad——— ac yn cael eu soddi neu claddu tan y dwfr: Darllennydd, noda Gof-restr o'r awdwyr yn nechreu y Llyfr hwn; yn awr Sr, os bedydd trwy soddiad sydd lofruddiaeth, onid ydych chwi yn gosod achos y llofruddiaeth hwn a'r Grist yr hwn a ordeiniodd fedyddio neu soddi gwyr a gwragedd mewn dwfr, pa waith a ddarfu i chwi wneuthur er ed feirwch.

Gwrthdd.

Gwrthdd. *Fe allei y byddwch chwi yn gwrthddadlu ac yn dywedyd, ych bod chwi yn cyfaddef fod bedydd yn cael ei weinidogaethu trwy foddiad yn y gwledyd gwresog hynny.*

*Atteb.* Oni anfonodd ein jachawdwr ei ddifcyblion i'r holl fyd, neu i ddyfcu pôb cenedl gan eu bedyddio hwynt, hynny yw, eu foddi hwynt *yn enw'r tâd, a'r mâb, a'r yfpryd glân.*

2, A anfonodd efe hwynt â'r Commiffiwn hwn yn vnig I wledydd gwrefog, ac nid i wledydd oerion? na atto Duw; oblegid ni roddwyd vn Commiffiwn arall gan Grift am wneuthur difcyblion wrth eu dyfcu hwynt ac yna eu bedyddio, ond hwn yn vnig; ond yw'r Commiffiwn hwn yn cyrrhaeddyd *Lloegr*; a oeddym ni a'r holl wledydd oerion gwedi cael ein cau allan.

3. A roddodd Chrift ddau Gommiffiwn allan, vn Commiffiwn tros wledydd gwrefog, am eu dyfcu hwynt a'u foddi &c. a'r llall tros wledydd oerion i ddyfcu a'u taenellu hwynt, neu'n hytrach i taenellu hwynt ac yna eu dyfcu; canys felly y mae'ch arferiad yn gwyro trefn Commiffiwn mawr Chrift; a ddywedodd Chrift ewch i wledydd gwrefog a dyfcwch a bedyddiwch ddifcyblion; ac i wledydd oerion ewch a dyfcwch a thaeneliwch hwynt? pa fâth o gommiffiwn ammherffaith y mae'ch arfer chwi yn gwneuthur Commiffiwn Chrift i fod.

4. Pwy a roddodd bwer i dynnion newidio ei Gommiffiwn ef o fedyddio i daenelliad neu dywalltiad, pa gyfrif a ellwch chwi roddi iddo ef am hyn ar ddydd mawr y farn? neu a oes gan yr eglwys neu weinidogion bwer i newidio Commiffiwn mawr Chrift, ac felly llaill a'i newidio, a'i chwanegu at neu dynnu oddiwrth eiriau ei Lyfr ef: Dychrynwch Sr, pan feddylioch am y pethau hyn. Gwelwch *Datc.* 22. 18.

O ran Mr. *Cradock* y mae'n debygol os fcrifennodd efe, mal yr ydych chwi yn honni, i fod ef tan brofedigaeth mawr; eithr nid yw ryfedd; nyni a allwn ddywedyd wrthych chwi am rai pobl, ac mor enwog ag ef, y rhai ni fynnent i wyr yr ail-fedydd a'r *Independiaid* hefyd, gael dim rhydd-did i ymgynnull ynghyd, nag i frifennu llyfrau ac a fynnent i'r Penfwyddog i charcharu a'u gyrru hwynt o'r wlâd, &c.

Gwrthdd. *A chan ych bod chwi yn ymddwyn hyn megis ein gwrthddadl ni, hwy a allant aros hyd yr hâf.*

1, Yr ydym yn *Atteb*, nid yw hynny yn anghenrheidiol, oblegid bôd yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd am y perygl sydd o'u bedyddio yn y gauaf yn hûr ffugiol.

2. Am ddim a wn i fe ddichon fod cynifer neu ychwaneg yn cael eu bedyddio yn y gauaf nag y sydd yn yr hâf.

*Yr ydych chwi yn dywedyd cyn gyntaf ac y caffont eu gwneuthur yn ddiscyblion, yr ydys yn gorchymyn iddynt gael eu bedyddio, Actau* 24. 41. *ac* 8. 38.

*Atteb.* Dymma ein harfer ni, eithr pa ham nad ydych chwi yn aros hyd y pryd hynny, sef, hyd oni byddo ych plant yn ddiscyblion; a ydyw yn beth drwg aros yn hwy na'r amser, ac heb ddim drwg wneuthur cyn yr amser yr hyn a appwyntiodd Christ.

'Yr ydych chwi yn dywedyd, fod y modd hyn o fedyddio 'trwy soddi y bobl yn noeth neu'n agos i noeth yn drosse-'ddiad o'r seithfed gorchymyn, *na wna odineb*, *Matt.* 5. 28. 'Y mae'r gorchymyn nid yn vnig yn gwahardd y weith-'red o odineb eithr pôb achos ac annogiaeth tuag atto, 'y mae pôb gweithred anfoesol ac anweddus yn râdd o 'odineb: Calon dyn sydd fwy ei thwyll na dim, a drwg 'ddiobaith ydyw, *Jer*. 17. 9. am hynny nyni a ddylem o-'chelyd pôb peth ac sydd yn tueddu tuag at bechod; *Da-'fydd* a gwympodd i odineb wrth weled *Bathsheba* yn yn-'olchi, 2 *Sam*. 11. 2. felly yr ydym yn gweled na fynei 'Duw i bobl fod yn noeth neu'n hanner noeth yn y gyn-'nulleidfa, oblegid nid oes dim llawer o wahaniaeth rhwng 'y ddau *Exo*. 20. 26. *ac pen*. 28. 42. Eithr hwynt hwy ac 'sydd yn ail-fedyddio trwy soddi y bobl yn amlwg yn y 'gynnulleidfa ydynt yn diosg y ran fwyaf o'u dillad; y 'mae'r hwn sydd yn gweinidogaethu'r ail-fedydd, ac efe neu 'hi ac sydd i gael eu fedyddio yn noeth ymmron, yr hyn 'a all fod yn brofedigaeth i'r hwn sydd yn cael ei fedy-'ddio ac i'r rhai sydd yn edrych oddiamgylch; oni bydd 'y brofedigaeth yn cyrhaeddyd y gweinidog yr hwn nid 'yw ond cîg a gwaed megis eraill, etto y fâth ymar-'weddiad o flaen cynnulleidfa gymmyscedig sydd yn dyfod 'ag ef tan wradd wydd ac yn peri i addoliad Duw gael ei 'ddiystyru.

*Atteb.* 1. Yr wyf yn *Atteb*; fod yn ddrwg gennyf fôd gweinidog ac yr wyf yn gobeithio gwr duwiol yn caêl fel hyn ei adael iddo ei hun, neu heb fod tan well cyfarwyddiad yn y peth hyn, ond ei fod ef yn y modd hyn yn chwanegu pechod pan y mae efe yn scrifennu ynghylch pethau sanctaidd.

2. Attolwg Mr. *Owen* i ba le y mae'ch cyhyddiad chwi yn tueddu ynawr wrth ddi-anrhydeddu a barnu yr ordinhâad sanctaidd o soddi neu fedyddio y crediniol; y mae'n rhaid i'r gwradwydd hyn ddescyn yn gystal ar y prîf eglwysi a'r Apostolion sanctaidd ac arnom ni; yr ydych yn gweled fod ych holl frodyr yn gyffredin megis vn dyn, ie, cymanfeidd cyfan o ddifeinwyr yn haeru, mae'r modd o fedyddio yn y prîf amseroedd ydoedd trwy soddi'r holl gorph mewn dwfr, er y mynnent fod hyn yn vnig yn cael ei wneuthur yn y *gwledyd gwresog*; a fynnwch chwi wneuthur yr Apostolion sanctaidd a holl weinidogion y prîf eglwysi yn euog o odineb; neu a ydych chwi yn tybied nad oes gennym ni yn y gwledydd oerion hyn ddillad cyfaddas i ddodi ynghylch ein pobl y rhai sydd i gael eu bedyddio, megis ac yr oedd ganddynt hwy yn y *gwledydd gwresog* hynny.

3. Eithr pe bae hyn y cwbl, ni byddei'r peth cynddrwg i gyd, oblegid *Fritaniaid parchedig*, ein Harglwydd Jesu oedd efe, yr hwn a ordeiniodd ac a appwyntiodd wyr a gwragedd y rhai ydynt yn credu i gael eu soddi mewn dwfr yn ei enw ef, *&c.* ac mae'n beth caled nad oes vn ffordd i gyfatteb y gorchymyn a'r ordinhâad sanctaidd hon, eithr bod yn rhaid i'r bobl fod yn euog o *odineb*: a raid ini fyned i'r dwfr yn noeth neu'n hanner noeth; a oes anghenrheidrwydd am wneuthur felly? a oes dim dillad eu cael; neu ddim gwiscau cymhedrol i wyr a gwragedd a ellir eu cael, y rhai a allant guddio eu holl noethni, ie, dwylaw a thraed hefyd os bydd achos?

Yn ddiau Sr, y mae'n rhaid i chwi fwriadu ryw beth fel hyn, ac onide nid oes dim lle gwedi adael i chwi am daflu y fâth ddiystyrwch a gwradwydd ar yr ordinhâad ei hun, ond trwy farnu y bobl am nad ydynt yn parattoi dillad gweddus o bwrpas fel na byddei iddynt felly *wneuthur godineb*, pan y delent iw bedyddio.

4. Sr, pe buasech chwi yn gweled ein pobl ni yn cael eu bedyddio; ni fuasech chwi yn euog o ddwyn camdystiolaeth yr ail-waith; dal sulw, ddarllennydd, ein bod ni

 yn

parattoi dillad gweddus i'r gweinidog o'r pen i'r traed, ac y mae gan ein gwrywaid hefyd ac ſydd yn cael eu bedyddio ddillad gweddus iddynt hwy ; ac o ran ein benywaid y mae gennym wnau a pheiſiau gwedi eu gwneuthur iddynt hwy ar yr achos hyn; ac y maent hwy yn myned i'r dwfr fe allei mewn dillad mwy gweddus nag y mae llaweroedd o fenywaid yn myned ynddynt, i gynnulleidſaoedd Criſtnogaidd ; am hynny achwyn annheilwng ydyw hwn y mae Mr. *Owen* yn arferyd yn ein herbyn ; er nad yw efe ond dilyn ôl Dr. *Featly* a Mr. *B.* eithr y mae'r peth hyn yn waeth ynddo ef ar y cyfamſer hwn nag ynddynt hwy y pryd hynny, o herwydd bod ein arfer a'n gwaith ymma ynawr yn fwy ammlwg a gwybodus yn gyffredin ; a chan fod y pethau hyn felly, pa fodd y gallwn ni wrth ſoddi neu fedyddio gwragedd fod yn euog o odineb neu neb o'r golygwyr.

Oni ellwch chwi gymmeryd benyw gwedi cael gwiſgo am dani mewn dillad moddus a gweddaidd wrth ei llaw, heb fod a meddyliau aflan yn eich calon ; chwychwi a ellwch yn yr vn modd gyhuddo rhai creftwyr yn dilyn eu creft o fod yn euog o odineb ; yn wir pe byddem ni megis y dywedodd Mr. *B.* vnwaith yn bedyddio benywaid yn noeth, neu megis yr ydych chwi yn dywedyd ymmron neu'n hanner noeth (y rhai ydynt ill dau yn anwireddau ffieidd ) fe allaſei fod rhyw liw am yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd.

*Eithr* (meddwch chwi) *od yw angheurhaid ſoddi 'r holl gorph, megis y maent hwy yn dywedyd ei fod, pa reol ſydd ganddynt hwy oddiwrth y ſcrythur am fedyddio y dillad gyda'r corph ; y mae'r ychydig ddillad ſydd yn eu cylch hwy, yn cael eu ſoddi gyn y caffo y corph ei ſoddi*, &c.

*Atteb.* Fe ddichon pawb weled pa fâth yſpryd gwrthnyſig, ymryſſongar a gwrthwynebus ſydd gennych chwi ; vnwaith yr ydych yn ymegnio i daflu gwradwydd a'r ordinhâad ſanctaidd Chriſt ac arnom ni gyda hi, megis pe buaſem yn bedyddio dynnion yn noethion ; a chwedin yn fuan yr ydych yn gwneuthur fel pe baech yn caniattau nad ydym ni yn gwneuthur felly, eithr i bod hwy y rhai yr ydym ni yn fedyddio â Dillad am danynt ; eithr ynawr y mae'r dillad yn cael eu bedyddio, ac yna yr ydych yn gofyn pa ſcrythur ſydd gennym ni am hynny.

2. Y mae'n ddigonol i ni i Grist orchymyn soddiad yn el enw ef, ac yr ydys yn gofyn gennym ni *wneuthur pob peth yn weddus*; nid oes dim matter, os bydd y corph yn cael ei gladdu mewn dwfr, nid ydym ni yn dywedyd ein bod ni yn bedyddio y dillad ond y person; y mae ordinhâad Christ o fedydd yn sefyll o ran vn rhan sylweddol yngeiriau'r weinidogaeth; onid ydych chwi vn amser yn taenellu dim diferion dwfr ar *ddillad têg* y plentyn, a pe baech yn gwneuthur felly, beth a dalei hynny; chwychwi a scrifennasoch *eiriau caled*, ac y mae Christ yn dyfod i argyhoeddi pawb o'u *holl weithredoedd annuwiol ac o'u holl ymadroddion caled a lefarasant yn ei erbyn ef.* Barn. 15. *Ac yr wyf yn deisyf ar Dduw na chyfrifer y pechod hwn i chwi*; fel hyn y ceisym fynghynnorthwyo i gymmeryd ymmaith y gwradwydd a'r gwarhau ffieidd a daflwyd a'r y rhai sydd yn cael eu bedyddio pan y byddont yn credu; ac myfi a brofiais nad yw ef yn ail-fedydd; am hynny bydded i Mr. *Owen* daflu ymmaith eu bin gwradwyddus, am amddiffyn *bedydd babanaidd*, ac edifarhau a throi drachefn at y bedydd hwnnw yr hwn a ordeiniodd Christ ac a adawodd yn ei eglwys hyd ddiwedd y byd; ac mal yr ymddengus drygioni a phechaduriaeth *bedydd babanaidd* cymerwch yr hyn sydd yn canlyn ac y scrifennais drachefn allan o'm hatteb i Lyfr Mr. *Burkit* yr hwn a scrifennodd efe am fedyddio plant er ys dwy neu dair blynedd a aeth heibio.

---



PEN.

# PEN. XXI.

*Gan ddangos nad oes disgwyl am ddim bendith wrth fedyddio babanod, eithr yn hytrach anfoddlonrwydd y Duw eiddugus; ac yn arddangos yn wrthwyneb i'r hyn y mae Mr.* James Owen *yn ei ddywedyd ac hefyd i'r hyn a ddywedwyd gan Mr.* Burkit, *Mr.* Daniel Williams *a phawb eraill ac a dalant fedydd-plant, mae arfer pechadurus ac anghyfreithlon jawn ydyw.*

MR. *Owen* a ymdrafferthodd yn ofer i ddangos bûdd *bedydd babanaidd* megis ac y gwnaeth Mr. *Burkit* hefyd yr hwn sydd weinidog dyscedig o eglwys *Lloegr* yn ei Draethawdd diweddar tros *fedydd-babanaidd*; gwelwch, *tu dalen* 35, 36, 37, 38. o'i Lyfr ef.

1. Y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd; *y mae plant trwy hyn yn cael hawl yn holl weddiau'r eglwys.*

1. Od ydych chwi yn gweddio trostynt hwy megis aelodau o'r eglwys weledig, pa sail sydd gennych oddiwrth air Duw am wneuthur felly, gan gymmaint ac na wnaeth Duw mo honynt yn amser yr efengyl yn aelodau o honi.

2. Oni allwn ni weddio tros ein plant, a'r eglwys hefyd, er nad ydynt hwy etto yn aelodau, fel y byddo iddynt fyned yn aelodau o honi.

2. Y mae efe yn dywedyd, *Y mae ganddynt hwy trwy rinwedd y gollyngiad hyn i mewn, hawl yn rhagluniaeth priodol Duw.*

*Atteb.* Nid oes dim ammeu nad yw Duw yn ymarfer ei ofal a'i ragluniaeth priodol tros y babanod etholedig oll,

oll, eithr nid yw yn gwneuthur dim o hyn yn fwy, oblegid i chwi eu bedyddio hwynt heb ei awdurdod a'i orchymyn ef; pa faint llai babanod y crediniol megis y cyfryw.

3. Efe a ddywed; *Trwy'r modd hyn y mae'r eglwys yn sefyll yn agosach attynt hwy, na'r rhyw o ddynol-ryw ac gan grybwyll y testun hwnnw, Esau* 43. 13. Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dyscu gan Dduw.

*Atteb.* 1. Ni ellwch chwi na Mr. *Burkit* na neb arall ac sydd yn dala bedydd babanaidd yn y byd ddyfod a phlant yn nês at Duw na'i eglwys trwy vn weithred a wnaed gennych chwi heb i Grist adael rheol i chwi am hynny.

2. A ydyw'r testun hwnnw, *Esau* 51. 13. yn perthyn i fabanod y crediniol megis y cyfryw, neu i'r plant duwiol hynny newydd-eni, y rhai gan eu bod yn cael eu geni yn *Sion* ydynt yn ddiau ei hâd ysprydol hi.

4. Y mae efe yn dywedyd, 'fod bedydd babanaidd yn weithred o gyssegriad, *&c.*

*Atteb.* Pwy a orchymynnodd i chwi gymmeryd y ffordd hyn i gyssegru babanod i'r Arglwydd? a fynnwch chwi ddyscu'r holl alluog? neu a ydych chwi yn ddoethach nag ef? a ydyw efe yn ei air yn gofyn gennych chwi wneuthur felly?

2. Oni ddichon y *Papistiaid* ddywedyd yn gystal am y dynnion hynny y rhai y maent hwy yn ddwyn tan addunedau ewyllysgar, i bod hwy yn y môdd hynny yn cael eu cyssegru i Dduw.

5. Mr. *Burkit* sydd yn dywedyd; *Y mae efe yn gwneuthur llês mawr i faban, megis ac y mae'n weithred o ymrwymiad, hynny yw,* medd efe, *y mae plentyn yn ei fedydd yn myned mewn cyfammod â Duw.*

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb.* Och fabanod truein! hyn yr ydys yn ei wneuthur heblaw eu gwybodaeth a'u ewyllys da hwy, neu appwyntiad Duw; yr hyn beth sydd waeth na'r cwbl, neu nid ydynt hwy yn gallu mo'i wneuthur y pryd hynny, na llawer o honynt byth gwedi'n, gan na roddyff Duw iddynt mo'i râs i wneuthur felly; Eithr gwae iddynt hwy os ni chadwant y gyfammod hon, os ydyw'r hyn y mae Mr. *Daniel Williams* a Mr. *Burkit* yn ddywedyd yn wir.

Y maent hwy yn gyntaf yn gwrthod Christ 2. yn ymwrthod â bendithion yr efengyl. 3. Y mae hyn yn wrthryfel yn erbyn eu creawdwr. 4. Yn aniolchgarwch ac yn anudonedd yn erbyn eu prynwr. 5. Yn gamwedd mawr iw rhieni. 6. Y mae'n greulondeb marwol iw heneidiau eu hunain. 7. Y mae Mr. *Williams* yn dywedyd mae pechod damnedig, ie, mae'r pechod damnedig a chalon pôb pechod ydyw.

A dymma'r cariad sydd genych chwi y rhai a ddalwch fedydd plant i'ch babanod truein? Beth, dysod a nhwy yn gyntaf i'r fâth gysammod heb eu gwybodaeth a'u bôdd, neu appwintiad Duw, ac yna eu bygwth hwy, os ymadawant â hi ag vffern a damnedigaeth, a pheth nad ydych?

A ydych chwi yn gwybod i bôd hwy i gyd yn bersonau etholedig, ac felly y cyfryw rai ac y gaffont eu galw mewn amser gan Dduw, a roddir grâs iddynt ac a gânt newidio eu naturiaeth drwg a llygredig? ac onide, onid ydych chwi yn tyrru i fynu arnynt hwy liaws o ofidiau ac yn y modd hyn yn gwneuthur eu cyflwr hwy yn waeth, neu yn trwmhau eu pechod a'u trueni yn dragywyd.

Nid wyfi yn gwybod pa vn a'ch bod chwi o'r vn feddwl â'r gwr hyn sydd yn dala bedydd plant, neu peidio, eithr yr wyf yn tybied nad yw'r athrawiaeth hyn yn perthyn at Gatechism cristnogaidd; Pe buasei Duw yn gofyn i fabanod fyned i'r fâth gyfammod, fe allasei fod ganddo ef ryw achos am ddywedyd fel hyn; eithr yn gymmaint nad ellwch chwi nag yntau brofio mo hyn, ni allaf lai nag edrych ar yr haeriad hyn mewn gweinidog o'r efengyl yn eofndra rhyfedd; yr wyf yn caniattau fod Duw yn gofyn gan bawb ac sydd wîr gredinio l gyflawni eu cyfammod bedyddiawl; eithr gyda hyn gwybyddwch, fod Duw yn gofyn ganddynt hwy fyned ta ni mewn gweithred, y maent hwy o'u gwîr ddewisiad yn ei chymeryd hi arnynt; y cyfryw ydynt i ba rai y rhoddodd Duw râs i chyflawni hi; ac efe a wnaeth addewid iddynt hwy hefyd o ychwaneg o râs i cynnorthwyo hwynt i wneuthur felly; eithr ni ellwch chwi brofio dim o'r fâth hyn mewn babanod o'u bod yn ammod yn eu bedydd (eithr nyni a gawn ddywedyd ychwaneg oblegid hynny y man) ac ni bydd eu meichnion yn gwneuthur dim cymmorth yn y peth; canys os ni allant hwy gyflawni y pethau hynny y maent yn addewidio trostynt eu hunain, pa fodd y byddent hwy yn gallu ei wneuthur tros

rai

rai eraill; heblaw hyn dychymyg dynol ydyw, ac ni chaedd mo'i ordeinio gan Duw, megis ac y mae Mr. *Perkins* ei hun yn addef.

Ond yn wir y mae athrawiaeth Mr. *Williams* yn gofidio fy meddwl; Peth rhyfedd ydyw, bod y pechod hyn *y pethod damnedig*; Myfi a dybiais mae'r pechod damnedig (trwy ffordd o ragoriaeth) oedd y pechod o anghrediniaeth; beth pe na bae'ch plentyn ych hun yn credu nad yw efe yn rhwym trwy rinwedd y gyfammod fedyddiawl honno y daethoch chwi ag ef tani; eithr pan y tyfo i fyno, yn pallu arddael â'r hyn (yr ydych chwy yn alw) yn fedydd, *&c.* Gan beidio a chredu mae gwirionedd Christ ydyw, a raid iddo ef fod yn golledig? eithr i fyned rhagom yn y blaen.

Gwedi i Mr. *Burkit* ddangos bydd bedydd babanaidd, heb roddi vn testun o'r scrythur tuag at brofio fod yr hyn y mae efe yn ei ddywedyd yn wir; y mae efe *tu dalen* 38. yn dyfod i ddangos fod bedydd yn fwy buddiol ac yn gwneuthur gwell lles i blentyn yn ei febyd, nag pe byddyn yn ei oedi ef hyd oni byddei efe o oedran; oblegid nad yw neb o'r aelodau babanaidd yn gallu bod yn rhagreithwyr; o'r hyn beth y mae ac y gall y rhai fydd o lawn oedran fod.

*Atteb.* 1. Yna rhoddwch iddynt Swpper yr Arglwydd hefyd; oblegid yn ddiammeu os derbynniant hi, ni fyddant yn bwytta ac yn vfed eu damnedigaeth eu hun, mal fe allei y mae rhai ac fydd yn ei derbyn hi, yn gwneuthur: a. yr wyfi yn dychrynu wrth yr hyn yr ydych chwi yn anturio dywedyd a scrifennu, ymmha beth fe debygyr ych bôd chwi yn barnu doethineb y Jesu bendigediccaf; a Appwyntiodd efe rai crediniol neu'r cyfryw ac fydd o oedran ac yn rasol, i gael eu bedyddio, ac neb eraill heblaw; ac a ydych chwi yn dywedyd, fod yr ordinhâad yn cyttuno yn well â babanod annwybodus? Pe byddech chwi, yn dangos i'ch tywysog daiarol beth y fyddei iddo ef wneuthur, a fyddei hyn yn gymmeradwy ganddo ef? Pa faint llai pe byddech yn ei wrthddywedyd neu yn ei ddywygio ef megis pe byddei'ch doethineb chwi yn fwy na'i ddoethineb ef.

Y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd ei fod ef yn fwy buddiol i fabanod nag i'r rhai fydd yn fwy oedrannus, megis ac y mae efe yn rhag-rwymedigaeth arnynt am wrth-fefyll profedigaeth.

*Atteb.* Efe a ddichon yn y modd hyn ddyfod a hwynt tan gant o rwymedigaethau a chyfammodau, ie, fe allei tan rai mwy tebygol hefyd ; oni ellwch chwi ? Pan y byddont yn gwybod beth a wnelont, beri iddynt gymmeryd llw cyhoedd, neu fyned mewn bandau, er poen cofpedigaeth mawr, na fyddo iddynt ymoftwng i brofedigaethau, a chymeryd arnoch mae cyfraith Duw fydd yn gofyn ganddynt wneuthur felly ; ac os gellwch chwi dwyllo eu barn, fe fydd arnynt gymmaint o fraw ( ie, fe allei fwy ) rhag iddynt dorri y llwon a'r ammodau hynny, na hwn yr ydych chwi yn dyfod a hwynt tano heb ddim awdurdod oddiwrth Grift.

3. 'Y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd fod bedydd ym mebyd 'yn fwy buddiol nag mewn cyflawn oedran, megis ac y mae 'efe yn feddygyniaeth cynnar yn erbyn afiechyd y pechod 'gwreiddiol.

*Atteb.* Dywedwch ; A ydyw bedydd yn cymmeryd ymmaith y pechod gwreiddiol neu yn eu rhyddau hwynt oddiwrth y clefyd hwnnw neu peidio ? Chwychwi a wyddoch i rai o'r hên dadau gael eu hudo â'r fâth freuddwyd ; pa fodd gan hynny y mae'r ymglwyf hwn yn ymddangos mor glau, a bod môr gryf yn eich plant chwi ag yn ein plant ninneu, y rhai ni chawfant eu bedyddio erjoed ; eithr onid ydyw St. *Petr* yn dywedyd wrthych, 1 *Pet.* 3.20. Nad yw bedydd yn golchi ymmaith aflendid y cnawd ? neu onid ydyw halogiad gwreiddiol yn aflendid y cnawd ? pa oferedd yw hyn yr ydych chwi yn ofod arnom ni a'r byd ? yr ydym ni yn haeru nad yw babanod ddim mwy addas o'r ordinhâad hon nag vn ordinhâad arall. Pa ham yr ydych chwi yn dywedyd nad ydynt addas o vn ddefod ond hon ? yr ydym ni yn annog yr holl fyd i brofio oddiwrth air Duw i bod hwy yn addas o fedydd, dim mwy nag y maent o Swpper yr Arglwydd.

4. 'Efe a ddywed, fod bedydd a weinidogaethwyd a'r 'fabanod yn gwneuthur hyn o lês ; y mae efe yn dodi 'Criftion ar alaru yn chwerwach am bechod gweithredol, 'gan yftyried yr anudonedd cywilyddus, ar gwrth-gwymp 'ffromllyd fydd i gael ymmhechodau y fâth ddynnion.

Yr wyf yn gweled i fod efe yn vn o frodyr Mr. *Williams*, fef y mae'n debygol yn credu yn yr vn modd am hyn ; eithr yr wyf yn dychrynu gan feddylied am ganlyniadau ych athrawiaeth : Onid oes gan ych plant pan

dyfont i fynu bechodau ddigon i alaru a gofidio o'i herwydd ger bron yr hollalluog Dduw, ond bod yn rhaid i chwi ddyfod a hwynt i'r fâth gyfammod, yr hon chwychwi a wyddoch y byddei iddynt dorri pan delent o oedran? ac y mae'r fâth wyredd mewn naturiaeth dynol, fel nad oes gochelyd mo hono heb waith grâs oddiuwch naturiaeth; y mae eu llwyth hwynt yn drwm ddigon nid yw raid i chwi chwanegu atto ef.

2. Onid ydyw yn beth tôst; y byddei i dynnion roddi achos iw plant dybied i bod hwy yn euog o anudonedd? pan mewn gwirionedd nid oeddynt erjoed, nag o wrthgwymp oddiwrth Dduw ychwaith ar yr achos hynny; yr oedd ein gwrthgwymp cyntaf ni yn ddrwg ddigon, nid yw raid i'n fyned ynghylch i gwneuthur hwynt yn euog o vn arall: Gwaesi, ni ddaeth eu bedydd lledrithiog â hwynt vn cam yn nês at Dduw nag y mae'r plant hynny y rhai ni chawsant mo'i bedyddio erjoed yn eu mebyd oll, pa le gan hynny y mae'r gwrthgwymp y mae efe yn dywedyd am dano.

3. Y mae efe wrth hyn yn eu gosod hwy tan angenrheidrwydd o fod yn euog o'r bechod o anudonedd a gwrthgwymp, o'r lleiaf yn ôl eich drychiolaeth chwi ac yn ei drychiolaeth hwyntau hefyd, os gallant gredu yr hyn y mae'r gwr hwn yn ei ddywedyd, ac felly peri iddynt alaru am y pechod hwnnw neu'r pechodau hynny yn fwyaf y rhai fe allei (os ystyrier pob peth yn vniawn) nid ydynt bechodau oll; nid wyf yn meddwl, y gall fod rhai o'u troseddiadau gweithredol heb fod yn bechod, eithr nad ydynt hwy yn euog o anudonedd a gwrthgwymp wrth dorri honno pa vn yr ydych chwi yn ei alw eu cyfammod fedyddiawl; oblegid os na ddygodd Duw mo honynt i'r gyfammod honno, neu tan ddim perthynas cyfammodawl ag ef ei hun wrth hynny; nid wyfi yn gweled pa fodd y gallei fod y fath golyn yn ei chynffon, mal y mae efe yn haeru; ac yn wîr pe buasent hwy o honynt eu hunain a'i gwir fodd yn myned tan y fâth gyfammod anghyfreithlon neu ddi-awdurdodol, yr hon nid oeddynt hwy mewn vn modd yn gallu ei chadw; nyni a allwn fod yn betrus pa vn ai byddei yn anudonedd ynddynt hwy, os na chyflawnent mo honi; heblaw hyn, yr wyf yn gobeithio na ddarfu iddynt dyngu yn anudon, pa fodd gan hynny y gall hyn fod yn anudonedd?

4. Ym-

4. Ymmhellach, yr wyf yn deisyf ar y rhieni hynny I gyd y rhai ydynt yn bedyddio eu plant ac arnoch chwithau hefyd, ystyried yn ofn yr Arglwydd dueddrwydd naturiol a'r canlyniadau a ddigwyddant ar ych bod chwi yn dyfod â'ch plant truein tan y fath gyfammod.

1. Ych bod chwi yn peri iddynt fyned tan y gyfammod hon heb ddim awdurdod neu orchymyn oddiwrth Dduw, oblegid yr wyf yn eich hannog chwi a'r cyfryw oll ac sydd yn dal bedydd plant yn yr holl fydd, brofio i Dduw yn vn man, mewn vn modd neu gylydd, ofyn dim o'r fath beth ar eich dwylaw.

2. Ystyriwch ych bod chwi yn haeru, mae nid yn vnig adnewyddiad buchedd ac ymwrthod yn vnig â gweithredion cyhoeddus bechod, sydd yn cael ei cynnwys yn y gyfammod fedyddiol hon yr ydych chwi yn peri i fabanod fyned tani, eithr adenedigaeth ei hun, sef cyfnewidiad calon a chredu mewn modd safadwy ynghrist; dymma'r hyn yr ydych chwi yn rhwymo eich babanod truein i wneuthur; ynawr pa fâth o athrawiaeth *Arminiaid* yr ydys yn ymgeleddu yn y man hyn, os dywedych neu os tebygwch vnwaith i bod hwy yn gallu cyflawni y rhwymedigaeth hwn? eithr onis gwnaent hyn Gwaeso iddynt hwy.

Ymmhellach pa fath euogrwydd y mae'r rhejni ac sydd o eglwys *Lloegr* yn dyfod â'r meichion truein tano, onid ydynt hwy yn sefyll yn rhwym ddim ymmhellach nag ni's byddo'r plentyn yn ei febyd; ac os felly, pa achos sydd am eu rhwymedigaeth hwynt oll, os nid ydych yn bwriadu dim ychwaneg wrtho.

3. Ystyriwch chwychwi a ddaethoch â hwynt tan y gyfammod heb eu gwybodaeth a'i gwîr fôdd hwynt; ni ddarfu iddynt hwy erjoed osod mo'i dwylo wrthi, ac ni wybuant ddim o'i herwydd ac nid oeddynt hwy mewn cyflwr o wneuthur felly.

4, Ystyriwch, Pa beth bynnag ac yr ydych chwi yn dybied, fod y fâth ddrygioni yn eu naturiaeth hwy o achos eu gwrthgwymp cyntaf oddiwrth Dduw, neu'r pechod dechreuol, a'i bod hwy, ie a bod yn rhaid iddynt ei thorri mal y dywedais o'r blaen, oni byddei i Dduw trwy râs vwchlaw naturiaeth newidio eu calonnau a'u naturiaeth, a chymeryd ymmaith eu hansawdd llygredig, a ba beth nid oedd gennych yr achos lleiaf i gredu y gwnae efe felly, neu o'r lleiaf i bawb neu'r rhan fwyaf o honynt; gan na wnaeth Duw ddim o'r fath addewid; ac yr ydym ni yn gweled

beunydd

bennydd trwy brofiadau truenus, nad yw llawer neu'r rhan fwyaf o'r plant hynny yn cael byth eu hymchwelyd; eithr yr ydynt o'r grôth yn myned a'r gyfeiliorn, ac ydynt yn euog yn agos a bôb math o bechodau ffieidd ac felly y maent yn byw ac yn marw.

O ran y cyfryw ac sydd o Oedran.

1. Ystyriwch, mal y dywedais o'r blaen.

1. Fod Duw yn ei air yn gofyn neu'n gorchymyn i'r rhai crediniol ei gyd fyned tan y gyfammod fedyddiawl hon.

2. Ac y mae ganddynt hwy cyn yr elont tani hi wyddor o oleuni nefol gwedi ei dywallt ar eu heneidiau, neu râs gwedi ei blannu yn eu calonnau, gan fod gwedi myned tan waith yr ail-enedigaeth, gwedi marw i bechod (o ba vn y mae bedydd yn ddull buwiol) neu ydyw mal y mae'ch eglwys chwi yn dywedyd, yn arwydd oddi allan o râs ysprydol oddifewn; nid, fel y mae Mr. *Baxter* yn nodi, yn arwydd neu ddull o ail-enedigaeth i ddyfod, eithr o ail-enedigaeth presennol; yr hyn beth sydd yn cael ei siccrhau oddiwrth yr hyn y mae *St. Paul* yn ei ddywedyd, *Rhuf.* 6. 4. Pa fodd y cawn ni yr rhai ydym *gwedi marw* i bechod fyw ymmhellach ynddo ef, *nid a allwn farw, &c. adnod* 3, 4. Pe byddech chwi yn dywedyd nad ydyw pawb ac sydd o oedran ac yn cael eu bedyddio, gwedi cael eu gwir ymchwelyd; yr wyf yn *Atteb* y maent hwy yn ymddangos eu bod hwy felly, ac mal y cyfryw y maent o'u gwîr fodd yn myned tan y gyfammod hon.

Ymmhellach nid yw Duw yn gofyn ganddynt hwy heb ffydd wneuthur mo hyn: Bedydd hefyd nid yw yn vnig yn arwyddoccau marwolaeth a chladdedigaeth Christ; eithr y mae efe hefyd yn arwyddoccau ein marwolaeth ni i bechod, neu'r gwaith bendigedig hynny o farwhau corph pechod a marwolaeth, trwy ba fodd y mae'r crediniol y rhai ydynt yn myned tan y gyfammod fedyddiawl hon yn cael eu gosod mewn cyflwr grasawn ac addas o gyflawni y rhwymedigaeth sanctaidd hynny, eithr babanod nid ydynt felly.

3. Bôd pôb gwîr gredadyn ac sydd yn cael ei fedyddio, yn ystyried, ac yn pwyso yn ddwys ac yn dditrif naturiaeth y gyfammod hon cyn y byddo iddo ef selio mo honi: Ac,

4. I fod efe yn gwneuthur y peth yn ewyllysgar ac o'i wîr fodd, a'i fod yn gymmeradwy ganddo ef. Y rhai

bethau

bethau ni all babanod truenus mo'i gwneuthur mewn vn modd y rhai yr ydych chwi yn peri iddynt fyned tan y gyfammod hon; fe ymddengus wrth yſtyried y pethau hyn, mal ac y mae'n weithred bechadurus ynoch chwi ddyfod â hwynt tan y gyfammod hon (gan gymmaint a'ch bod yn gwneuthur hyn heb ddim awdurdod neu orchymyn oddiwrth Duw) felly y mae hyn yn greulondeb hefyd tuag at ych babanod ych hun, gan beri iddynt fod yn euog o anudonedd ac wrth hynny damnio (mal y mae Mr. *Williams* yn dywedyd) eu heneidiau eu hunain.

5. Yſtyriwch, fod pob credadyn ac ſydd gwedi cael ei liſtio tan Griſt, yn cael wrth ſyned tan y gyfammod fedyddiawl hon, ei arfogi yn berffaith gwbl gan Griſt, hynny yw, y mae efe yn cael ei amwiſco â'r arfogaeth Griſtnogawl, *Eph.* 6. Y mae gantho ef ddwyfronneg cyfiawnder, tarian y ffydd, ac yn lle helm gobaith jechydwriaeth, a gair Duw, megis cleddyf yn ei law er torri i lawr ei holl elynnion: Fel hyn trwy gymmorth y grafuſau ſanctaidd hyn o'r yſpryd, y mae efe yn gallu ymladd yn erbyn pechod, y byd, y cnawd a'r diafol: Eithr och! yr ydych chwi yn liſtio 'ch babanod yn y rhyfel hwn ac yn peri iddynt ammodi ac adduno ymmwrthod a'r diafol a'u holl weithredoedd, rhodres a gwagedd y byd drygionus hwn, a ddrygchantau y cnawd——— Eithr nid ydych yn eu harfogi hwynt; pe byddei bedydd yn ſtofi grâs arnynt ac yn arfogi eu heneidiau, fe ſyddei hynny yn rhyw-beth; eithr pwy a anturia haeru hyn? as os gwnaiff felly, pwy a ſydd neu a all ei gredu ef.

6. Duw hefyd a addawodd gynnorthwyo, amddiffyn a helpu y crediniol oll ac ſydd yn cael eu bedyddio ag anghwaneg o râs; ie, y mae ganddynt hwy, gan eu bod gwedi cael eu huno mewn gweithred â Chriſt ei ymlanwadau bendigedig ef arnynt; heblaw hyn y mae addewidion Duw, marwolaeth, adgyfodiad a chyfryngiad Chriſt, a'r gyfammod dragywyddol o râs, yr hon ſydd gwedi ei threfnu ymmhôb peth ac yn ſiccr, yn amdiffyn eu heneidiau hwynt oll; eithr nid yw'r peth fel hyn o achos y babanod truenus y rhai yr ydych chwi yn ymddwyn tan y gyfammod hon; yr ydych chwi yn debyg i feiſtred-Gwaith *Pharaoh* gan orchymyn iddynt wneuthur pridd-feini heb roddi iddynt wellt.

Drachefn

Drachefn ystyriwch, pa fôdd trwy hyn y mae'r rhan fwyaf o'r gwledydd yn euog o anudonedd; mysi a appelia at gyd wybodau pawb ac sydd ddeallus ac yn ystyried pethau, pa vn ai nad yw'r matter felly yn ôl ych gwyddorion a'ch ymarferiad chwi. Och *Lloegr!* alara a griddfan, y mae dy gyflwr yn druenus jawn; Os ydyw'r dynnion hyn yn llefaru'r hyn sydd vniawn a gwîr, pa llaws ynot a barwyd i fyned tan y gysammod hon, y rhai ni chyflawnasant erjoed mo honi: o Genedl anunon, bobl anudon ac athrawyr anudod, canys felly y mae dy holl athrawon aflan a meddwon; onid ydyw'r rhain gwedi tyngu yn anudon hefyd? a gadwasant hwy eu hadduned a'u cyfammod; Gwaesi Sr, yn lle iddynt alaru am y pechod hwn nyni a allwn gasclu na feddyliasant erjoed am dano ef. Eithr bydded iddynt dorri ymmaith eu pechodau trwy gyfiawnder, fy meddwl yw, edifarhau ac ymwrthod â'r gweithredoedd ffieidd a drygionus, o ba rai y mae llaweroedd, yn gystal o'r offeiriaid a'r bobl yn euog, a bydded iddynt geisio grâs iw hadnewyddu, ac felly ni bydd raid iddynt ofni 'r pechod newydd-ddychymygol hwn o anudonedd; oblegid od yw gair Duw yn argyhoeddi o bôb pechod onid ydyw yn argyhoeddi o'r fâth anudonedd a hwn? Nid yw hwn yn anudonedd oll, my feddwl yw torriad vnigol o'r gysammod honno; er bod y pechodau hynny trwy ba rai yr ydys yn dywedyd i bod hwy yn ei thorri hi yn draituriaeth ffieidd a gwrthryfel yn erbyn Duw'r nefoedd, ac yn ei annog ef i ddigofaint bôb dydd; eithr y mae gair Duw yn argyhoeddi o bôb pechod, ac etto nid yw yn argyhoeddi o'r fâth anudonedd a hwn, am hynny ni all fod yn anudonedd fel yr ydys yn haeru; nid yw hwn y fâth lofruddiaeth wrth ba vn y mae Dyn yn ei lâd ei hun, nid hwn yw'r pechod damnedig; nage, nage; eithr anghrediniaeth neu ddiystyrwch o râs Duw neu esceulusso y jechydwriaeth a gynnigir ini gan Grist yn yr efengyl.

5. 'Y mae bedydd (medd Mr. *Burkit*) a weinidogaethir 'ym mebyd â'r bûdd neillduol hyn ynddo vwchlaw'r hwn 'a weinidogaethir mewn cyflawn oedran, gan i fod efe yn 'rhoddi i'r rhieni duwiol sail cryf o obeithio fod eu plant 'sydd yn marw yn eu mebyd yn gadwedig; y mae efe 'yn gwneuthur (meddwch chwi) yr ordinhâad honno yn 'Ganawl o râs, *&c.*

*Atteb.* Y mae hyn yn gyffelyb i'r llal ; Eithr Sr, Pwy awdurdod ſydd gennych chwi am haeru y pethau hyn oll ; chwychwi a wyddoch pa rinweddau rhyfeddol y mae'r *Papiſtiaid* yn ddywedyd ſydd yn llaweroedd o'u defodau Pabaidd, Ceremoniau a'u gwargrêd hwy ſef, yn eu ymgroeſi o honynt eu hunain ac yn eu dwfr cyſſegredig, yn enwedigol yn y peth y maent hwy yn ei alw'n *Agnus Dei* ; eithr pa fodd y maent hwy yn profio hyn ? yn yr vn modd a chyn gyſtal ac yr ydych chwi yn profio yr hyn a ddywedwch ymma ar yr achos hyn ; ac y mae gennym gymmaint o achos i coelio hwynt ac y ſydd gennym am ych coelio chwi yn yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd heb brofiad neu awdurdod oddiwrth air Duw.

2. Rhieni Duwiol ; ond gwaeſi, pa ychydig nifer ſydd o'r ſâth hynny ? Pwy obaith ſydd gan y rhieni annuwiol a llygol am jechydwriaeth eu babanod ſydd yn marw felly ? Eithr Sr, myfi a dybiais fod plant y rhieni duwiol a chrediniol oll yn cael eu geni mewn cyfammod â Duw, ac y byddei i ffydd y rhieni eu hamddyffyn hwy, pa vn ai byddei iddynt gael eu bedyddio neu peidio ; onid oedd plant benywaid yr Iddewon yn ſafadwy, y rhai ni chawſant enwaedu arnynt, ac onid oedd y plant gwrywaid yn gadwedig y rhai a fuant feirw cyn yr wythfed Dydd.

3. Oddiwrth ba ſcrythur y gall y rhieni duwiol hyn, er eu bod hwy yn annwybodus ac yn cael eu twyllo, obeithio y caiff eu plant y rhai ſydd yn marw yn eu mebyd fod yn gadwedig, ac neb ond eu plant hwy y rhai ſydd yn cael eu bedyddio neu yn hytrach eu taenellu ?

4. A ſydd y rhai ſydd yn dal bedydd babanaidd yn gwneuthur bedydd yn jachawdwr iddynt, a all bedydd eu hachub hwynt ? ac a ydyw'r peth felly mewn gwirionedd ? a ydyw gan hynny ymmhwer rhieni achub neu ddamnio eu plant ? A pha fodd y daeth bedydd i gael y ſâth rinwedd ynddo ef ? neu pwy a wnaeth hwn yn Ganawl o râs i fabanod y ſydd yn marw ? onid ydych chwi yn goſod y rhinwedd hynny mewn defod oddiallan, yr hwn ſydd yn vnig yn perthyn i waed Chriſt a grâs ſancteiddiedig yſpryd Duw ? y mae Mr. *Perkins* ar y *Gal. pen.* 3. *tu dalen* 256. Yn dywedyd fod bedydd yn wîr yn achub, eithr, medd efe, nid bedydd dwfr yw hwnnw, eithr ymrwym cydwybod dda trwy'r adgyfodiad ; a thrachefn, (medd efe) y bedydd oddiallan, heb yr hwn ſydd oddifewn nid yw yn nôd o blen-

tyr

tyn Duw eithr nôd ddyn ynfyd, yr hwn sydd yn gwneuthur adduned ag gwedi hynny yn ei thorri hi.

5. Oni all y fâth athrawiaeth a hwn sydd ganddynt hwy dueddu yn eglur tuag at darddu a brawychu rhieni truenus rhag ofn iw holl fabanod yr rhai sydd yn marw ynghrôth eu mammau, neu cyn y caffont eu bedyddio, fod yn ddamnedig ? ac ymmha gyflwr truenus y mae holl blant dynnion drwg ac annuwiol, babanod pa rai ni feidiwch chwi, ie ni ellwch fedyddio, os sefwch wrth eich gwyddorion eich hyn ? Eithr fe ddichon y testun hwnnw roddi ini well sail o obaith fil o weithiau o barthed cyflwr da ein babanod y sydd yn marw, pa le y mae ein jachawdwr yn dywedyd, oblegid o'r cyfryw y mae teyrnas nefoedd; a'r lle hwnnw yr ydych chwi yn grybwyll am dano, myfi a âf atto ef, ac efe ni ddychwel attafi, ynghyd â thrugaredd anfeidrol Duw trwy rinwedd gwaed Crist, yr hwn a all roddi cymmorth a jachâad i fabanod ac ynfydion ac sydd yn marw, mewn ffyrdd na wyddom ni ddim o'u plegid; ac nid oes ini derfyscu mo honom ein hunain ynghylch y fâth bethau dirgel y rai ni datcuddiwyd jni.

6. Y mae Mr. *Burkit* yn dywedyd; 'fod yr arfer o fedyddio babanod yn ymddangos yn fuddiol jawn o herwydd 'ei fod et yn rhag flaenu'r fâth esceulustra cywilyddus o 'fedydd er tramgwydd i'r grefydd gristnogaidd.

*Atteb* 1. A ydyw gan hynny yn dramgwydd cywilyddus esceuluso traddodiad dynol (oblegid myfi a brofiais fod bedydd babanaidd o'r fath hynny) Pa le y mae'r cywilydd a ddylei fod mewn Cristnogion, am fod cyfreithiau a gorchymynnion Crist yn cael eu hesceuluso, a'i ordinhâad werthfawr ef o fedydd yn cael ei dyrmygu a'i chywilyddio yn y modd hyn gennych chwi a miloedd o rai eraill, tra y mae ordeiniaid *Omri*, yn cael eu cadw a'u dilyn yn eiddigus, mal yr oedd y Prophwyd gynt yn achwyn; fy meddwl yw, traddodiad a defodau dynol (yn gyffelyb i'r rheini o *Omri* y rhai a ordeiniwyd ganddo ef a *Jeroboam*) tros ba rai y bu ych eglwys chwi a llaweroedd o eglwysi llygredig eraill yn eiddigus hyd y dydd heddyw; ac fel hyn y darfu imi ymholi a myned tros y chwech o bethau a ddaeth gan Mr. *Burkit* tuag at brofio bôdd bedydd babanaidd vwchlaw bedydd y crediniol, yr hwn a ordeiniwyd gan ein jachawdwr bendigedig: Ac myfi a gaf ynawr ddangos i chwi fod bedydd babanaidd

 cynbelled

cynbelled a bod yn fwy buddiol na bedydd y crediniol neu'r rhai y sydd o oedran, ai fod ef yn gyfeiliornad peryglus, ac am hynny yn ddi-fuddiol oll, eithr yn y gwrthwyneb yn beth pechadurus jawn.

2. Darllennydd, a all y peth hwnnw wneuthur dim llês, ac y sydd yn dyfod ag euogrwydd ar y rhieni, pan y gwnaent ef, gan beri iddynt fod yn euog o ewyllys-grefydd neu draddodiad dynol?

3. A all hwnnw fod yn fuddiol yr hwn sydd yn dyfod a babanod truenus i'r fath gyfammod, yr hon ni ordeiniwyd erjoed gan Grist iddynt hwy gymmeryd arnynt; ac i'r hwn ni roddasant hwy mewn vn modd neu gilydd mo'i cyttundeb neu eu gwîr fôdd? a'r hyn nid ydynt hwy yn gallu mo'i gadw oll; a'r hwn nid yw yn rhoddi iddynt nerth eu cyflawni; ac nid oes vn addewid oddiwrth Dduw am eu cynnorthwyo hwynt i wneuthur felly; ac etto yr ydys yn eu cyhuddo hwynt am beidio a'i gadw ef o fod yn euog o anudonedd, o'u lladd eu hun, ie ag vffern a damnedigaeth.

4. A all hwnnw fod yn fuddiol i fabanod yr hwn sydd yn eu hudo ac yn eu twyllo hwynt, gan beri iddynt pan y tyfont i fynu dybied iddynt hwy wrth hynny gael eu gwneuthur yn Grlstnogion a myned yn blant i Dduw, aelodau o Grist, ac etifeddion teyrnas nefoedd; ie, a'u hadgenhedlu, ac oddi ymma heb edrych byth ar ôl gwaith grâs neu adgenhedliad heblaw hyn, eithr yn casclu fod pôb peth o'r goreu gyda hwynt?

5. A all hwnnw fod yn beth fuddiol, gwneuthyriad pa vn sydd yn gyfnewidiad eglur o eiriau Commissiwn Crist ac felly yn gwrthdroi y drefn sanctaidd honno a adawyd ganddo ef ynghylch bedydd, yr hwn nid yw yn gofyn am i neb gael eu bedyddio hyd oni chaffont yn gyntaf eu dyscu a'u gwneuthur yn ddiscyblion?

6. A ddichon hwnnw wneuthur dim llês i faban, yn yr hwn ni ellwch chwi na neb arall brofio oddiwrth air Duw fod dim daioni neu fendith o'i plegid hwy?

7. A ddichon vn ddefod neu draddodiad dynol (a debygwch chwi) achub plant truenus, neu ychydig ddwfr gwedi ei dywalltu ar eu whyneb olchi ymmaith y pechod dechreuol, neu a fendithia Duw y traddodiad dynol hwnnw?

8. A ddichon Dwfr ennill plant i Grist, neu a ddichon y peth hynny fod yn fuddiol iddynt hwy, o ba vn y mae ganddynt yr arwydd yn vnig, ac nid y peth a arwyddocceir, sef arwydd yr adenedigaeth, eithr heb, yr adenedigaeth ei hun; arwydd grâs, ac heb râs ei hun; yr ydych yn rhoddi iddynt y plisgyn heb y cnewyllyn, enw Cristion heb naturiaeth Cristion, gan wneuthur yr hyn yr ydych chwi yn alw yn fedydd Christ (mal y mae Dr. *Taylor* yn dywedyd) yn arwydd heb affaith, ac yn gyffelyb i'r ffygusbren yn yr efengyl, yn llawn o ddail, eithr heb ddim ffrwyth.

9. A ddichon y peth hynny fod yn fuddiol yr hwn sydd yn tueddu i wneuthur yr eglwys Efangylaidd yn genhedlig, (ac yn cymyscu'r byd a'r eglwys ynghyd) yr hon a ddylei fod yn gynnulltiedig, yn bobl sanctaidd neilltuol mal gardd gwedi ei hamgylchu.

10. A ddichon bedydd fod yn fwy buddiol i fabanod na'r crediniol ac sydd o oedran; er bod y scrythur yn dywedyd, nad yw'r hwn sydd yn cael ei fedyddio yn vnig yn credu, eithr hefyd yn galw a'r enw'r Arglwydd, *Actau* 22. 16. a all babanod wneuthur felly?

11. A ddichon bedydd babanaidd fod yn fwy buddiol na bedydd y crediniol, ac etto bod bedydd yn ordinhâad o briodas yr enaid â Christ? ac onid ydyw honno yn briodas rhyfeddol, mal y mae Mr. *Baxter* yn dywedyd, pa le nid oes dim cydsyniad yn ymddangos; a all plant wneuthur felly?

12. A ddichon bedydd babanaidd fod yn fwy buddiol na bedydd y crediniol, ac etto bod bedydd yn cael ei alw yn *Atteb* o gydwybod dda? a ddichon plentyn bâch gyfatteb cydwybod dda wrth gael ei fedyddio trwy vfydddod i orchymyn Christ, ac er dala allan ei farwolaeth a'i adgyfodiad ef?

13. A ddichon bedydd babanaidd fod yn fwy buddiol na bedydd y crediniol, gan gymmaint ac nad oes gan y cyntaf ddim addewid gwedi ei wneuthur iddo gan Dduw, ac etto y mae gan y llall laweroedd megis *Actau* 2. 36, 37, 38. *Marc.* 16. 16.

14. A ddichon y peth hwnnw fod yn fuddiol, yr hwn sydd yn diddymmu dibennion sanctaidd ac ysprydol bedydd? y rhai, mal y dangosasom ni, ydynt amryw, eithr mal yr ydys yn ei weinidogaethu ef i fabanod truenus, yr ydys yn ei wneuthur yn llwyr anfuddiol, ac yn beth diddym.

15. Yn ol yr hyn y mae Mr. *Perkins* yn nodi fod bedydd yn arwyddoccau dau beth. 1. Ein hundeb ni â Christ; 2. Ein cymmundeb ag ef; ynawr pa fodd yr ymddengis hyn mewn babanod megis y cyfryw, mal y mae yn y crediniol. *Perkins* ar y *Gal*, *tu dalen* 265.

16. Onid ydyw hwnnw yn arfer ac yn athrawiaeth anghysson, yr hwn sydd yn gwneuthur Crôth frwythlawn gwraig dduwiol yn fwy buddiol tuag at amlhau eglwys Crist nag y mae'r efengyl ffrwythlawn.

17. Onid ydyw'n beth anghysson ddigon ddywedyd y gallei *Abraham* â'i arian brynu a dyfod a dieithraid o'r cenhedloedd a wnaethpwyd yn Proselytiaid i'r gyfammod o râs; ac os gallei *Abraham* eu prynu a dyfod â hwynt i'r gyfammod o râs, ag arian ag aur, pwy achos oedd am i Jesu Grist i prynu a'u pwr-casu hwynt â'i waed ei hun.

18. Onid ydyw hwnnw yn arfer ac athrawiaeth anghysson yr hwn sydd yn dal allan fod gan rieni duwiol bwer i ddyfod a'u plant i mewn i'r gyfammod o râs, neu cadw hwynt allan o honi; oblegid os nid ydych chwi wrth eu bedyddio hwynt yn dyfod â nhwy tan y gyfammod o râs, eithr ych bod chwi yn credu i bod hwy yn y gyfammod honno, o herwydd iddynt gael eu geni o rieni crediniol, eu hennill gennych chwi yn ôl y cnawd; yna y mae'n canlyn, os rhai crediniol ydym ni, fod ein plant ni mewn cystal cyflwr a'ch plant chwithau, er na chawsant erioed mo'i bedyddio.

---

PEN.

---

# PEN. XXII.

*Gan roddi Atteb i drydydd bennod ar bumtheg Mr.* James Owen, *ymmha vn y mae efe yn dangos dyledſwydd Rhieni iw plant, gan broſio yn wrthwyneb i'r hyn y mae efe yn ei ddywedyd, na ddylei rhieni gyſſegru eu babanod i'r Arglwydd trwy fedydd.*

YR ydych chwi yn dywedyd, ' pe byddei rhieni yn cyflawni eu dyledſwyddau tuag at eu plant, ac yn ' dangos iddynt pa ſodd yr arferent yn vniawn eu bedydd, ' fe fyddei mwy o dduwioldeb a ſobrwydd yn y wlâd, a ' niſer y cyfryw ag ſydd yn gwadu eu bedydd a fyddei ſuchain, *&c.*

*Atteb.* 1. Pe byddei rhieni yn gyffredinol yn cymeryd mwy o oſal am eneidiau eu plant ac yn eu athrawiaethu hwynt yn gwyddorion y grefydd griſtnogaidd yn well nag y maent; uid oes dim ammeu na byddei ſobrwydd a duwioldeb yn fwy helaeth nag ynawr y maent ymmhôb lle.

2. Eithr o ran jawn arferiad o'u bedydd, nid ydych chwi eich hunain yn gwybod nag yn gallu dywedyd pa ddaioni a all efe wneuthur iddynt, oblegid na chaedd ei appwintio gan Dduw.

3. Pe byddei rhieni yn dyſcu eu plant yn ôl gair Duw ſef, i gredu a chael vndeb â Chriſt, a pheidio a'u bedyddio hwynt hyd oni byddent yn ei geiſio ef yn ôl y ſcrythur, fe fyddei bedydd babanaidd yn diflannu yn glau ddigon.

*Edrychwch* (meddwch chwi) *am ych bawl eich hunain yngbyſammod Duw; onid ydyw Duw yn Dduw i chwi, nid yw efe yn Dduw i'ch hâd chwi.*

*Atteb.* 1. Beth pe na fyddei rhai o'r rhieni hynny, plant ba rai yr ydych chwi yn eu bedyddio mewn cyfammod â Duw,

â Duw, pa hawl ſydd gan eu plant hwy i fedydd, onid yw'r bedydd hwnnw yn ddiddym? nid fel hyn yr oedd y peth o ran enwaediad; os y rhieni oeddynt hâd naturiol *Abraham* pa vn ai bod hwy yn dduwiol neu annuwiol, yr oedd iddynt hwy enwaedu ar eu plant gwrywaid.

2. Er, gwîr yw, nad oes gan ddyn o edran yr hwn nid yw wîr grediniol hawl i fedydd; etto os gwnaiff broffes o ffydd ynghriſt, fe ddichon gweinidog, yr hwn nid yw yn adnabod ei galon ef, ond yn gweled nad oes dim achos iddo fod yn ddrgwdybus ynghylch ſiccrwydd a gwirionedd ei ffydd, fedyddio y cyfryw; eithr nid oes dim awdurdod gennych am fedyddio plentyn a'r broffes ffydd vn o'i rieni er bod ei ffydd ef yn ddiragrith.

2. *Pan y byddont gwedi eu geni, byddwch barod i rhoddi hwynt i ſynu a'u cyſſegru* (meddwch chwi) *i'r Arglwydd trwy'r ordinhâad ſanctaidd o fedydd; y mae llawer yn bedyddio eu plant, megis pe bae beth Ceremoniaidd ac o gwſtwm yn vnig, heb edrych at yr Arglwydd,* &c.

*Atteb.* Trwy awdurdod pwy y mae'n rhaid iddynt hwy wneuthur fel hyn, ſef cyn gyntaf ac y caffo eu plant eu geni, i cyſſegru hwynt i'r Arglwydd? nid yw hyn yn ol awdurdod Gair Duw, ac am hynny dryll o ewyllys-grefydd ydyw; fe wnai rhieni yn dda weddio tros eu babanod cyn gyntaf ac y caffont eu geni, eithr oni ofynyr iddynt eu bedyddio gan Griſt, nid oes iddynt wneuthur felly.

2. Pwy bynnag gan hynny ac ſydd yn bedyddio eu babanod ſydd yn gwneuthur hyn yn vnig mal Ceremoni a ddychymygwyd gan Ddyn; er nad yw eu bwriad felly, am fod eu cydwybodau yn cael eu cam-arwain.

*Chwychwi a ddylech* (meddwch chwi) *fod yn ddifrîf ynghylch eu bedydd; Megis pe byddem yngbylch ein bedydd ein hunain; y mae'n rhaid ini wneuthur troſtynt hwy yr hyn a dylaſei'r plentyn wneuthur pe buaſei o oedran a dealltwriaeth; ac mal y mae gwragedd pan y bo eu plant yn gleiſion yn cymmeryd meddyginiaeth eu hunain, yr hyn a ddylei'r plant ei gymeryd, fel y gallo y plentyn gymmeryd y feddyginiaeth yn llaeth ei fam, felly hefyd gwnewch chwi yr hyn a ddylei'r plentyn wneuthur pe buaſei o oedran cyn bedydd.*

*Atteb.* 1. Y mae rhai o'r *Papiſtiaid* yn ddifrîf jawn ynghylch eu Ceremoniau dychymedig; eithr nid yw hynny

ny mewn vn modd yn eu gwneuthur hwynt yn gymmeradwy gyda Duw.

2. Onid ydych chwi yn y man hyn megis ac pe baech yn addef mae dyledswydd y plentyn ydyw pan y delo o oedran, gael ei fedyddio, eithr chwychwi a fynnwch iw rieni wneuthur hyn dros y plentyn; eithr pa fodd y profiwch chwi, y bydd i Dduw dderbyn hyn ar ddwylo y rhieni, yr hwn y ddylei'r plentyn wneuthur pan y byddo o oedran.

Mysi a ddangolais i chwi, na fynnent hwy mewn *cwnsli cynnar* adael i wraig feichiog gael yr ordinhâad o fedydd, rhag ofn y byddyt yn tybied i'r plentyn gael ei fedyddio gyda'r fam.

3. A ydyw ffydd a sancteiddrwydd y fam yn dda ac yn fuddiol i enaid y plentyn mal y mae ei llaeth yn gwneuthur llês ac yn fuddiol i gorph ei phlentyn; pa fath o athrawiaeth ydyw hwn? Eithr fe ddichon y peth fod felly os gwîr ydyw'r hyn a ddywedasoch chwi o'r blaen, sef fod y plentyn yn rhan o'r rhieni.

3. *Bendithiwch yr Arglwydd am y gysammod o râs* (meddwch chwi) *ac am Grist cyfryngwr y gysammod honno, ac am fedydd sêl y gysammod; a ydyw llêd y gysammod yn beth bychain yn dy olwg di, fod y Duw byw yn rhwymo ei hun iti ac i'th hâd pechadurus; a peth bychain ydyw iddo ef gymeryd trugaredd arnynt hwy, pan yr oeddynt mo'r aflan yn eu gwaed, a'u golchi hwynt a myned mewn cysammod a nhwy,* Ezec. 16. 5, 6.

*Atteb.* 1. Y mae gennym ni oll achos o fendithio'r Arglwydd am y gysammod o râs ac am Grist ei chyfryngwr hi ar yn hachos ein hun ac ar achos ein plant; eithr yr ydych chwi yn haeru yr hyn ni ellwch brofio sef fod bedydd yn sêl o'r gysammod o râs; oblegid a oes gan y gysammod o râs vn sêl arall yr hon sydd yn selio ini holl fendithion y gysammod honno heblaw'r yspryd glân yn vnig; yr ydys yn galw yspryd Duw yn sêl, *Ep.* 1. 13. 14. ac *Pen.* 4. 20. Eithr nid ydys yn galw bedydd felly mewn vn man.

2. Od oes gan ein holl blant ni sêl y gysammod o râs neu'r gysammod honno a'i holl fendithion gwedi selio i fynu iddynt hwy oni byddant hwy eu gyd yn gadwedig; oblegid y mae Pawb yn gwybod fod sêl yn rhoddi siccrwydd o'r holl sûdd, fraintiau a bendithion ac sydd yn cael

eu

eu cynnwys yn y gyfammod honno wrth ba vn yr ydys yn ei dodi hi.

3. Yr ydych chwi yn camarfer y testun hwnnw yn *Ezec.16. 5, 6, 7.* Nid yw hwn yn perthyn i'r babanod megis y cyfryw, eithr i *Israel* Duw neu rai crediniol, y rhai vnwaith oeddynt yn gyffelyb i faban truenus gwedi cael eu taflu allan yn eu gwaed; eithr Duw a wnaeth gyfammod â ni ac a'n golchodd ni, *&c.* A ydyw plant y crediniol oll gwedi eu golchi yngwaed Christ? nid oes dim ammeu nad ydynt hwy oddifewn y gyfammod o râs ac yn cael eu golchi, a sydd yn myned i'r nefoedd ac yn marw yn eu mebyd; eithr y mae'r lleill yn ymaros yn aflan yn eu aflendid dechreuol a gweithredol hyd oni chredont ynghrist, ac y byddo iddynt gael eu hadgenhedlu trwy râs Duw; er iddynt gael en bedyddio, oblegid nid yw hynny yn eu golchi hwynt.

4. *Gosodwch amser ar y neilltu* (meddwch chwi) *i weddio yn eiriol ar yr Arglwydd am iddo faddeu pechodau'ch plentyn, sancteiddio ei naturiaeth a bendithio'r ordinhâad o fedydd iddo ef*, &c.

*Atteb.* Gweddi sydd dda ac y mae'n ddyledswydd mawr arnom ni weddio tros ein plant, eithr gocheiwch weddio am fendith ar eu bedydd hwynt, gan gymmaint ac na appwyntiodd Crist vn bedydd iddynt hwy yn eu mebyd; a addawodd efe vn fendith i hwnnw, neu a fendithia efe vn dychymyg dynol?

5. *Pan y byddo'r gweinidog yn bedyddio dy blentyn, bydd di yn gweithredu ffydd ynghyfammod Duw trosot dy hun a'th blentyn*, &c.

*Atteb.* Pa fodd y gellwch chwi weithredu ffydd yn yr hyn beth ni wnaeth Duw vn addewid i chwi neu'ch plant? Fe ddichon y crediniol yn ddiau weithredu ffydd wrth gael eu bedyddio.

1. O herwydd i Grist orchymyn iddynt gael eu bedyddio, *Mat.*28. 19, 20. *Actau* 2. 37.

2. O herwydd iddo wneuthur iddynt hwy addewidion o fendithion mawr mewn bedydd, *Marc.* 16. 16. *Actau* 2. 37, 38.

Eithr nid oes na gorchymyn am, nag addewid gwedi cael eu gwneuthur i fabanod a fedyddier.

*Yn olau, peidiwch ag oedi mal y gwnaeth* Moses *i enwaedu ar ei blentyn*, Ex. 4. 24. *Yr hyn beth y sy debygol a pheri iddo*

golli

*golli ei fywyd; gwir yw, nid yw Duw ynawr yn ein rhwymo ni i synu wrth yr wythfed dydd, mal y gwnaeth efe â'r Iddewon, etto ni ddylem ni oedi mo'r peth. Gwelwch* Cyprian fidem tu dalen 59.

*Atteb.* Na fyddwch ry fuan, ac na wnewch ormodd ffrwst heb fod gennych Dduw i'ch cyfarwyddo chwi; Pa ham na ddylem oedi, pan nad yw efe mewn yn man yn dywedyd ar yr wythfed dydd, nag yn flwydd oed, nag yn dair blwydd oed; eithr pan y byddont yn credu, yna y dylent adgyfodi yn wîr a pheidio ag oedi ond cael eu bedyddio; eithr yn gymmaint ac nad oes gennych yn scrythur am y cynghor hyn, yr ydych yn crybwyll *Cyprian* yr hwn ni fynnei i'r rhai fydd o oedran oedi; od yw efe yn dywedyd hyn am fabanod nid yw'n rheol ini; yr oedd yr ordinhâad gwedi llygru yn ei amser ef; Pa le y mae'n scrifennedig yngair Duw; yr oedd gorchymyn gan *Moses* am enwaedu ar ei fâb yr wythfed dydd, am hynny ni ddylasei efe oedi mo hono yn hwy; eithr beth yw hyn i'ch cyflwr chwi.

2. *Yn llawen*, meddwch chwi, *megis un ac fydd yn priodi ei blentyn â'r Arglwydd Jesu Grist.*

*Atteb.* A wnewch chwi hyn yn llawen, na wnewch mo hono oll ar berygl ych bywyd.

Priodas ryfedd ydyw (mal y mae Mr. *Baxter* yn dywedyd) ple nid oes dim cyttundeb.

3. *Yn gyhoeddus* (meddwch chwi) *ger bron y gynnulleidfa.*

*Atteb*, Ac etto heb fod cywilydd arnoch, dangoswch ych awdurdod yn gyntaf; ych cynghorion eraill ydynt yn dra iawn, heblaw'r hyn yr ydych yn ei ddywedyd ynghylch bedydd babanaidd; chwychwi a ellwch, wrth ddyscu ych plant i adnabod y scrythur lân, a rhoddi iddynt siamplau da a'u gosod hwynt mewn teuluoedd duwiol, ddisgwyl am fendith oddiwrth Dduw; Eithr y pethau hyn ni chwanegant ddim rhinwedd at fedydd babanaidd tuag at i wneuthur mewn yn modd yn effeithiol iddynt hwy. Ac fel hyn yr wyf yn dibennu ar fy attebion i'ch wythfed bennod ar bumtheg.

PEN.

# PEN. XXIII.

*Gan roddi Atteb i nawfed bennod ar bumtheg Mr.* James Owen, *ymmha un y mae efe yn rhoddi cynghor i blant, gydag attebion iw ymofynnion ef, i ba rai y mynnei efe i'r rhai sydd yn wrthwyneb i fedydd plant wneuthur eu gwrth-attebion.*

'YR ydych yn erchi i blant fendithio Duw am fraintiau eu bedydd, Duw a'ch cymmerodd chwi iw gyfammod (meddwch chwi) gyda'ch rhieni; efe a'ch rhagflaenodd chwi â bendithion ei ddaioni, ac a'ch gwnaeth chwy yn agos y rhai oeddych o hir-bell; nid ydych chwi ddim mwyach yn ddieithraid a phellennig, eithr cyd-ddinaswyr â'r Sainct a theulu Duw, *Ep.* 2. 19.

*Atteb.* 1. A raid iddynt hwy roddi diolch i Dduw am eu rhieni eu twyllo hwynt a cham obaith o fraintiau, y rhai ni wyddont hwy na chwithau beth ydynt; neu am osod dichell arnynt gan beri iddynt dybied fod eu cyflwr hwynt yn well wrth hynny, ac etto heb fod yn gallu profio oddiwrth air Duw i fod efe felly.

Pa fodd y mae Duw yn eu rhagflaenu hwynt â bendithion ei ddaioni wrth ych bod chwi yn eu taenellu hwynt; a ydyw'ch bedydd lledrithiog chwi yn gweithio grâs neu agweddau grasslawn ynddynt hwy, neu beth yr ydych chwi yn ei feddwl; neu a bendithion yr adduned honno ydyw yr hon a ddaethoch chwi â hwynt tani heb ddim awdurdod oddiwrth Dduw?

Onid oes arnoch chwi gywilydd gan haeru fod plant trwy fedydd yn cael eu gwneuthur yn agos i Dduw, ac felly yn cael eu gwneuthur yn blant i Dduw y rhai ydynt wrth naturiaeth blant digofaint? *a dim mwyach yn ddieithrddynion a phellennig*; os y peth y fyddei fel hyn oni byddant

hwy

hwy oll gadwedig: A all neb ddyfod â phlant yn agos at Dduw, a'u gwneuthur hwynt yn gyd-etifeddion a dinaswyr â'i Sainct, heblaw gwaith sanctaidd yspryd Duw ar eu calonnau; ac a ydyw'ch bedydd chwi yn gwneuthur hyn.

2. A all y cyfryw, ac nid ydynt mwy nâ'r yn ddieithraid oddiwrth Dduw, *&c.* fod yn golledig byth? a oes possibilrwydd iddynt lwyr gwympo ymmaith oddiwrth gyflwr gwir grâs? ac oes fel hyn y mae'r peth, oni ddylei'ch plant gael holl fraintiau teulu Duw, Swpper yr Arglwydd, *&c.*

3. A fyddwch chwi, yn cyfedliw y braintiau vchel a mawrion hynny y rhai sydd yn perthyn i'r crediniol, a'r rhai yn vnig ac sydd gwedi cael eu geni o'r yspryd, i'ch plant truenus, y rhai ydynt etto yn parhau yn blant digofaint, ac heb gael eu hadnewyddu gan râs Duw, onid ydyw hon yn ffordd barodol i ddallu llygaid ych plant a dinistrio eu heneidiau pe byddent yn ych coelio chwi yn y peth hyn.

*Yr ydych chwi* (meddwch chwi) *tan y rhagluniaeth grasusol hwnnw, yr hwn sydd yn gwylio tros yr eglwys*, &c.

*Atteb.* Y mae'n rhaid i chwi brofio yn gyntaf i bod hwy yn aelodau o'r eglwys ac nid yn aelodau yn vnig, eithr eu gyd yn bobl etholedig; oblegid y fâth aelodau ydynt hwy ac y mae rhagluniaeth neilltuol Duw yn gwilio trostynt.

'Yr ydych chwi yn dywedyd, y mae gennych ran yn y
'gweddiau yr ydys bennydd yn osod i fynu tros Eglwys
'Duw, Ps. 72. 15. *Gweddiant hefyd trosto ef yn wastad, ben-*
'*nydd y clodforrir ef*, Ps. 51. 18. *Gwna ddaioni yn dy ewyllys-*
'*garwch i* Sion, *Adeilada furiau* Jerusalem. Gal. 6. 16 *A*
'*chynifer ac a rodiant yn ôl y rheol hon, tangnefydd arnynt a*
'*a thrugaredd, ac ar* Israel *Duw.* Pe buasech heb fedydd,
'chwychwi a fuasech oddiallan ac felly heb ddim rhan yn y
'gweddiau hyn.

*Atteb.* Mysi a osodais rai o'r testunau o'r scrythur i lawr yn helaeth ac yr ydych chwi yn nodi, ac onid yw'r testun hwnnw yn *Ps.* 72. 15. yn perthyn i Grist Jesu mewn ystyr personol, ac onid yw yn vnig felly, etto y mae i gorph dirgel Christ, sef etholedigion Duw, ac nid i holl aelodau 'r eglwys weledig, mal y cyfryw, 'ac felly y mae hefyd yn y scrythurau eraill; ac a anturiwch chwi yn y modd hyn gam-

arfer

arfer y scrythurau sanctaidd, gan fwrw y gweddiau a'r addewidion hynny at ych babanod eu gyd y rhai'r ydych chwi yn ôl eich arfer yn fedyddio.

2. A ydyw'ch plant chwi megis y cyfryw, yn rhodio yn ôl y rheol hwnnw yn *Gal.* 6. 16. a ydynt hwy oll yn greaduriaid newydd, darllennwch y cydwead, neu onid ydych chwi yn cam-arfer ac yn camddeonglu y scrythur sanctaidd.

3. Od ydyw'r personau oll y rhai ni chawsant eu bedyddio heb ddim rhan yn y gweddiau hynny, yr ydych chwi eich hunain hebddynt; oblegid chwychwi a gawsoch yn unig daenelliad nid bedydd, eithr pa bwys yr ydych chwi yn osod ar fedydd; a oes neb yn aelodau o *Sion* ddirgel ac ysprydol Dduw ond y cyfryw ac a gawsant eu bedyddio.

4. Pa fodd yr ydych chwi yn myned ynghylch dallu a thwyllo eneidiau 'ch plant, gan beri iddynt goelio i bod hwy yn aelodau o *Sion* Duw, ac yn cael rhan yn y gweddiau hynny, pan fe allei nad yw wîr, ac nad oes dim o'r fath beth, gan fod rhai o honynt hwy pan dyfont i fynu yn ddynoion drwg ac annuwiol.

3. "Megis ac yr ydych yn aelodau o eglwys Duw, meddwch "chwi, y mae gennych hawl neilltuol i'r addewidion; etifeddi-"aeth yr eglwys ydyw'r addewidion, ac y maent hwy yn per-"thyn iddi hi, ac i neb eraill; megis ac yr oedd yr addewidion "gynt yn perthyn i eglwys weledig yr Iddewon, felly y "maent ynawr i eglwys weledig y cenhedloedd, *Rhuf.* 9. 4. "*Gal.* 4. 28.

*Atteb.* 1. Mysi a brofiais nad yw ein plant, megis y cyfryw, yn aelodau o'r eglwys weledig, ie, ac ni ddylei neb o blant y credadwy gael i cymmeryd iddi hi, ond y cyfryw ac sydd yn credu, edifarhau neu gwedi cael eu hail-eni.

2. Os cymmerir neb eraill, sef y cyfryw ac nad ydynt gwedi cael eu hail-eni, i'r eglwys weledig, pa vn ai bod hwy yn *fabanod* neu *ddynnion o oedran*, nid ydys yn gwneuthur hyn yn ôl appwyntiad Duw, ac am hynny nid oes gan y cyfryw ddim hawl i addewidion neilltuol ac ysprydol Duw, y rhai ydynt etifeddiaeth neilltuol etholedigion Duw.

3. Yr oedd gan eglwys weledig yr Iddewon, os ystyrier hi felly, lawer o addewidion oddiallan yn perthyn iddynt

(nid

(nid ydys yn naccau hyn) y rhai nid oes gan eglwys cenhedloedd ddim hawl iddynt, eithr nid oedd gan holl eglwys yr Iddewon, neu ei holl aelodau gweledig hi hawl i addewidion ysprydol Duw, *Nid* Israel *yw pawb ac sydd o* Israel, Rhuf. 9. 6. *Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn hâd* Abraham *i gyd yn blant,* adnod 7. *Hynny yw, nid plant y cnawd, y rhai hynny sy blant i Dduw, eithr plant yr addewid a gyfrifir yn hâd,* adnod 8. Yr ydych chwi yn crybwyll y bedwaredd *adnod,* eithr nid ydych yn crybwyll yr adnodau a nodais i, y rhai sydd yn eglurhau y bedwaredd adnod, ac fel hyn yr ydych chwi yn myned ynghylch rhoddi cam esponiad o'r scrythur, ac yn twyllo meddyliau 'ch babanod truenus ac eraill hefyd.

*Eithr* (meddwch chwi) *er nad yw'r aelodau o'r eglwys weledig i gyd yn gyfrannogion o râs yr addewidion,* Heb. 4. 1. *Y rhai sydd yn cael eu rhoddi i'r etholedigion yn unig, etto y mae gan holl aelodau'r eglwys weledig fwy o hawl i'r grâs hwn nag eraill ac sydd oddiallan, a'i bai eu hun ydyw, os gwrthodant ef.*

*Atteb.* 1. Sr, yr ydych chwi yn y lle cyntaf ymma yn dywedyd yn vniawn, eithr yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd yn y geiriau nessaf, sydd lwyr ffugiol.

Yr ydych chwi yn dywedyd nad yw'r holl aelodau neu aelodau'r eglwys weledig eu gyd yn gyfrannogion o râs yr addewidion; y mae hyn yn vniawn; eithr pa ham yr ydych chwi yn dywedyd, fod gan holl aelodau'r eglwys weledig fwy o hawl i'r grâs hwn nag eraill, *&c.* Yn ddiau hyn nid yw wîr mo hono; oblegid a oes gan ragreithwyr yn yr eglwys neu ddynnion pwdr a chnawdol, y rhai trwy ddichell sydd yn cael myned i mewn i'r eglwys, fwy o hawl i'r addewidion, na'r eneidiau truenus hynny y rhai sydd yn ymofyn â'r ffordd i'r eglwys weledig gyd a phôb vniondeb calon; y mae arnaf ofn, fod yn beryglus i bobl eistedd tan weinidogaeth y fath athraw; yr wyfi yn haeru fod cyflwr y cyfryw, ac sydd yn dyfod i mewn i'r eglwys, ac etto yn ddynnion rhagreithiol a chnawdol, yn waeth na chyflwr rhai eraill; ac nid ydynt hwy ychwaith tan addewidion grâs yn fwy nag eraill; oblegid

1. Y maent hwy, fe allei, yn casglu, fod pôb peth o'r goreu gyda hwynt, a'u bod hwy gwedi cael eu hymchwelyd, o herwydd bod bugeil yr eglwys, ie, a'r eglwys ei hunan yn barnu felly o'u plegit, ac oddiymma nid ydynt

yn edrych dim pellach am yr-ail-enedigaeth neu wir ymchweliad, eithr y maent yn edrych arnynt eu hunain fod yn sanctaidd, neu yn saincteu Duw; ynawr nid yw addewidion grâs yn rhedeg i'r rhain, mal y maent i'r cyfryw ac sydd yn edrych arnynt eu hunain yn bechaduriaid colledig a thruenus, ymmhell oddiwrth Dduw ac oddifaes llêu yr eglwys weledig; am hynny yr ydych yn gwneuthur drygioni ac aflês mawr i'ch plant gan gymmeryd o honynt i'ch eglwysi, heb iddynt hwy gael eu ymchwelyd a bod yn wîr rasol; nid oes na budd na bendith o fod yn gau-aelod o'r eglwys weledig; eithr beth yr ydych chwi yn ei feddwl, a bai y pechadur ydyw nad yw efe gwedi cael ei ethol, neu a ddichon dynnion ynnyll grâs os mynnant?

2. *Yr ydych chwi yn dywedyd, fod ych plant ac sydd yn cael eu bedyddio yn ceisio deall yn eglur y rhwymedigaeth hynny ag adduned ych bedydd chwi; dyscwch gan eich rhieni a'ch gweinidogion adnabod arwyddoccâad a diben ych bedydd, chwychwi a roddwyd i Grist ac nid eiddo eich hun ydych; yr ydych yn rhwym i ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd, i ymwrthod â rhodres a gwagedd y byd drygionus hwn, i ymwrthod â diddanwch a thrachwantau y cnawd, yr ydych yn rhwym i gymmeryd Duw y tâd yn Dduw i chwi a'ch diben pennaf, a chymeryd y mâb i fod yn Arglwydd a iachawdwr i chwi, a Duw'r yspryd glân yn sancteiddiwr i chwi,* &c.

*Atteb* 1. Y cyfryw ac sydd yn cael eu bedyddio a ddylent ddeall naturiaeth y rhwymedigaeth hwnnw cyn yr elont tan y gyfammod honno.

2. Bwriad bedydd a ordeiniwyd gan Grist er dangos fod yr hwn sydd yn cael ei fedyddio gwedi ail-eni, a marw i bechod; nid am y dylei efe, neu y mae'n rhwymedig arno gwedin gael ei ail-eni; Nage, nage, eithr gwedi y caffo ei fedyddio, y mae efe yn rhwym wrth hynny i rodio mewn newydd-deb buchedd

Yr ydych chwi wrth fedyddio babanod yn gwyro diben a bwriad bedydd, Pa fodd y bydd i'ch plant ddeall y rhwymedigaeth hwn, pan y mae eu rhieni a'u gweinidogion mor annwybodus ynghylch naturiaeth y rhwymedigaeth hynny eu hunain.

3. Y

3. Y mae'r crediniol yn y modd hyn yn cymeryd Duw y tâd, a'r mâb, a'r yspryd glân mewn bedydd i fod yn Dduw iddynt, eithr babanod nid ydynt yn gwneuthur felly yn ôl vn appwyntiad oddiwrth Dduw.

4. Y mae'n debyg ych bod chwi yn foddlon i *Catechysm Eglwys Lloegr*; ac os felly y mae'r peth; y mae'ch holl blant ac yr ydych yn fedyddio yn ôl yr athrawiaeth hwnnw, yn cael eu hadgenhedlu mewn bedydd, ac fe ddarfu iddynt wrth hynny ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd, *&c.*

3. *Pan gyntaf* ( meddwch chwi) *ac y deloch o oedran a dealltwriaeth, adnewyddwch ych cyfammod â Duw; yr Arglwydd yn ei gyfammod a dderbynniodd ffydd ych rhieni trosoch chwi yn ych mebyd, eithr yn awr gwedi i chwi ddyfod o oedran, oni byddwch chwi eich hunain yn credu ac yn edifarhau, ac yn cymeryd Duw i fod yn Dduw i chwi, ni byddych bedydd ddim ymmhellach yn fuddiol i chwi*, &c.

*Atteb.* Yr wyf yn *Atteb*; Os fel hyn y mae'r peth, nid oes dim llawer o rwymedigaeth ar ych plant i ffydd eu rhieni, nag i râs ammodol, neu râs cyfammod; Chwychwi a ddywedwch wrthynt, pan yr oedd eu rhieni yn credu ac yn cael eu hachub, yr oedd eu holl blant yn cael eu hachub hefyd, ac mewn cyfammod gyda hwynt; eithr fe ymddengus ynawr fod hyn yn gwasanaethu yn vnig trostynt, tra y buasant mewn cyflwr babanaidd; hwynt hwy a allant gwympo oddiwrth y gyfammod o râs, a bod yn golledig, er iddynt fod vnwaith oddifewn y gyfammod o râs ac yn cael eu hachub gyda'u rhieni, oni byddant yn credu yn weithredol, *&c.*

2. Eithr pe buasent yn marw yn eu mebyd, fe allei y buasent hwy yn golledig, pe buasei eu rhieni yn anghrediniol; a hyn yr ydych chwi yn ei feddwl? yn ddiau os y cyfryw ydynt ac a gawsant eu hethol, hwy a fyddant gadwedig er iddynt farw yn eu mebyd, pa vn ai buasei eu rhieni yn credu neu peidio; a ddichon ffydd eu rhieni beri eu iechydwriaeth hwynt, neu anghrediniaeth y rhieni rwystro iechydwriaeth eu plant ac felly peri iddynt fod yn golledig? os felly y mae'r peth; y mae iechydwriaeth a damnedigaeth plant yn eu mebyd gwedi cael eu gosod yn nwylaw neu ar ffydd eu rhieni.

3. Ac os felly hyn mae'r peth; Gwae i fabanod truenus yr anghrediniol; a raid iddynt hwy eu gyd fod yn golledig? oni all Christ achub y fath blant trwy ei haeddedigaethau a'i gyfiawnder, na sancteiddio y cyfryw ac sydd yn marw yn eu mebyd, oni bydd eu rhieni yn credu ac yn eu bedyddio hwynt? ac a anturiwch chwi ddywedyd na wnaiff efe mo hyn; pa fath o athrawiaeth dieithr ydyw hwn? Ac

Trwy ba awdurdod yr ydych chwi yn haeru y pethau hynny ac y mae'ch athrawiaeth dieithr yn ych arwein chwi tuag attynt?

4. Gwir yw y mae'n plant i gyd yn rhym gan yr Arglwydd, pan ddelont o oedran a dealltwriaeth i gofio eu creawdwr, ac i ofni, caru, credu a'i wasanaethu ef, trwy awdurdod ei air bendigedig a'r gorchymyn; eithr nid trwy rinwedd vn adduned fedyddiawl a appwyntiwyd ganddo ef iddynt hwy yn eu mebyd i ddyfod tani; fe ddichon cyflwr ein plant os byddant marw yn eu mebyd, fod yn ddiogel ddigon trwy haeddedigaethau Christ, pa vn a'i bod eu rhieni yn credu neu peidio; ac y mae'n ymddangos, nad yw braintiau a bendithion ffydd eu rhieni yn gwneuthur dim daioni iddynt hwy yn hwyach, sef ond yn vnig tra y byddont yn parhau yn eu mebyd.

*4. Yr ydych yn erchi i'ch plant y rhai sydd gwedi tyfu i fynu fyw yn gyfattebol i'w cyfammod.*

*5. Na roddwch* (meddwch chwi) *le brofedigaethau, gan wadu 'ch bedydd cyntaf.*

*Atteb.* Bydded i'ch plant ochelyd rhag iddynt gael eu dallu â'ch breintiau bedyddiawl lledrithiog chwi, felly ac y byddont yn tybied i bod hwy yn vn modd yn well o'i blegid. Meibion a merched jevaingc nid ffydd ych rhieni a roddiff hawl i chwi yn y gyfammod o râs; y mae dwy ffordd o fod yn y gyfammod honno.

1. Mewn modd *rhag-ordeiniol.* 2. Yn *weithredol*; y mae etholedigion Duw oll oddifewn y gyfammod o râs mewn modd *rhag-ordeiniol*, hyd oni chaffont trwy ffydd vndeb â Christ; Och! ymegniwch am gael yr vndeb hyn; yr ydych chwi oll yn blant digofaint wrth naturiaeth, ac nid yw'ch bedydd babanaidd yn cyfnewidio 'ch cyflwr, ac nid oedd gennych ddim hawl i fedydd pan yr oeddych chwi yn fabanod; eithr od ydych chwi yn credu, chwychwi a ellwch ac a ddylech gael eich bedyddio trwy rinwedd Commissiwn Crist ac awdurdod gair Duw; na fydded i chwi

yn

yn y peth hyn adael i'ch ffydd sefyll yn doethineb dynnion eithr ymmhwer ac awdurdod gair Duw, er rhodio yn ôl rheol y scrythur lân; a chan wneuthur fel hyn, nid ydys yn rhoddi lle i brofedigaeth, eithr i ordeiniadau ysbryd Duw; dyweded Mr. *Owen* y fynno.

*Yr ydych yn erchi'ch plant ofyn i'r cyfryw, ac sydd yn nacrau bedydd babanaidd, y cywestiynau hyn a ganlyn.*

1. *Gofynnwch iddynt a allant hwy brofio oddiwrth y scrythur i blant y ffyddloniaid gael eu taflu allan o'r gyfammod o râs os ni's cawsant, yna y mae bedydd fel y gyfammod yn perthyn iddynt hwy.*

*Atteb.* 1. Yr wyf yn attolwg arnoch wyr jevaingc a merched ofyn i Mr. *Owen* pa vn a'i bod holl blant y ffyddloniaid (neu eu plant megis y cyfryw) neu'r oeddynt oddifewn y gyfammod o râs.

2. Os bydd efe yn dywedyd i bod ac y maent hwy etto eu gyd oddifewn y gyfammod honno, gofynnwch iddo pa vn ai nad ydyw'n canlyn y byddant hwy oll yn gadwedig, o herwydd bod y *gyfammod dragwyddol o râs gwedi ei jawn drefnu ymmhob peth ac yn siccr*, 2 Sam. 23. 5. ac addewid o fywyd tragwyddol yn siccr i holl wir hâd *Abraham*, *Rhuf.* 4. 16. gwedi ei gadarnhau trwy addewid a llw Duw, *Heb.* 6. 13. hyd *adned* 19.

3. Gofynnwch iddo pa vn a'i nad ydyw gwîr hâd ysprydol *Abraham* gwedi cael eu hethol i jechydwriaeth neu'n etholedigion Duw.

4. Gofynnwch iddo pa vn ai gall bod llwyr gwrthgwymp oddiwrth y gyfammod o râs, neu fod possiblrwydd i vn o etholedigion Duw gael ei golli yn dragywydd.

5. Gofynnwch iddo oni wnaeth Duw gyfammod â hâd cnawdol *Abraham* megis y cyfryw, yr hon oedd yn perthynu yn neillduol iddynt hwy, trwy ba vn yr oedd holl dy *Israel* yn cael eu cymmeryd i mewn i eglwys gyfreithlawn a chyscodawl oddiallan, ac felly yr oedd hi yn eglwys genhedlig a llaweroedd o fraintiau oddiallan ganthi, pa rai nid ydynt gan ein plant ni.

6. Gofynnwch iddo pa vn a'i bod holl dy *Israel*, y rhieni a'r plant eu gyd yn y gyfammod o râs, ac felly yn bobl i Dduw trwy ffordd o gariad neillduol ac etholedigaeth tragwyddol.

7. Gofynnwch iddo pa vn ai bod i hâd cnawdol y credinioł, megis y cyfryw, gael eu cymmeryd i mewn i'r eglwys weledig yn amser yr efengyl, megis yr oeddynt

tan y gyffraith; os felly gofynnwch iddo pa ham y cawsant eu gwrthod gan *Joan* Fedyddiwr.

8. Gofynnwch iddo pa fodd y gall efe brofio fod hâd cnawdol y crediniol, megis y cyfryw, yn wîr hâd ysprydol *Abraham*.

Dywedwch wrtho fod Mr. *Ainsworth* yr hwn y mae efe yn crybwyll am dano a'r hwn oedd wr dyscedig jawn (ac er ei fod efe yn dal bedydd plant) etto yn dywedyd, ar *Gen.* 12. 17. [dy hâd ti] *hynny yw, holl blant yr addewid, yr etholedig, yr rhai sydd yn unig yn cael eu cyfrif yn hâd i* Abraham, *Rhuf.* 9. 7, 8. *ac yngh'rist, ac yn etifeddion yn ôl yr addewid,* Gal. 3. 29.

A dywedwch wrtho fod Dr. *Owen* yn ei Lyfr a elwir, *Athrawiaeth diysgogrwydd y Seinctiau*, Pen. 4. Yn dywedyd, *Fod goruchwiliaeth grâs y gyfammod yn perthyn yn neillduol iddynt hwy yn unig y rhai ydynt blant yr addewid; yr relyw o* Abraham *yn ôl yr etholedigaeth gyda'r cyfryw oll ymmhôb cenedl ac oeddynt i gael eu bendithio trwyddo ef ac yn ei hâd, sef Christ Jesu;* Ismael *er iddo gael enwaedu arno a daflwyd allan.* Fel hyn y scrifennodd Dr. *Owen*, ac yr wyfi yn dywedyd; Megis ac y taflwyd *Ismael* allan er iddo gael enwaedu arno; felly y mae *Paul* yn dywedyd i'r wasanaeth-ferch a'i mâb fod ynawr gwedi ei thaflu allan, hynny yw'r hên gyfammod a hâd cnawdol *Abram* megis y cyfryw, Gwelwch, *Gal.* 4. 30.

Dywedwch wrtho fôd *Amelius* yn ei Lyfr ynghylch *Rhagluniaeth Pen.* 8. *Preg.* 6. a'r hwn oedd wr dyscedig, yn dywedyd; *y mae llawer o hâd* Abram *i ba rai nid yw gair yr addewid yn perthyn, megis* Ismael *a'r* Ismaelitiaid; *ac os felly y mae llawer o hâd* Abraham, *i ba rai nid oedd gair yr addewid yn pertbyn, yna nid yw gwrthodiad llawer o'r Iddewon, y rhai oeddynt o hâd* Abraham *yn diddymmu gair yr addewid;* oddiwrth ba beth oni allwn gasclu yn ddiogel ddigon, os nid oedd hiliogaeth naturiol *Abraham* oddifewn y gyfammod o râs trwy rinwedd yr addewid, *Gen.* 17. 2. Yna pa faint llai y mae ein hiliogaeth naturiol ni; eithr y cyntaf sydd wîr, am hynny y mae'r diweddaf felly hefyd.

9. Gofynnwch iddo pa vn a'i bod y gyfammod o râs, os ystyrier hi yn neillduol ynddi ei hunan, yn rhoddi hawl i enwaediad, ac os felly yr oedd, pa ham na chaedd *Lot*, *Melchisedec, &c.* enwaedu arnynt, onid oeddynt hwy oddifewn y gyfammod o râs.

A chan fod y pethau hyn felly, gofynnwch iddo ef, a all efe brofi fod y gyfammod o râs, os ystyrier hi yn neilltuol ynddi ei hun, yn rhoddi dim hawl i fedydd, gan gymmaint a'i fôd efe yn orchymyn pûr pennodol Christ.

10. Gofynnwch iddo pa vn ai nad oedd rhieni annuwiol y rhai a darddasant allan o lwynau *Abram* trwy *Isaac* yn eu cenhedlaethau â chymmaint o rwymedigaeth arnynt wrth orchymyn pennodol Duw i *Abraham* am enwaedu ar eu plant gwrywaid, ac yr oedd ar y ffyddloniaid a rhieni duwiol am enwaedu ar eu plant hwyntau; a chan fod y peth fel hyn gofynnwch iddo ef;

11. Pa ham na ddylei'r holl annuwolion a'r anghrediniol ynawr fedyddio eu plant, yn gystal ac y dylei'r crediniol fedyddio i plant hwy.

2. *Yr ydych yn erchi i'ch plant efyn i'r cyfryw ac sydd yn gwadu bedydd babanaidd a allant hwy brofio oddiwrth y scrythur i Grist ddyfod i'r byd i waethur cyflwr plant yn waeth nag yr oedd ef o'r blaen.*

Dywedwch wrth Mr. *Owen*, i'r ymholiad hwn gael ei *Atteb* amryw o weithiau eisioes yn y traethawdd hwn; hynny yw, dywedwch wrtho ef fod braintiau ysprydol plant yn y dyddiau hyn yn fwy nag yr oeddynt tan y ddeddf; felly ac nad yw ein plant yn colli dim oll o'r bendithion ysprydol a nefol hynny a'r braintiau ac oedd vnwaith gan blant y ffyddloniaid; y mae gan Dduw yr vn fâth o gariad ac gofal ynghylch ein plant ni tan yr efengyl, ac yr oedd gantho ei tuag at eu plant hwy tan y gyfraith; eithr yr oedd bendithion temmhorol plant yr Iddewon a'u braintiau daiarol ac oddiallan y pryd hynny yn fwy nag sydd gan ein plant ni yn amseroedd yr efengyl; gan fod yr eglwys Efangylaidd a'r gyfammod Efangylaidd gwedi eu sylfaenu ar addewidion gwell; yr oeddynt hwy yn sefyll tan addewid o bentyrru i fynu aur ag arian, a meddianu heddwch oddiallan a gwlâd yn llifeirio â llaeth a mêl.

Y mae'n siccr fod goruchwiliaeth y gyfammod Efangylaidd oddiallan tan ba vn y mae'n plant, yn rhagori lawer jawn vwchlaw eu goruchwiliaeth hwy, o ran eglurdeb goleuni, a datcuddiad o Grist; ac o ran braintiau ysprydol eraill y mae'n goruchwiliaeth ni yn rhagori; heblaw hyn nid oes dim ammeu nad yw braintiau plant y crediniol ynawr tan oruchwiliaeth yr efengyl yn rhagori oddiar fraintiau'r anghrediniol trwy fendithion Meithrin duwiol, a dygiad da i fynu a'r cyfryw bethau, &c.

Eithr yr ydym ni yn dywedyd, nad oedd y gyfammod o râs yn rhoddi hawl i enwaediad tan y ddeddf, eithr cyfraith pennodol a gorchymyn Duw; felly hefyd nid y gyfammod o râs sydd yn rhoddi hawl i fedydd, eithr gorchymyn pennodol Christ, yr hwn nid yw yn rhedeg i'n plant ni, hyd oni byddont hwy yn credu: Ac erchwch i Mr. *Owen* brofio fod bedydd babanaidd yn gwneuthur mewn vn môdd gyflwr eu plant hwy yn well nag y mae cyflwr ein plant ni y rhai ni chawsant erioed mo'i bedyddio.

3. Yr ydych chwi yn dywedyd, *Onid oedd plant bychain yn rhai o'r merthyrion cyntaf ag a gollasant eu bywyd er mwyn Christ*, Mat. 2. 16. *Os rhoddodd Duw y fâth anrhydedd iddynt hwy, a'u bod hwy y tystion cyntaf tros Grist gan gael eu bedyddio mewn gwaed, a fydd iddo ef ballu iddynt fedydd dwfrllyd.*

*Atteb* 1. A plant y crediniol yn vnig oeddynt hwy a fwrdrwyd gan *Herod*? pa fodd y gellwch chwi brofio hyn; Eithr beth pe buasei yr hyn yr ydych yn ei ddywedyd felly; a ydyw oddiyno yn canlyn y dylem ni eu bedyddio hwynt heb orchymyn am hynny? Pa ham nad ydych chwi yn dywedyd, ac oni fydd i Grist ganiattau i'n plant yr ordinhâad ac sydd yn dal allan dywalltiad ei waed ef yn gystal a bedydd yr hwn sydd yn dal allan iddo ef gael ei gladdu, *&c.*

4. *Os bedydd babanod sydd beth drwg, pa ham* (meddwch chwi) *y mae'r diafol yn temtio* dewinesod *neu* Swynwyr *i naccau y bedydd hwnnw, a pha reswm y sydd na all Satan gael dim awdurdod trostynt hwy hyd oni byddont yn ymwrthod â'u bedydd, ac gwedi hynny nid oes ganddynt ddim nerth ychwaneg tuag at i wrthsefyll ef, megis ac y cyfaddefodd amryw o honynt.* Park. *ynghylch Dewinesod*, Vol. 3. tu dalen 640.

*Atteb.* Gofynnwch i Mr. *Owen* pa ham nad yw'r diafol yn caru ac ni ddichon aros *Dwfr cyssegredig y Papistiaid*; neu pa ham y mae efe yn fâth elyn ofnadwy i hwnnw, mal y mae'r *Papistiaid* yn dywedyd i hyn ymddangos yn fynych; a ydyw wrth hynny gyssegriad dwfr yn beth a ordeiniwyd gan Dduw? Pa ham na allwn ni goelio y *Papistiaid* yn gystal a *dewinesod* a *swynwyr*.

2. O herwydd nad yw efe yn gallu profi bedydd babanaidd wrth resymmau o'r nefoedd, a aiff efe i geisio rhesymmau tuag at brofio ei fod ef yn ordinhâad Crist oddiwrth vffern.

3. Y

3. Y mae'r diafol yn wrthwynebwr cyfrwys a dichellgar, onid ydyw efe yn gwneuthur hyn i beri i bobl garu a bod yn gymmeradwy ganddynt eu bedydd babanaidd, yr hwn yn ddiammeu y mae efe yn gwybod na ordeiniwyd erioed mo hono gan Grist.

4. Pa fôdd bynnag ac y mae'r peth, y tystiolaeth hyn sydd yn cael ei roddi yn unig gan ddewinesod a *Swynwyr*, a pha sail sydd gennym ni am roddi coel iddynt.

5. *Gofynnwch iddynt a roddant hwy siccrwydd i chwi y byddant hwy well Christnogion wrth dderbyn eu bedydd; os byddant hwy* (meddwch chwi) *yn well, attebwch hwynt, ych bod chwi yn gweled amryw o honynt hwy yn myned yn waeth yn ôl eu bailfedydd.*

*Atteb* 1. Gofynnwch i Mr. *Owen* pa vn ai nad oes mwy o bobl y rhai a gawsant eu bedyddio neu yn hytrach eu taenellu yn eu mebyd yn myned yn llygredig ac yn annuwiol, nag y sydd ymmhlith y cyfryw ac a gawsant eu bedyddio ar wneuthur proffes o'u ffydd?

2. Pa siccrwydd a ddichon efe roddi i fabanod neu iw rhieni y bydd y plant y maent hwy yn fedyddio yn well Cristnogion gwedin wrth hynny? ac hefyd pa fodd y gall efe brofio, fod plant y crediniol y rhai sydd yn cael eu bedyddio yn eu mebyd, yn gyffredinol yn tyfu yn well Cristnogion, na phlant y rhai crediniol hynny ac sydd yn peidio eu bedyddio hwynt yn eu mebyd?

3. Gofynnwch iddynt, a ydyw bedydd y crediniol ar iddynt wneuthur proffes o'u ffydd yn ol gorchymyn Crist, yn waeth, oblegid bod rhai fel *Simon Magus* yn ei gymmeryd ef arnynt ac wedin yn myned yn aelodau drwg, a thramgwyddus yn eu buchedd.

1. Yr ydych chwi yn dywedyd, *er eu bod hwy yn aelodau o gynnulleidfa, yn rhodio yn oll rheol yr efengyl cyn iddynt gael eu bail-fedyddio, y maent hwy gwedin yn dattod vndeb y corph o ba vn yr oeddynt hwy yn aelodau, ac yn neilltuo eu hunain; ordinhâad o vndeb yw bedydd, eithr y mae ail fedydd yn torri ymmaith vndeb yr eglwysi.*

*Atteb.* Pa ham yr ydych chwi yn arfer y fâth addroddeiriau ofer a diraid? chwychwi a ddywedasoch hyn o'r blaen ac mysi a roesym *Atteb* iddo; yr ydym ni yn haeru nad yw ein bedydd ni yn ail-fedydd, ac a brofiasom nad yw'ch taenelliad chwi yn fedydd oll.

2. Y mae taenelliad babanaidd, gwir yw, yn vno llaweroedd o eglwysi cenhedlig a'r eglwysi a adailadwyd a'r yr ordeiniad hwnnw neu ei gyffelyb; ac felly y mae efe yn vno llaweroedd o eglwysi cyfeiliornus ac anghristnogaidd, yr wyf yn cyfaddef, megis *eglwys Rhufein*, a rhai eglwysi eraill yn y byd nid yn anhebyg iddi hi; eithr bedydd Christ, sef, bedydd y crediniol sydd yn vno holl aelodau yr eglwys wir Efangylaidd ynghyd yn ôl trefn yr efengyl; ac nid yw peidio a bedyddio plant, a gweinidogaethu bedydd ar wneuthur proffes o ffydd, yn gwneuthur dim onid dattod vndeb eglwysi y saincitiau, ffurf pa rai nid oeddynt vniawn ond a gawsant eu casglu yn annrhefnus, nid yn ôl ordeiniad Christ a rheolau'r efengyl; canys oni chasglwyd yr eglwys Efangylaidd gyntaf yn *Jerusalem* o eglwys genhedlig yr Iddewon o ddynnion a edifarhasant, gredasant ac ar wneuthur proffes o'r ffydd honno a gawsant eu bedyddio, hynnw yw eu soddi mewn dwfr yn enw'r tâd, a'r mâb, a'r yspryd glân, *Actau* 2. 37. 40. 42. a felly hefyd yr eglwys yn *Samaria*, *Actau* 8. a honno yn *Actau* 10. a honno yn *Corynth*, *Actau* 16. a honno yn *Ephesus*, *Actau* 19. ac oni ddylei'r eglwysi eu gyd gael eu casclu yn y modd hynny hyd ddiwedd y byd; oni ddylem ni neilltuo ein hunain oddiwrth y fath eglwysi, oni byddant yn dala'r ordinhadau ac sydd yn perthyn i ordeiniad eglwysig, megis ac y traddodwyd hwynt ar y cyntaf i'r Sainct, ac oddiwrth y cyfryw ac sydd euog hefyd o adnewidiad dynol? a ddylem ni fod yn gyfrannogion o bechodau rhai eraill, neu oni ddylem ni gadw ein hunain yn lân; *Na chyffwrdd, ac na archwaetha, ac na theimla, y rhai ydynt oll yn llygredigaeth wrth eu harfer yn ôl gorchymynnion ac athrawiaethau dynnion*, Col. 2. 21, 22.

2. Yr ydych chwi yn dywedyd, *i bod hwy cyn iddynt gael eu bail-fedyddio yn fwy cariadus yn eu barn, eithr gwedi hynny y maent hwy yn arferol o farn gul a chyfyng, gan farnu yn galed ac yn ddigariad am danynt hwy y rhai nid ydynt o'r vn feddwl a hwynt; am hynny y farn honno ac nid yw yn tarddu o gariad, nid yw o Dduw*, 1 Cor. 13. *nid wyf yn dywedyd am danynt hwy eu gyd fod eu cariad tuag at y brodyr yn myned yn oer, pan y byddont gwedi eu bail-fedyddio, ond am y rhan fwyaf o honynt; y mae rhinwedd grâs Duw yn gorchfygu rhinwedd y farn hon, ac yn eu cadw hwynt rhag cwympo i'r vn brofedigaeth o galedrwydd calon ag eraill.*

Atteb.

*Atteb.* 1. Ni chaedd neb o honom ni erjoed mo'i hailfedyddio, attolwg trowch heibio 'ch pin caled ag anghariadus.

2. Y mae ein cariad ni yn fwy o lawer na chariad y gwr hwnnw, barn pa vn ynghylch bedydd babanaidd sydd yn ei arwein ef i daflu pawb allan o'r eglwys lân gatholig, y rhai nid ydynt yn addef bedydd babanaidd ac sydd yn cael eu bedyddio megis rhai crediniol.

3. Y mae gennym ni gymmaint o gariad tuag at y Cristnogion Duwiol eu gyd ac sydd yn dala bedydd babanaidd a'n bod ni yn eu cydnabod hwynt mal ein brodyr ac aelodau o gorph cyfrinachol Christ, ac y mae gennym yr vn fâth o gariad tuag attynt hwy, ac y sydd gennym tuag ac y cyfryw ac sydd o'n barn ni ynghylch bedydd, ie tuag at bawb pa le yr ydym yn gweled Delw Duw.

4. Od oes neb yn ein plith ni yn rhy anghariadus; etto bydded siccr gennych nad yw'r ordinhâad hon a appwyntiwyd gan yr Arglwydd Jesu a'r hon y maent hwy yn cydnabod, yn eu harwein hwy yn naturiol i fod felly; eithr hyn sydd yn tarddu oddiwrth lygredigaeth eu calonnau eu hunain; am hynny yr ydych chwi yn y modd hyn yn gwneuthur yr hyn sydd ddrwg jawn gan fod yn cyfrif hyn iw barn hwynt.

5. Eithr o ran cymmundeb ar fwrdd yr Arglwydd, yr ydym ni yn credu ein bod ni yn cael ein rhwymo yn y peth hynny wrth reol gair Duw; ac nad oblegid fod arnom eisieu cariad tuag at ych eglwysi chwi, ni allwn ni fod mewn cymmundeb eglwysig â chwi (er bod gennym bôb math o gymmundeb arall gyda chwi) eithr oblegid y mynnem ni rodio yn drefnus, megis ac y mae Duw yn ein cyfarwydd o ni yn yr efengyl; ac fe fyddei ddrwg gennyf glywed fod neb o'm brodyr o feddwl arall; yr wyfi yn sefyll tros gymmundeb a chariad catholig â'r Sainct eu gyd, er nad wyf tros gymmundeb eglwysig â neb ac sydd heb eu bedyddio, megis yr wyf yn credu ych bod chwi oll, ac y gawsoch yn vnig ych taenellu yn fabanod.

3. *Y mae eraill* (meddwch chwi) *gwedi iddynt gael eu bailfedyddio yn myned ymmbellach, ac a syrthiasant o vn cyfeiliornad at vn arall, y mae rhai yn gossod i fynu ac yn sefyll tros* rydd-ewyllys, *rhai ni arddelant y Sabboth Cristnogaidd, eraill yn sefyll yn erbyn athrawu plant*, &c.

*Atteb.* 1. Y mae'n beth anghariadus jawn ynoch chwi gan ddywedyd yn erbyn y bedyddwyr credfniol oll, o barthed cyfeiliornadau rhai ac sydd o'u barn hwy o ran bedydd.

2. Chwy-

2. Chwychwi a ellwch weled cyfaddefiad o'n ffydd, a thraethiad diweddar o feddyliau cymmanfa cyffredin o fugeiliaid, gweinidogion a chennadwyr cant a faith o eglwysi; ymmha vn yr ydym ni yn dwyn tystiolaeth yn erbyn *Rhydd-Ewyllys*, ac yn ffieiddio'r dychymyn hynny, ac yn cydnabod y Sabboth Cristnogawl, sef, y dydd cyntaf o'r wythnos, ac yn sefyll tros athrawu plant, ac fe ddarfu ini hefyd osod allan *Catechysm* i'r perwyl hynny, ac yr ydym ni yn gofidio bod y dyledswydd mawr hwnnw yn cael ei esgeuluso, llaill a'i yn ein plith ni neu ymmhlith eraill.

2. Eithr a oes neb yn dal *Rhydd--Ewyllys*, neu neb *Baxteriaid* yn eich plith chwi, pa wyddorion ydynt yn gyffelyb ddigon, onid ydynt yn rhyw bethau yn waeth, pa ham gan hynny yr ydych chwi yn y modd hyn yn drwg ddywedyd am danom ni.

*Gofynnwch* (meddwch chwi) *attebion eglur ganddynt hwy i'r ymholiadau hyn, a pherwch iddynt brofio y cwbl oll oddiwrth y scrythur lân; bydded i Dduw pob grâs ych cadarnhau chwi yn y gwirionedd presennol, fel y gallech ddwyn ffrwyth allan yn addas o'ch bedydd*——— Ac fel hyn y terfyn ych Llyfr.

Chwychwi a gawsoch attebion eglur i'ch gofynnion eu gyd a llaweroedd o ofynnion eraill am i chwi roddi atteb iddynt, ac nyni a brofiasom yr hyn oll a ddywedasom oddiwrth y scrythurau, oddiwrth pa rai ni ellwch chwi brofio byth ych arfer o fedyddio plant tra bo y byd yn sefyll; ac ynawr bydded i'r Arglwydd bendigedig agoryd eich llygaid a llygaid ych meibion a'ch merched i weled y cyfeiliornad hyn, a dangos i chwi hên ôl y ddiadell, fel y galloch chwi a hwyntau bori wrth glun pebyll y bugeiliaid, a chwanegu cariad a hawddgarwch yn ein plith, o ba rai y mae arnom ormodd o eisieu; och pa le y mae cryfdwr duwioldeb, llawer a allant weled y brycheuyn yn llygad ei brawd.

---

PEN.

# P E N. XXIV.

*Gan gynnwys rhai defnyddion byrrion a buddiol oddiwrth yr holl draethiad o'r blaen gyda chyngor prydlawn i rieni*, &c.

YNawr ddarllennydd, oddiwrth yr hyn a glywaist neu y ddarllennaist yn y traethiad hwn a'r llawn attebion i Mr. *James Owen*.

1. Myfi a allaf gasclu, i bod hwy oll ac a gawsant yn ynig eu taenellu pa rai sydd gwedin yn cael eu bedyddio ar broffes o'u ffydd heb gael eu hail-fedyddio trwy hynny, mal y mae Mr. *Owen* yn haeru, ac nid ydynt hwy yn ymwrthod â'u bedydd, er eu bod hwy yn ymwrthod ag arfer neu draddodiad dynol o daenellu babanod neu ddynnion o oedran.

2. Nyni a allwn hefyd gasclu, mae peth anhawdd ydyw adferu ordinhâad a gollwyd vnwaith neu adffurfio ein hunain ynghylch arfer o hen sefyll a thraddodiad dynol.

3. Bydded i chwi oll y rhai ydych rieni duwsol fendithio Duw am Grist a'r efengyl, ac am y braintiau hynny eu gyd a stofodd efe arnoch chwi ac ar ych plant, y rhai pan dyfont i fynnu ydynt yn eistedd tan bregethiad eglur a gwerthfawr o Grist gwedi ei groshoelio; bydded i chwi fod yn ofalus am helaethu y bendithion hyn, a rhodio ymmhôb peth yn ôl rheol gair Duw, ac na ddilynwch liaws i wneuthur drwg (er bod rhai o honynt yn bobl dda) och! bydded braw arnoch rhag i chwi wneuthur dim yn addoliad Duw heb awdurdod cyfreithlawn oddiwrtho ef (fy meddwl yw) heb orchymyn neu siampl oddiwrth ei air ef; ac na fyddwch mor eofn a bedyddio pa faint llai taenellu ych plant ddim mwyach, pa beth bynnag y mae Mr. *Owen* neu vn dyn byw yn ddywedyd, oni cewch y peth yn scrifennedig yn ych Biblau. Duw ni roddodd orchymyn i chwi am ddyfod

fod â hwynt tan gyfammod fedyddiawl yn eu mebyd, ac ni wnaeth efe ddim addewid o fendith er cynnorthwyo mo honynt i gadw'r gyfammod honno, os byddwch chwi yn dyfod â hwynt tani o lwyr ych pen ych hunain.

Os gwnewch chwi y peth hyn, er nad oes gennych ddim awdurdod oddiwrth air Duw am wneuthur felly; attolwg ystyriwch beth a ddywedais i yn y traethiad hyn ynghylch y gyfammod ddychymygol a diawdurdodol honno, trwy ba fodd chwychwi a allwch pentyrru lawer o euogrwydd arnoch eich hunain, a gosod y fath lwyth a phwn ar ych plant nag yr ydych chwi yn debyg; y mae Mr. *Williams* yn eu dychrynu hwynt â'r pechod o anudonedd, y rhai ydynt yn trosseddu y gyfammod honno; oni bydd hyn yn tueddu tuag at i gyrru hwynt i anobeithio, pan mewn gwirionedd ni fydd i Dduw byth gyhuddo mo honynt, megis pe baent yn euog o anudonedd, gan gymmaint ac na orchymynnodd efe erjoed iddynt hwy fyned tan y fâth gyfammod oll; y mae gan ych plant pan y tyfont i fynu os byddant yn annuwiol ac yn ddynnion drwg ormodd o euogrwydd yn gorwedd arnynt sef y pechod dechreuol a phechod gweithredol; nid oes achos chwanegu at eu baich hwynt; hwynt hwy a allant fe allei o ran eisieu goleuni ac wrth ddarllen llyfrau y fâth wyr a'r rhain, gyhuddo eu hunain yn y modd hyn; y mae Mr. *Daniel Williams* yn dywedyd mae'r *pechod damnedig* ydyw ef; nage, nage; yr pechod damnedig ydyw troseddiad cyfraith Duw, ac yn enwedigol y pechod o anghrediniaeth.

Ie ac onid ydyw ei eiriau ef yn cynnwys, fod ych plant pan y tyfont i fynu a phan trwy oleuni gwedi ei dderbyn oddiwrth air Duw y byddont gwedi cael eu dwyspigo na chawsant mo'i bedyddio erjoed oll ac felly taflu ymmaith ac ymwrthod â'u taenelliad babanaidd, wrth wneuthur hyn yn myned yn euog o anudonedd, a bod yn rhaid iddynt fod yn golledig; oblegid nid yw efe yn dywedyd am y pechodau hynny a waharddwyd yn air Duw, eithr am droseddiad y gyfammod fedyddiawl hon, yr hyn beth, y mae efe yn dywedyd, fydd anudonedd, a'r *pechod damnedig* a *gwreiddyn pôb pechod*: Och pa faint o effieu cariad fydd ymma yn y dynnion hyn! a pha fath o athrawiaeth newydd a dielthr y maent hwy yn ei ddyscu.

2. Dygwch ych plant i fynu yn ofn yr Arglwydd, a rhoddwch iddynt siampl dda, a gweddiwch trostynt ac vwch

eu

eu pen a rhoddwch iddynt addysg da, cynghorau duwiol a rhybuddion; gochelwch na byddo i chwi esceuluso athrawu mo honynt beunydd, felly ac fel y gallont ddeall mewn amser sailiau pennaf a gwyddorion crefydd; eithr bydded arnoch ddychryn i bedyddio hwynt yn eu mebyd reu cyn y credont ac y byddo ganddynt râs ysprydol oddifewn yr hwn a arwyddocceir mewn gwîr fedydd.

Fe ddarfu ini brofio i chwi oddiwrth air Duw nad oes dim sail nag awdurdod oddi yno mewn vn modd am fedyddio babanod; a bydded i chwi wybod nad yw ymhwer dyn trwy vn ddefod oddiallan ddyfod â phlant i'r gysammod o râs, neu wneuthur mo honynt yn aelodau o Grist neu'n aelodau o'r eglwys weledig; nid yw bedydd na Swpper yr Arglwydd yn fara i fabanod eithr i fabanod Christ newydd-eni, 1 *Pet.* 2. 1. 2. 3. 5. nid ich babanod chwi, megis y cyfryw, eithr i'r cyfryw yn vnig ac ydynt wîr blant Duw, y rhai a anwyd o'r yspryd,

3. Na fydded i chwi fyned ynghylch twyllo 'ch babanod mewn vn ffordd neu gilydd gan beri iddynt goelio eu bod hwy mewn cyflwr da, o herwydd eu bod hwy yn had rhieni crediniol ac wedi cael eu bedyddio; mal y mae'r bobl hyn yn galw taenellu, ac felly yn y modd hynny gwedi cael eu gwneuthur yn Gristnogion, ac oddi yno fe allei heb edrych ymmhellach am ddim gwaith arall ó râs neu ail-enedigaeth, eithr yn tybied eu bod hwy trwy'r bedydd lledrithiog hyn, yn blant i Dduw, yn aelodau Christ ac yn etifeddion teyrnas nefoedd pan mewn gwirionedd nid oes dim o'r fâth beth yn bod.

Ac nid oes gennych chwi ddim achos am fod yn betrus ynghylch ych babanod ac fydd yn marw, er na chawsant eu bedyddio, nad ydynt hwy yn happus, fel yr ymddengis oddiwrth yr hyn a ddywedasom; ac na fyddwch chwi mo'r annwybodus a choelio y gall bedydd achub ych babanod neu rai o oedran chwaith; ac na bydded i plant truenus ddywedyd yn erbyn eu rhieni annuwiol, megis ac y mae rhai o'r cyfryw ac a ddalant fedydd plant yn traethu y gallant, attolwg gwelwch yr hyn y mae Mr. *Burkit* yn ei ddywedyd yn ei Lyfr *tu dalen 62. Cyn y caffo 'ch plant eu geni, gwnewch gymmaint ag allech am iddynt gael eu geni oddifewn y gysammod a than yr addewid, trwy eich bod chwi eich hunain mewn cysammod â Duw, cymerwch ofal am i'r*

*Arglwydd*

*Arglwydd fod yn Dduw i chwi mewn cyfammod â chwi, ac yna chwychwi a ellwch obeithio yn gyfforddus y bydd efe yn Dduw i'ch hâd chwi.*

*Atteb.* 1. Y mae'r athrawiaeth hyn yn cynnwys, y gall gwyr a gwragedd ddyfod a'u plant i'r gyfammod o râs, ac y mae hefyd yn arwyddoccau nad yw plant y crediniol yn cael eu geni yn blant digofaint wrth naturiaeth, oblegid a ydynt hwy ac sydd yn cael eu geni oddifewn y gyfammod o râs yn cael eu geni yn blant digofaint? —— Chwychwi y rhai ydych rieni, gwybyddwch y gellwch chwi fod mewn cyfammod, a'ch plant heb fod ynddi tra y byddont byw, ie, marw o honynt oddifaes cyfammod, megis yn ddiammeu y mae llawer o blant y ffyddloniaid yn gwneuthur.

Ac ni wnaeth Duw ddim o'r fâth cyfammod ag vn credadyn a'u hâd naturiol megis y cyfryw; mal y gwnaeth efe ag *Abram yr hwn oedd Dâd i'r cyfryw oll ac a gredent*; eithr nid ydych chwi na minneu felly, er ein bod ni yn rhai crediniol ac mewn cyfammod â Dduw, ac yn rhodio yn llwybrau *Abraham*; o ran y cyfryw o'ch hâd chwi ac sydd oddifewn etholedigaeth grâs, na bydded arnoch ofn, na bydd i Dduw mewn amser cyfaddas ddyfod â hwynt i'r gyfammod o râs, a rhoddi iddynt holl fendithion a breintiau y gyfammod; eithr od oes neb o honynt heb gael eu cynnwys yn etholedigaeth grâs, ni wna ac ni all, iddynt gael eu geni o honoch chwi ddyfod â hwynt i'r gyfammod o râs, na rhoddi iddynt hawl iw sêl hi, sef, yr yspryd glân; ac ni all bedydd ddyfod a neb iddi hi, yr hwn sydd yn vnig yn arwydd oddiallan o'n bod ni oddifewn y gyfammod honno, neu o'r grâs ysprydol a dderbyniasom ni cyn ini gael ein bedyddio, megis ac y darfu imi brofio.

Ych gwaith chwi a'ch plant hefyd sydd i wneuthur ych etholedigaeth chwi a hwyntau yn siccr trwy alwedigaeth neilltuol ac effeithiol.

Nid yr enedigaeth gyntaf eithr yr ail-enedigaeth sydd yn dyfod llaill â chwi neu'ch plant i'r gyfammod o râs, felly ac y byddo i ni a hwyntau gael Duw yn Dduw ini mewn ffordd o hawl neilltuol.

Eithr nodwch eiriau neffaf Mr. *Burkit tu dalen 62.* Och! *Pe byddei plant yn ebang o wybodaeth pa faint y byddent hwy yn dychrynu cael eu geni o rieni annuwiol? Gwnewch ych goreu,*

*cyn*

*cyn y byddo i'ch plant gael eu geni, am sancteiddio ych babanod truenus; a hyn a wneir trwy weddi*, &c.

*Atteb*. Y mae hyn yn ddigon i beri i'r plant wrthryfelu yn erbyn yn eu rhieni annuwiol, ie i calau hwynt yn eu calonnau; o'm rhan i nid wyfi yn gweled na all plant rhieni annuwiol fod mewn cystal cyflwr a llawer o blant rhieni duwiol, (er nad wyf yn ammeu nad yw Duw yn arferol yn cyfrannu ei râs anfeidrol yn fwy cyffredin i hâd y ffyddloniaid pan y tyfont i fynu nag i eraill) eithr Duw ni ddifetha blant gwirion am feiau ag anghrediniaeth eu rhieni.

Am hynny fel na ellwch chwi er ych bod yn dduwiol, wrth eu hennill hwynt yn yr enedigaeth gyntaf eu hachub hwynt, felly ni ellwch chwi er ych bod yn annuwiol wrth ennill mo honynt i damnio neu difethu hwynt.

*Nid oes dim rheswm* (medd Mr. *Perkins*) *y dylei drygioni y rhieni ragfarnu y plentyn mewn pethau a berthynant at fywyd tragywyddol*. Perkins ar Gal. 3. tu dalen 264.

2. Eithr os ydyw'r peth fel y mae Mr. *Owen* a Mr. *Burkit* yn dywedyd, sef pan y bo y crediniol mewn cyfammod fod eu plant mewn cyfammod hefyd, y maent hwy yn ddiammeu mewn cyflwr diogel, pa vn a'i byddont yn cael eu bedyddio neu peidio, nid yw hynny yn dyfod â hwynt oddifewn y gyfammod.

3. Eithr oni ddichon y fath athrawiaeth a hwn sydd ganddynt hwy argyhoeddi yr anghrediniol a'r annuwiol yn gyfiawn, am anturio vnwaith briodi, ac ennill plant y rhai ydynt yn y fath gyflwr truenus, o herwydd nad oedd eu rhieni mewn cyfammod â Duw; a ddylent, ie, a allant hwy briodi yn gyfreithlon, os ystyriant y peth yn y modd hyn, a bod y fâth ganlyniadau erchill yn dyfod ar eu babanod truenus; Heblaw hyn pa cyn belled y mae bendithion a braintiau y gyfammod hon yn cyrrhaeddyd; od oedd fy nhâd Cu mewn cyfammod, er bod fy nhâd a minnau yn ddynnion drwg ac annuwiol, onid ydym ni etto er hynny ei gyd mewn cyfammod â'r Arglwydd Dduw? Nid oedd y gyfammod honno a wnaeth Duw ag *Abraham* yn neilltuol yn cyrrhaeddyd yn vnig hyd at ei hâd nessaf neu eppil ef; eithr hyd at ei hâd ef oll wrth naturiaeth ar ôl eu gilydd yn eu cenhedlaethau, hyd at ddyfodiad Christ a'r amser y gwnaeth efe ddiben o'r gyfammod honno oddiallan a hawl y gyfammod.

PEN.

## PEN. XXV.

*Gan gynnwys llawer o ofynnion am i Mr.* James Owen *roddi Atteb iddynt, gan na wnaeth y gwyr sydd o'r* Cymdeithas Atheniaid *mo hynny, y rhai yn ddiweddar a'i hamcanasant ef.*

SR,

MYfi a scrifennais yn ddiweddar rai gofynnion ynghylch bedydd babanaidd gan ddisgwyl am *Atteb y Cymdeithas Atheniaid*, yn ôl yr annogiaeth hy a wnaethant hwy o'r blaen, ac yn gymmaint a'i bod hwy yn rhy galed iddynt, gan na ddywedasant hwy ddim oll i'r perwyl, myfi a ddisgwylaf am i chwi roddi *Atteb* iddynt, pan y byddo i chwi roddi *Atteb* i'r gwrthatteb hyn i'ch Llyfr chwi; ni bydd i ni 'ch blino chwi â hwynt hwy eu gyd, eithr cymerwch ychydig nifer o honynt yn vnig.

*Gof.* 1. Pa vn ai'r fraint o fôd o honynt yn blant gwrywaid i *Abraham* megis y cyfryw, a roddodd hawl iddynt i'r enwaediad, neu onid yn hytrach gorchymyn pûr pennodol Duw i *Abraham?*

Ni roddasant hwy ddim *Atteb* i hwn.

2. Yr wyf yn gofyn, Pa vn ac y gellyt dywedyd fod enwaediad yn sêl o ffydd vn dyn, heblaw *Abram* yn vnig, gan gymmaint ai fod ef yn vnig yn cael ei alw yn sêl o gyfiawnder ei ffydd ef, ac o'r ffydd hefyd yr hon oedd ganddo ef, pan yr oedd efe etto yn ei ddi-enwaediad?

Y mae'r *Gymdeithas o Atheniaid* yn *Atteb* i hyn; nad ydynt hwy yn cael cwrdd ymmhlith yr hên Hereticiaid â'r fath beth dieithr a hwn, sef fod sêl cyfiawnder ffydd yn fraint i *Abraham* yn vnig; a ydyw hyn yn llawn *Atteb* i'r gofyniad? heblaw hyn ni ddywedasom ni mo hyn

yn

yn y lle ymma megis ein barn, eithr trwy ffordd o ymholiad; er ymmhellach y dywedir i *Abraham* dderbyn sêl enwaediad, nid yn vnig megis sêl o gyfiawnder y ffydd yr hon oedd gantho ef, yn ei ddi-enwaediad; eithr hefyd (nodwch) mal y gallei efe fod yn Dad i'r cyfryw oll ac a gredent; a oedd hwn yn fraint i neb heblaw *Abraham* yn vnig?

*Gof.* 3. Beth yr ydych chwi yn dybied yr oedd enwaediad gynt, neu y mae bedydd yn awr yn selio, neu yn wneuthur yn ddilys i fabanod, gan gymmaint a bod sêl yn arferol yn siccrhau'r holl fendithion a'r braintiau a gynnhwysir yn y gyfammod honno yr ydys yn ei chlymmu wrthi?

Y mae'r *Atheniaid* yn *Atteb*, y mae ac yr oedd efe yn selio i'r cyfryw oll ag oedd yn perthyn i Grist fywyd a jechydwriaeth, eithr i rhai nid ydynt, nid yw yn selio dim oll.

I ba beth yr wyf yn *Gwrthatteb*; [Pa fodd yr anturia neb selio y gyfammod o jechydwriaeth i'r cyfryw ac nid oes ganddynt y ffydd honno, yr hon oedd gan *Abraham*, cyn iddo dderbyn y sêl honno: nid sêl ydoedd hi o'r ffydd honno yr hon a allei, neu'r hon ni's gallei efe gael gwedin, eithr o'r ffydd yr hon oedd gantho ef o'r blaen cyn iddo ei derbyn hi: Yn ail; yr wyf yn haeru nad yw bedydd yn sêl oll o jechydwriaeth, canys pe byddei efe felly ac yn ôl appwyntiad Duw, hwynt hwy eu gyd y rhai a gaent eu selio yn y modd hynny, a fyddent gadwedig, ie a *Simon Magus* a fuasei felly; eithr fe ddichon fod, ac nid oes dim ammeu nad yw amryw ac sydd yn cael eu bedyddio, yn golledig yn dragywydd.

*Gof.* 4: Mysi a fynnwn wybod beth yw'r braintiau hynny oddiallan y mae babanod yn gyfrannogion o honynt mewn bedydd, yn gymmaint ac yr ydys yn gwrthod iddynt y Sacrament o Swpper yr Arglwydd a'r defodau eraill oddiallan eu gyd?

Os byddwch chwi yn dywedyd, y bydd iddynt hwy fod yn gyfrannogion o'r braintiau a'r bendithion hynny, pan y credont; felly yr wyfi yn dywedid, y bydd i blant yr anghrediniol, *Twrciaid* a *Phaganod* yn gystal a hwyntau.

Cymmerwch *Atteb y Gymdeithas Atheniaidd*; Nid ydym ni yn sefyll ar fraintiau oddiallan; y mae hyn yn ddieithr i'r peth yn llaw.

*Atteb.* 1. Os byddwch chwi yn dywedyd pan y byddo iddynt hwy gredu; felly yr wyfi yn dywedyd y bydd i biant y rhai anghrediniol.

2. Os chwychwi nid ydych yn sefyll am fraintiau oddifewn; nag am fraintiau oddiallan, y rhai sydd yn cael eu selio i fabanod ac sydd yn gyfrannogion o fedydd, beth a dâl eu bedydd hwynt? ni thâl ddim oll; eithr yr hyn sydd waeth; y mae'n halogiad o ordinhâad sanctaidd Christ o fedydd; ac y mae hyn yn wîr yn waeth na dim.

*Gof.* 5. Od yw raid cyfrif hâd cnawdol neu blant y crediniol ymmhlith neu o'r cenhedloedd, megis y cyfryw, yn hâd i *Abraham*; yr wyfi yn gofyn pa vn a'i hâd ysprydol neu hâd naturiol ef ydynt? Os nid ydynt na'i hâd ysprydol na'i hâd cnawdol ef; pa hawl a all fod ganddynt hwy i fedydd neu gymmundeb eglwysig oddiwrth vn gyfammod oll a wnaeth Duw ag *Abraham*?

Y mae'r *Atheniaid* yn *Atteb*, i bod hwy yn hâd ysprydol gweledig iddo ef, cyn belled yn vnig y mae'n weddus ini farnu, ac am hynny y mae hawl ganddynt i sêl y gyfammod honno.

*Gwrth-atteb.* 1. Ni all yr hyn y maent hwy yn ei ddywedyd fod yn wîr, o herwydd bod y scrythur yn dywedyd yn bennodol, fôd gan y cyfryw ac sydd yn hâd ysprydol i *Abraham*, Ffydd *Abraham*, a'i bod hwy yn rhodio yn llwybrau *Abraham*, ac yn eiddo Christ, *Gal.* 3. *adn. diw.* eithr ni ellir dywedyd am fabanod y crediniol, megis y cyfryw, fod ganddynt hwy Ffydd *Abraham*, na'i bod hwy yn rhodio yn llwybraw *Abraham*, &c.

2. Y cyfryw ac sydd yn had ysprydol i *Abraham* y maent oddifewn etholedigaeth gras, ac y maent yn had iddo ef bôb amser, nid tros hynny o amser eithr tros byth; ni allwn ni farnu fod neb yn had ysprydol i *Abraham* ond y cyfryw yn vnig, ymmha rai y mae'r arwyddion hyn a grybwyllwyd am danynt o'r blaen yn ymddangos; eithr nid oes dim o'r arwyddion hynny yn ymddangos, ac ni allant ymddangos mewn babanod; am hynny ni allwn ni farnu i bod hwy yn had ysprydol iddo ef, i ba rai nid yw sêl y gyfammod o râs yn perthyn yn vnlawn.

*Gof.* 6.

*Gof. 6.* Pa vn ai bod plant y crediniol oddifewn y gyfammod o râs yn llwyrgwbl, neu dan ammod yn vnig, os dan ammod, yn vnig, pwy fraint sydd ganddynt hwy vwchlaw plant yr anghrediniol?

*Gof. 7.* Pa vn ai bod sailiau gwahanredol, ar ba rai yr oedd yr hên dadau gynt a difeinwyr diweddar ynawr yn cymeryd arnynt fod hawl bedydd babanaidd yn sefyll, yn cuttuno yn dda ag ordeiniad yr hon sydd yn tarddu oddiwrth hawl pûr bennodol, ac yn sefyll yn llwyr a'r ewyllys arbennig y gwneuthurwr-cyfraith? ac onid ydyw hyn yn rhoddi achos da i bawb fod a drwgdyb ganddynt ynghylch yr awdurdod hyn.

1. Yr oedd rhai ac a ddalasant fedydd plant yn haeru; iddo gymmeryd ymmaith y pechod dechreuol, ac yr oedd y cyfryw ac nid oeddynt yn cydnabod hyn yn cael eu melltigo.

2. Eraill a haerant fod plant mewn cyfammod, ac am iddynt fod yn had rhieni crediniol, y maent hwy yn sanctaidd mewn modd ammodawl; am hynny hwynt hwy a ddylent gael eu bedyddio.

3. Y mae rhyw arall o honynt hwy ac sydd yn dal bedydd plant, yn dywedyd, y dylent hwy gael eu bedyddio trwy rinwedd ffydd eu rhieni.

4. Rhyw arall sydd yn eu bedyddio hwynt ar ffydd eu meichiau.

5. Eraill a ddywedant wrth ffydd yr eglwys, megis *Austyn*, *Bernard*, &c.

6. Rhai eraill a ddywedant fod ganddynt hwy ffydd eu hunain, sef ffydd mewn anffod, am hynny y mae'n rhaid iddynt gael eu bedyddio.

7. Rhai eraill y sydd yn dywedyd, mae traddodiad Apostolaidd anscrifennedig ydyw ef, ond y mae eraill yn gwadu hyn, ac yn dywedyd y gellir ei brofio ef oddiwrth y scrythur.

8. Eraill a ddywedant mae ordinhâad adgenhedlig ydyw, a phlant wrth hynny sydd yn cael eu gosod mewn cyflwr safadwy; y mae eraill yn dywedyd, fod babanod y crediniol mewn cyflwr diogel ddigon o'r blaen, o herwydd i bod hwy mewn cyfammod gyd ag eu rhieni.

Nid ydynt hwy yn dywedyd dim o ran *Atteb* i'r gofynniad hwn, gan gymeryd arnynt iddynt hwy roddi *Atteb* iddo o'r blaen.

*Gof.* 8. Pa vn ai y gall honno fod yn ordinhâad Christ, am ba vn nid oes na gorchymyn na siampl, na chanlyniadau eglur ac anamheuol yngair Duw oll, nag addewid gwedi ei wneuthur i'r cyfryw ag a'i gwnelont hi, na bygwthiau gwedi eu cyhoeddi yn erbyn y cyfryw ac sydd yn ei esceulusso hi.

Eu hatteb yn y man hyn sydd ynghylch bod benywaid yn derbyn y Sacrament, *&c.*

*Gof.* 9. Pa vn ai na ddylem ni mewn peth ac sydd o hawl pûr pennodol, o'r ba fath y mae bedydd, gadw yn agos at, ac yn berffaith gwbl yr hyn a ddatcuddiwyd ini trwy ewyllys y gwneuthurwr-cyfraith?

Y maent hwy yn *Atteb* y dylem ni.

*Gwrth-Atteb.* Yna chwychwi a gollasoch ych cynghaws, oblegid y mae gair Duw yn ein harwein ni yn bennodol i fedyddio y cyfryw yn vnig ac a gawsant yn gyntaf eu Dyscu, neu i gwneuthur yn ddiscyblion wrth addysg, neu'r cyfryw ac sydd yn gwneuthur proffes o'u ffydd; a suddiant ydyw'r weithred vniawn a phennodol o fedyddio, megis ac yr arferwyd ef yn y Testament Newydd, ac y mae cwmmwl mawr o dystion yn tystiolaethu hyn.

*Gof.* 10. Pa vn ai nad yw bedydd babanaidd yn gyfeiliornad peryglus, gan gymmaint a'i fod ef yn tueddu i dwyllo pobl annwybodus, y rhai ydynt yn tybied iddynt hwy wrth hynny gael eu gwneuthur yn gristnogion a'i hadgenhedlu, ac felly heb fod byth gwedin yn edrych ar ôl dim ail-enedigaeth arall neu fedydd, yr hwn sydd yn arwyddoccau neu yn dala allan y gwaith hwnnw o râs Duw oddifewn.

Y maent hwy yn *Atteb*, nad ydynt hwy yn dywedyd wrthynt, am iddynt gael eu gwneuthur yn Gristnogion trwyddynt, *&c.*

Yna yr wyf yn appelio at bawb ac a ddarllennasant hên *Catechism* yr eglwys——— yn fy medydd ymmha vn y gwnaethpwyd fi yn blentyn i Duw, yn aelod o Grist ac yn etifedd o deyrnas nefoedd.

11. Yn gymmaint ac nad ydym ni yn darllen ond am vn bedydd mewn dwfr, a bod yr vnig fedydd hynny yn fedydd y crediniol neu'r rhai sydd o lawn oedran, hynny yw,

yw, y o'r cyfryw rai ac sydd yngwneuthur proffes o'u ffydd, *&c.* Pa fodd y dichon bedydd babanaidd neu yn hytrach taenelliad fod yn ordinhâad Christ.

12. Pa vn ai gorchymynnodd Duw mewn vn man i rieni ddyfod â'u plant bychain o ddau neu ddeng niwrnod oed tan gyfammod ag ef mewn bedydd; pan na ellir cael cwrdd a hyn mewn vn lle o'r scrythur.

13. Ac onide, pa fodd y gall y gyfammod honno rwymo y plentyn pan y delo efe o oedran, neu pa fodd y dichon efe fod y saint bechod am beidio a chadw y gyfammod honno, neu ymwrthod â'r peth ei hun, sef eu bedydd babanaidd.

14. Pa vn ai bod vn gyfammod gwedi cael ei appwyntio gan Grist i fabanod fyned tani, i ba vn ni wnaethpwyd vn addewid am gymmorth i'w chadw, na bendith, os bydd hi i gael ei chadw ie nag vn bygwthiad os byddir yn ei thaflu hi ymmaith ac yn peidio a'i harddel.

15. Beth yw'r achos pa ham y gadawodd ein cyfieuthwyr o'r Bibl sanctaidd y gair *Groeg* o fedydd neu *βαπτισμος* heb ei gyfieuthu, pa na wnaeth y *Dwtch* felly; eithr yn y gwrthwyneb hwy a gyfieuthasant yn lle *Joan Fedyddiwr*, *Joan y Trochwr*, ac yn lle efe a'u bedyddiodd hwynt, efe a'u trochodd hwynt.

Y mae'r *Gymdeithas o Atheniaid* yn *Atteb*; y maent hwy eu hunain yn farnwyr goreu, os gallwn ni eu deall hwynt, y mae hynny yn ddigon.

*Gwrth-Atteb.* Nage, er bod y cyfryw ac sydd ddyscedig yn y jaith *Groeg* yn gwybod beth yw'r gair *baptizo* a *baptisma*, etto nid yw'r annyscedig yn y jaith honno yn gwybod, eu bod hwy yn arwyddoccau i soddi neu suddiant; ac am hynny nid yw ddigon.

16. Pa vn ai na ddylei y cyfryw ac a gawsant eu taenellu yn vnig, i cyfrif megis dynnion di-fedydd, yn gymmaint ac nad yw eu tywalltiad yn suddiant, neu daenelliad yn fedydd, gan fod y gair *Groeg* yn arwyddoccau i soddi? ac er ei fod weithiau yn arwyddoccau golchiad neu i olchi, etto y fath olchiad yw ac a wneir trwy suddiant mal y mae'r dyscedig yn cydnabod.

I hyn y maent hwy yn dywedyd trwy fford o *Atteb*, y gall y cyfryw ac y sydd yn betrus fod o'r ochor sydd fwy siccr.

17. Pa vn ai ni ellyt caniattau i'r hên eglwys yr hon a roddodd Swpper yr Arglwydd i fabanod yn gystal a bedydd, wneuthur y llaill yn gystal a'r llall, yn gymmaint

ac yr ydys yn gofyn ffydd ac ansoddau sanctaidd (ie i gredu â'r holl galon) ganddynt hwy ac sydd i gael eu bedyddio, yn gystal ac y gofynnir ffydd, ymholiad a jawn sarnu corph Christ ganddynt hwy ac sydd yn gyfrannogion o Swpper yr Arglwydd; ac yn gymmaint hefyd a bod y cyfryw oll ac a gawsant eu bedyddio i'r eglwys Apostolig, yn cael eu gollwng y maes o law at Swpper yr Arglwydd; ac yn gymmaint a bod y rhesymmau ac sydd yn cael eu cymeryd oddiwrth y gysammod, ac oblegid yr ydys yn dywedyd fod plant yn sanctaidd ac yn perthyn i deyrnas nefoedd, cyn gryfed am iddynt gael eu gollwng at y ddau Sacrament ac at vn o honynt; Ac am nad oes na gorchymyn na siampl am vn o honynt, a bod traddodiad dynol yn dwyn y peth yn gystal tros y ddau tros lawer cant o flynyddoedd.

18. Pa vn ai nad oedd trosedddiadau *Nadab*, *Abibu* ac *Uzzab* yn cael eu cynnwys cymmaint mewn amgylchiadau, ac felly yn gyfeiliornadau cyn lleied ac y mae cyfnewidio soddiad i daenelliad, ac o ddyn crediniol ac o dealltwriaeth, i faban, yr hwn nid yw yn deall gwahaniaeth rhwng i law ddehau a'i law a asswy; a pha vn ai nad ydyw yn beth peryglus caniattau i'r eglwys bwer i wneuthur y fâth gyfnewidiadau, gan fod hyn yn chwanegu at neu yn tynnu oddiwrth air Duw. Gwelwch *Datc.* 22. 18. ac onid ydyw hyn hefyd yn agoryd drws i'r fâth adnewyddiadau eraill a'r rhain.

19. Pa vn ai bod dim achos cyfiawn gan ddynnion am oganu a dywedyd yn erbyn y *Bedyddwyr* gan i galw hwynt wrth enw'r *ail-fedyddwyr*; am eu bod hwy yn bedyddio y crediniol, yn gymmaint ac nad yw taenelliad yn fedydd, ac yn gymmaint hefyd a bod ganddynt hwy air a gorchymyn vniawn a phennodol Jesu Grist am iddynt wneuthur felly; ac nid yn vnig y Commisiwn yn *Mat.* 28. a *Marc.* 16. eithr arfer iesydlog yr Apostolion a gweinidogion yr efengyl yn y Testament Newydd, y rhai ni fedyddiasant neb ond y cyfryw ac a wnaethant broffes o'u ffydd ynghrist; ac y mae eglwys *Lloegr* hefyd yn dywedyd *y gofynnir ffydd ac edifeirwch gan y cyfryw rai ac sydd i gael eu bedyddio.*

20. Pa vn ai pe buasei ein cyfieuthwyr yn cyfieuthu y geiriau *Groeg baptisma* a *baptizo* oddiwrth *bapto*, oni fuasei yn rhaid iddynt hwy eu cyfieuthu wrth *suddiant* neu i *soddi* yn ôl arwyddoccâad vniawn a phennodol y geiriau hynny; a pha vn ai bod hwy yn gwneuthur yn dda am adael y

geiriau

geiriau hynny yn eu jaith dechreuol heb roddi ystyr eglur o honynt yn y jaith *Saesneg*.

21. A chan fod yr *eglwys* ymmhlith y *Groegwyr* yn arfer suddiant hyd y dydd heddyw, ac nid taenelliad neu dywalltiad, oni ddichon hyn fod yn rhesswm mawr yn erbyn taenelliad, yn gymmaint hefyd ac nad ydynt hwy yn arddael bedydd yr *eglwys* ymmhlith y *Lladiniaid* neu'r *Eglwys Rhufeinig*; oblegid nad ydynt hwy yn trochi neu'n soddi, canys yn ddiammeu y mae'r *Groegwyr* yn gwybod arwyddoccâad llethrennol, priodol ac vniawn y gair hwnnw yn oreu i gyd; gan fod y jaith honno yn jaith i mammau, ymmha vn y scrifennwyd y Testament Newydd o'r cyntaf.

22. Pa resswm a ellir roddi am i *Nazianzen* yr hwn oedd vn o'r tadau rhagorol ymmhlith y *Groegwyr*, gynghori iddynt oedi bedydd eu babanod hyd y drydydd neu'r bedwaredd flwyddyn o'u hoedran (oni byddei perygl o farwolaeth) os barn yr holl eglwys a'i farn ynteu hefyd ydoedd yn amser *Nazianzen*, mal y mae rhai yn tybied, y dylei plant yn ôl traddodiad Apostolig gael eu bedyddio cyn gyntaf ac y byddei iddynt gael eu geni i'r byd.

23. Pa vn ai nad yw'r holl dadau o'r drydydd a'r bedwaredd oes yn eglwys y *Groegwyr* a'r *Lladinwyr*, y rhai a scrifennalant ddim peth ynghylch bedydd babanaidd, yn rhoddi yn gyttun hyn megis rhesswm pa ham y dylei babanod gael eu bedyddio; sef, er golchi ymmaith y pechod dechreuol, neu er eu gosod hwy mewn cyflwr o jechydwriaeth; a rhai o honynt yn enwedigol St. *Augustin* yn barnu babanod i ddamnedigaeth tragwyddol, oni byddei iddynt gael eu bedyddio.

24. Os felly, Pa vn a'i na allei'r tadau gyfeiliornu o ran defod bedydd babanod, yn gystal ac y maent hwy ymmarn y rhan fwyaf o'r *Protestaniaid* o barthed y rhesswm pa ham y dylent hwy gael eu bedyddio.

25. Pa vn ai caniattaodd neu orchymynnodd Duw i Rieni ddyfod â'u babanod o ddau neu ddeng niwrnod oed i gyfammod ag ef trwy fedydd; yn gymmaint ac na ellir cael cwrdd yn y scrythur lân llaill ag iddo ef ganiattau, neu orchymyn iddynt hwy wneuthur felly, a chan nad oes na gorchymyn na siampl na'r mynegiad lleiaf gwedi roddi iddynt hwy am wneuthur felly.

26. Os nis gellir profio iddo ef ofyn dim o'r fath beth ar eu dwylo hwynt, pa vn ai y gellir dywedyd fod y gyfammod honno yn rhwymo eu cydwybodau pan y delont o oedran, yn enwedigol pan na ddarfu iddynt hwy gyttuno iw chadw hi, ac nad oedd ganddynt allu i wneuthur felly.

27. Onid oedd y gyfammod ledrithiog hon gwedi cael ei aphwyntio gan Dduw, yr wyfi yn gofyn pa fodd y gall y plant hynny, y rhai fydd yn pallu a chyttuno â'r gyfammod honno, pan y delont o oedran fod yn euog, mal y mae Mr. *Daniel Williams* yn dywedyd. 1. O ymwrthod â Christ. 2. O ymwrthod â bendithion yr efengyl. 3. Mae gwrthryfel ydyw ef yn cael eu gynnal ganddynt yn erbyn eu rhieni. 4. Mae aniolchgarwch ac anudonedd ydyw tuag at eu prynwr. 5. Anghyfiawnder ffieidd tuag at eu rhieni. 6. Mae creulondeb ydyw gan lâdd eu heneidiau eu hun. 7. Y pechod damnedig, yr wyfi yn gofyn pa vn ai bod hyn yn ddifeinyddiaeth da, neu yn hytrach onid yw yn athrawiaeth newydd a dieithr; a phavn ai na all gwyddorion di-warand o ffydd y rhai a gymmerir allan o *Dalmud yr Iddewon* neu *Alcoran y Twrciaid* fod a chymmaint o awdurdod ynddynt; a pha vn ai bod yn weddus gosod y fâth bwngciau â'r rhain mewn *Catechism* Cristnogaidd.

Attolwg bydded i chwi *Atteb* y gofynnion amlwg hyn, pan y scrifennoch drachefn neu pan ygwrthatteboch i'r *Atteb* hyn a roesym i'ch Llyfr chwi.

---

PEN.

# P E N. XXVI.

*Gan gynnwys amryw Resymmau tuag at ddisbrofi bedydd babanaidd, a phrofio bedydd y crediniol; i'r hyn rai yr ydys yn deussyf a'r Mr.* Owen *roddi Atteb, pan y scrifenno efe drachefn.*

*Rhess.* 1. OS ni ddylei neb gael eu bedyddio yn ôl awdurdod Commisliwn mawr ein jachawdwr bendigedig *Mat.* 28. ond y cyfryw ag a gawsant yn gyntaf eu dyscu neu gwneuthur yn ddiscyblion trwy addysg, yna babanod y rhai nid ydynt yn gymmwys i gael eu dyscu, ni ddylent gael eu bedyddio, eithr nid oes neb i gael eu bedyddio yn ôl awdurdod Commisliwn mawr ein jachawdwr bendigedig, ond y cyfryw ac sydd yn gyntaf yn cael eu dyscu neu gwneuthur yn ddiscyblion trwy addysg, am hynny ni ddylei babanod gael eu bedyddio.

*Rhes.* 2. Os ni chaedd bedydd babanaidd mo'i ordeinio, ei orchymyn neu appwyntio erjoed gan Dduw, ni dylei babanod gael eu bedyddio; eithr ni chaedd bedydd babanaidd erjoed mo'i ordeinio, ei orchymyn neu appwyntio gan Dduw, am hynny ni ddylent hwy gael eu bedyddio.

O ran y *Rhesswm* blaenaf os dichon vn peth gael ei arferyd megis ordinhâad heb ddim ordeiniaid neu orchymyn oddiwrth Dduw, fe ddichon peth arall hefyd; ac yn y modd hyn y gellir gollwng pôb adnewyddiadau ag y fynnoch i'r eglwys.

O ran y *Rhesswm* olaf; od oes ordeiniad am dano, *&c.* y mae efe llaill ac yn cael ei gynnwys yn y Commisliwn mawr, *Mat.* 28. *Marc.* 16. neu mewn rhyw fan arall; eithr ni ellir cael cwrdd ag ef yn y Commisliwn nag mewn vn manarall; am hynny, *&c.*

Ni bydd neb yn gwadu y *rhesswn blaenaf*.

Myfi a brofiaf yr olaf yn y modd hyn; nid oes i neb gael eu bedyddio trwy rinwedd y Gommissiwn, ond y cyfryw ac sydd yn cael eu gwneuthur yn ddiscyblion trwy y gair, megis ac y dywedais i o'r blaen, ac felly y mae 'r gair *Groeg* μαθητεύσατε yn arwyddoccau.

Pe byddei neb yn dywedyd i Grist orchymyn i ddiscyblion fedyddio pôb cenedl, a bod babanod yn rhan o'r cenhedloedd, ac am hynny hwy a ddylent gael eu bedyddio; yr wyf yn *Atteb*.

*Rhes*. 3. Os dylei pôb cenedl neu neb rhai yn eu plith hwy gael eu bedyddio, cyn y byddei iddynt gael eu gwneuthur yn ddiscyblion, yna fe ddichon *Twrciaid*, *Paganod* a'r anghrediniol a'u plant gael eu bedyddio a'u plant hefyd, o herwydd i bod hwy, yn rhan fawr o'r cenhedloedd, eithr ni ddylei *Twrciaid*, *Paganod* a'r anghrediniol a'u plant gael eu bedyddio.

Am hynny heblaw hyn, addysc (yn ôl awdurdod y Commissiwn mawr) a ddylei fyned o flaen bedydd, ac nyni a brofiasom hyn, yr hyn beth y mae'r dyscedig oll yn gyffrefiadin yn haeru; od yw'r ordeiniad yw gael mewn vn man arall, y mae'n rhaid iddynt hwy ddangos y lle.

*Rhes*. 4. Yr ydys yn gofyn ffydd ac edifeirwch gan y cyfryw oll ac a ddylei gael eu bedyddio; nid ydys yn gofyn gan fabanod gredu ac edifarhau ac nid ydynt hwy yn gallu gwneuthur felly, am hynny, ni ddylei babanod gael eu bedyddio.

Y mae'r *Rhesswm blaenaf* yn eglur oddiwrth *Act*.2.8.10.16. Pennodau; ac y mae efe hefyd yn cael ei haeru gan Eglwys *Lloegr*. Beth yr ydys yn ofyn gan y cyfryw ac sydd i gael eu bedyddio? dyna'r gofyniad: fel hyn yr ydys yn *Atteb*; Edifeirwch trwy ba vn y maent hwy yn credu yn ddiogel addewid Duw yr hwn a wnaeth efe iddynt hwy yn y Sacrament honno.

Ni ellir naccau mo'r *Rhesswm* olaf.

*Rhes*. 5. Ni ddichon yr arfer hwnnw fod yn wirionedd Duw, yr hwn nid yw yn tueddu i ogoniant Duw, nag i fûdd y plentyn, gwedi y caffo ei wneuthur, nag yn ôl hynny pan y tyfont hwy i fynu; eithr fe ddichon brofio yn niweidiol a bod o naturiaeth beryglus iddo ef; eithr nid yw'r arfer o fedyddio plant yn tueddu i ogoniant Duw, nag i fûdd y plentyn pan y caffo ei fedyddio, nag yn ôl hynny pan y tyfo efe i fynu; eithr fe ddichon

chon fod yn niweidiol ac o naturiaeth beryglus iddo ef Am hynny, &c. Gwelwch *Lev.* 10. 12. Ymmha le *Moses* a ddywedodd wrth *Aaron*, o herwydd i feibion ef wneuthur yr hyn ni orchymynnodd yr Arglwydd Dduw iddynt hwy, *y mynnei Duw gael ei sancteiddio gan bawb ac a nessâent atto ef*; gan synegu wrth hynny, nad oedd y cyfryw rai ac na wnaethant yr hyn a orchymynnodd Duw iddynt, yn sancteiddio neu'n gogoneddu Duw wrth hynny; a all Duw gael ei ogoneddu trwy anufudd-dod Dyn, neu trwy chwanegu at ei air ef, gan wneuthur yr hyn ni ofynnodd Duw ar ei dwylaw? *Mat.* 15. 9. *Eithr yn ofer i'm anrhydeddant i, gan ddysgu gorchymynnion dynnion yn ddysceidiaeth*; ac ni all neb brofio oddiwrth air Duw fod yr arfer hwnnw yn fuddiol i'r plentyn, ac fe ddichon beri i'r dyn dybied gwedin pan dyfo i fynu, iddo ef trwy hynny gael ei wneuthur yn Gristion, &c. a'i ddwyn oddifewn y gyfammod o râs, a'i bod hi gwedi ei selio iddo ef, ie ag iddo ef wrth hynny gael ei adcenhedlu, canys felly y mae'r *Cymdeithas o Atheniaid* yn eu *Mercuri* yr hwn a brintiwyd y chweched dydd ar hugein o *fis rhagfyrr*——yn mynegi yn eglur; a bod babanod hefyd yn cael eu himpio wrth hynny i Eglwys Christ: mae pôb gwr deallus yn ddiau yn gwybod nad yw bedydd y crediniol yn cael ei alw yn ail-enedigaeth, eithr yn vnig trwy drawsenwad, gan ei fod efe yn ddull o'r adenedigaeth: Eithr y maent hwy yn haeru hefyd trwy annwybodaeth, fod gan fabanod y pryd hynny sancteiddrwydd ammodawl, fel pe byddei 'r sancteiddiad lledrithiog hwn yn dyfod i mewn trwy gyfammod y plentyn mewn bedydd; yr hyn beth a ddichon fod yn niweidiol a pheryglus iddynt hwy, a pheri iddynt dybied fod eu bedydd yn stofi grâs, yr hyn beth sydd gyfeiliornad mawr;

'Pa fodd y gall dwfr (medd Mr. *Charnock*) yr hwn 'sydd beth oddiallan, weithio ar yr enaid yn anianol; ac 'ni ellir (medd efe) profio fod yspryd sanctaidd Duw 'gwedi cael ei rwymo erioed trwy vn addewid i weithio 'grâs yn yr enaid, pan yr ydys yn gosod Dwfr ar y 'corph; os felly y byddei'r peth, yna y cyfryw oll ag a 'gaffent eu bedyddio a fyddent gadwedig; ac onide y dysceidiaeth hynny o ddiysgogrwydd a gwympiff i'r llawr: 'y mae rhai yn wir (medd efe) yn dywedyd fod yr 'ail-enedigaeth yn cael ei stofi mewn bedydd ar yr etholedig, ac wedin yn ymddangos mewn ymchweliad; eithr

'nid yw yn hawdd amgyffred pa fodd y gall y fath 'wyddor, mor fuwiol ac ydyw bywyd ysprydol, gyscu neu 'orwedd yn farw tros gynifer o flynyddau. *Char.* Ar adenedigaeth. *tu dalen 6. 75.*

*Rhes. 6.* Od yw Eglwys *Lloegr* yn dywedyd, y gofynnir ffydd ac edifeirwch gan bawb ac a ddylent gael eu bedyddio; y mae hi yn hynny yn dywedyd y gwir, ac etto ni all babanod gyflawni y pethau hyn, yna ni ddylei babanod gael eu bedyddio; Eithr y mae Eglwys *Lloegr* yn dywedyd fod ffydd ac edifeirwch yn cael eu gofyn gan y cyfryw, *&c.* ac yn hynny y mae hi yn dywedyd y gwir, ac etto nid yw babanod yn gallu cyflawni y pethau hyn, am hynny ni ddylei babanod gael eu bedyddio, *&c.*

*Gwrthdd.* Os bydd neb yn dywedyd, *I bod hwy yn cyflawni trwi ei meichnion yr hyn y maent hwy yn baeru.*

*Atteb.* Os Duw nid yw yn gofyn Meichiau gennym mewn bedydd, ac nad yw ac na all y meichiau gyflawni y pethau hynny tros y plentyn, yna nid yw'r modd hyn o fod yn feichiau yn tarddu oddiwrth Dduw, ac am hynny ni thâl ddim, eithr peth anghyfreithlon a phecadurus ydyw; Eithr nid ydys yn gofyn meichiau mewn bedydd Plant gan Dduw, ac nid ydynt ac ni allant hwy gyflawni yr hyn y maent hwy yn addaw: am hynny, *&c.*

A ydynt hwy neu a allant hwy beri i'r plentyn *ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd, Rhwysg a gwagedd y byd drwg hwn a holl drachwantau y cnawd?* ac i fyrrhau'r chwedl, a allant hwy beri i'r plentyn neu'r plant edifarhau a gwir gredu ynghrist Jesu? oblegid dymma'r pethau y maent hwy yn addaw troftynt neu yn eu henw hwynt; Och! Nid oes gallu ganddynt i wneuthur felly troftynt eu hunain, a pha fodd gan hynny y bydd iddynt wneuthur felly tros rai eraill? Heblaw hyn, nyni a welwn nad ydynt hwy yn meddwl neu'n cymeryd gofal oll am eu cyfammod ar yr achos hyn; ac oni bydd i Dduw ddywedyd wrthynt ryw ddiwrnod, pwy a ofynnodd y pethau hyn ar eich dwylaw chwi?

*Rhes. 7.* Os nid oes vn Siampl yn y scrythur (mal nad oes vn gorchymyn) am i vn baban gael ei fedyddio, yna

yna ni ddylei babanod gael eu bedyddio; eithr nid oes vn siampl am fedyddio babanod yn y scrythur. Am hynny, &c. Od oes vn siampl yn y scrythur am i vn baban gael ei fedyddio, bydded iddynt hwy ddangos ini pa le y cawn gwrdd ag ef.

*Erásmus* a ddywed, *Nad yw'n scrifennedig yn vn man o scrifennadau'r Apostolion iddynt hwy fedyddio babanod.* Gwel. Vndeb yr eglwys ac ar *Rhus.* 6.

*Calvin* a ddywedodd, *Ni scrifennwyd yn eglur mewn vn man gan yr Efangylwyr i vn baban gael ei fedyddio gan yr Apostolion.* Athraw Llyfr. 4. Pen. 16.

*Lodovicus vives* sydd yn dywedyd, *Nid oedd neb yn yr amser gynt yn arfer cael eu bedyddio, hyd oni byddent o gryn oedran, a'r cyfryw rhai ac oedd yn deisyf ac yn deall heth ydoedd bedydd.* Gwelwch *Lod.*

Y *Magdebwrgensiaid* a ddywedant; *Y mae gennym ni brawf digonol yngbylch bedyddio y cyfryw ac sydd o oedran, pa vn ai Iddewon ai Cenhedloedd,* Actau 2. 8, 10. 16. Pen. *Eithr o ran bedydd babanod nid ydynt hwy yn gallu cael cwrdd ag vn siampl am dano yn y scrythur,* Magdeb. cent. pen. 2. tu dalen 469.

Dr. *Taylor* a ddywed, *Bedydd plant sydd yn wrthwyneb i gyfladdiad bythol athrawiaeth Christ; oblegid heblaw hyn, na roddodd Christ erioed vn gorchymyn am eu bedyddio hwynt, ac na fedyddiodd efe ei hun na'i Apostolion (am ddim ag yr ydys yn ei weled) neb o honynt; y cwbl oll ag y ddywedodd efe neu Apostolion o'i blegid, sydd yn gosyn y fâth drefnad o flaen bedydd, pa vn ni all babanod mo'i gyrrhaeddyd, sef ffydd ag edifeirwch.* Llyfr. Prof. tu dalen 239.

*Rhes.* 8. Os gadawyd pôb peth ac sydd anghenrheidiol o ran ffydd ac arferiad ini yn y scrythur lân, gan fod honno yn rheol gyflawn a pherffaith, ac etto nad yw bedydd babanaidd yn cael ei gynnwys neu gwrdd ag ef yno; yna nid yw bedydd babanaidd oddiwrth Dduw: Eithr pa beth bynnag ac sydd anghenrheidiol o ran ffydd ac arferiad a gynnhwysir yn y scrythur lân, &c. Eithr ni ellir cael cwrdd â bedydd babanaidd yno, am hynny, &c.

Y mae'r hên dadau a'r difeinwyr diweddar yn cuttuno eu gyd, fod y scrythur yn rheol berffaith, &c.

*Athanasius* a ddywed, *Gan fod y scrythurau sanctaidd yn ysprydoliaethau Duw, y maent yn ddigonol tuag at ein athrawu ni ymmhôb gwirionedd.* Athan. yn erbyn y cenhedloedd.

*Chrysostom* sydd yn dywedyd, *Fod pôb peth yn eglur yn y scrythur, a pha bethau bynnag ac sydd angheurheidiol ydym ynddi yn amlwg*, Chrysostom ar 2 *Thes.* ac 2 *Tim.* 2.

Y mae *Bazil* yn dywedyd, *Fe syddei yn nôd o angbredinia-eth ac yn arwydd sicer o falchder, pe byddei neb yn ymwrthod â dim ac sydd scrifennedig ac yn tywys i mewn bethau anscrifenne-dig.* *Basil* yn ei Bregeth ynghylch ffydd.

*Augustin* a ddywed, *Y gellir cael cwrdd yn y scrytbur â phôb peth ac sydd yn cynnwys ffydd, ymarweddiad, gobaith, cariad,* &c. *na syddet ini* (medd efe) *ymofyn ymmbellach na'r hyn a scri-fennwyd gan Dduw ein jachawdwr, rhag ofn y mynnei dyn wy-bod ychwaneg nag y mae'r scrytburau yn tystiolaethu am danynt.* Augustine yn ei Lythyrau at *Fortunatus.*

Y mae *Theophilact* yn dywedyd, *Mae rhan o yspryd cythreu-lig ydyw tybied fod dim peth yn nefol neu oddiwrth Dduw heb aw-durdod y scrythur lân.* Lyfr 2. Pasg.

*Isebius* a ddywedodd, *Gadewch ini y rhai a synnwn ddal sulw ar ddim peth ynghylch Duw, chwilio dim pellach na'r hyn y mae'r efengyl yn roddi ini.* L. 5. Pen. 15. ar Levit.

Y mae *Bellarmine* yn dywedyd, *Er bod Rhesymmau'r ail-fedyddwyr o achos diffyg gorchymyn neu siampl, yn gryn nerthol yn erbyn y* Lutheriaid; *oblegid, gan gymmaint a'i bod hwy yn arfer y ddefod honno ymmbôb man, heb na gorchymyn na siampl am dani, fe ddylyt ymwrthod a'i harfer hwy; etto nid oes dim grym ynddynt yn erbyn y* Catholiaid, *y rhai sydd yn haeru, nad yw traddodiad Apostolig yn llai grymus gyda ni na'r scrythur,* &c. *traddodiad Apostolig ydyw'r arfer hwn sydd gennym o fedyddio ba-banod.* Bel. L. 1. ynghylch bedydd, Pen. 8.

Mr. *Ball* a ddywed, *Fod yn rhaid ini am bôb ordinhâad, e-drych am yr ordeiniad, a pheidio a'i ymystyn hi ymmbellach na'i thynnu yn gulach nag y gwnaeth yr Arglwydd hi; oblegid efe yw ordeiniwr y Sacramentau yn ôl ei ewyllys ei hun; a'n gwaith ni ydyw dyscu gantho ef, i hwy, pa fodd ac i ba ddiben y mae'r Sacramentau i gael eu gweinyddu:* *Ball* yn ei *Atteb i Heniriaid* Eglwys *Lloegr Newydd*, tu dalen 38. 39.

Ac o ran y *Rhesswm* olaf y mae'n gwrthwynebwyr yn addef, na ellir cael cwrdd ag ef yn *Llythuren* y scrythur; ac o ran y canlyniadau yr ydys yn ei tynnu oddiyno, nyni a brofiasom, nad ydynt yn cael ei tynnu yn naturiol oddi-wrth y pethau a ragflaenant; ac er ein bod ni yn cydna-bod canlyniadau ac sydd vniawn ac anianol, etto ni wnawn mo hyn ar achos ordeiniad ac sydd yn perthyn at ordinhâad

yr

yr hon sydd yn sefyll trwy orchymyn pûr bennodol.

*Rhess.* 9. Pe buasei bedydd babanaidd gwedi cael ei ordeinio gan Grist, yna ni allasei y cyfryw ac sydd yn dal bedydd plant fod yn annwybodus ynghylch sail hawl babanod i fedydd; eithr y mae'r rhai sydd yn dal bedydd babanaidd yn fyrr eu gwybodaeth ac yn anghyttuno yn rhyfeddol ynghylch sail yr hawl sydd gan fabanod i fedydd; Am hynny nid ordeiniad Christ ydyw ef.

O ran y *rhessiwm blaenaf* mysi a ymresymma yn llyn; yn yr hyn beth ac sydd ordeiniad Christ, y mae'r scrythur lân yn dangos yn gystal y diben a sail yr ordinhâad, a'r deiliad a'r arferiad o honi; eithr nid yw'r scrythur yn dywedyd dim am ddiben a sail bedydd--babanaidd, neu ar ba achos y dylent hwy gael eu bedyddio; am hynny nid ordeiniad Christ ydyw.

Y mae'r *Rhessiwm, olaf* yn anammheuol; y mae rhai yn haeru, megis y dangosais i eisioes, mae er cymmeryd y pechod dechreuol ymmaith yr ydoedd efe; eraill a ddywedant fod ganddynt hwy hawl iddo ef trwy'r gyfammod, gan eu bod hwy yn hâd y crediniol; rhai eraill sydd yn dywedyd fod gan fabanod ffydd, ac am hynny fod hawl ganddynt; fe ddywedir gan rai fod hawl ganddynt trwy ffydd eu meichiau; rhai eraill sydd yn seilio eu hawl oddiwrth draddodiad Apostolig, y mae rhai yn sellio'r peth ar awdurdod y scrythur; fe ddywedir gan rai y dylei plant y Christnogion oll ac sydd yn gwneuthur proffes gael eu bedyddio; ond rhai eraill a ddywedant nad oes hawl gan neb i fedydd, ond plant y cyfryw ac sydd yn gwîr gredu; yn ddiau pe buasei efe yn ordinhâad Christ, fe fuasei ei air ef yn gwneuthur diben ar yr ymryson hwn yn gyflym ddigon.

*Rhess.* 10. Od nid yw plant y crediniol ymmhlith y cenhedloedd, megis y cyfryw, yn hâd naturiol neu ysprydol *Abram*, ni all fod ganddynt hwy ddim hawl i fedydd neu gymmundeb eglwysig trwy rinwedd y gyfammod honno a wnaeth Duw ag *Abram*; eithr nid yw plant rhieni crediniol megis y cyfryw yn hâd naturiol neu ysprydol i *Abraham*, am hynny, *&c.*

*Rhess.* 11. Os na all neb brofio oddiwrth y scrythur fod dim bûdd ysprydol yn tarddu i fabanod yn eu bedydd, nid ordinhâad Christ ydyw; eithr ni all vn dyn

brofio

brofio oddiwrth y fcrythur fod dim budd yfprydol yn tarddu i fabanod yn ei bedydd; Am hynny, &c.

*Rheff.* 12. Ni all honno fod yn ordinhâad Chrift, am ba vn nid oes na gorchymyn na fiampl yn holl air Duw, nag addewid i'r cyfryw ac a'i gwnelent, na bygwthiau yn erbyn y cyfryw a'i efceulufo hi; eithr nid oes vn gorchymyn na fiampl yn holl air Duw am fedyddio plant bychain, nag addewid gwedi ei gwneuthur i'r cyfryw ac fydd yn cael ei bedyddio, na bygwthiau yn erbyn y cyfryw ac nid ydynt; am hynny, &c.

Bydded iddynt hwy brofio gan ein bod ni yn ei wadu, fod y plentyn yr hwn fydd yn cael ei fedyddio tan addewid, neu'r plentyn yr hwn nid yw yn cael ei fedyddio tan fygwth neu ddim perygl.

*Rheff.* 13. Os ni chaedd Rhieni ar vn amfer neu amferoedd na'i canmawl gan Dduw y tâd, gan Jefu Grift neu ei Apoftolion am fedyddio eu plant, na'i hargyhoeddi am efceulufo eu bedyddio hwynt, yna nid yw bedydd babanaidd yn ordinhâad Duw; eithr ni chaedd neb rhieni ar vn amfer neu amferoedd mo'i canmawl gan Dduw am fedyddio eu plant, &c. Am hynny nid yw bedydd babanaidd yn ordinhâad Duw.

Fe fydd y rheffwm hwn yn fefyll yn anamheuol, oni all neb ddangos pwy oeddynt hwy ag a gawfant erjoed mo'i canmawl am fedyddio eu plant, neu eu hargyhoeddi am efceulufo'r bedydd hwn; neu oni allant ddangos peth gogyfartal i hyn.

*Rheff.* 14. Os nid oedd i neb fod mo'r eofn tan y ddeddf a chyfnewidio dim peth yn addoliad Duw, na chwanegu atto, na thynnu oddiwrtho, a bod Duw mor eiddigus a gofalus am ei addoliad tan yr efengyl, yna ni ddylei dim gael ei newidio yn addoliad Duw tan yr efengyl; Eithr nid oedd i ddynnion tan y ddeddf fod mo'r eofn a gwneuthur felly, ac y mae Duw mo'r ofalus ac eiddigus tan yr efengyl; am hynny, &c.

Ni ellir ammeu mo *Rheffwm blaenaf.*

Y mae'r olaf yn eglur oddiwrth, *Exo.* 25. 40. *Gwel wneuthur yn ôl eu portreiad hwynt a ddangofwyd it yn y mynydd*; a *Lev.* 10. 1, 2. Gwel beth a ddarfu i *Nadab* ac *Abibu* am anturio gwneuthur yn wrthwyneb i orchymyn Duw

Duw, ac *Uzzah* hefyd, er iddynt wyro ond mewn amgylchiadau bychain mal y tebygwn ni; ac od yw'r peth fel hyn, pa fodd y bydd dynnion mor eofn a newidio bedydd yr hwn a ddylei gael ei weinyddu trwy foddiad, ac arferyd taenelliad yn ei le ef, a newidio y deiliad yr hwn ydyw credadyn o oedran, a gosod baban anwybodus yn ei le ef? *na chwanega ddim at ei air ef*, &c.

*Rhess.* 15. Pa arfer bynnag ac sydd yn agoryd drws i ollwng i mewn ddim mâth o draddodiadau ac adnewyddiadau dynol, drwg mawr ydyw, ac fe ddylit ymwrthod ag ef; Eithr y mae'r arfer o fedydd babanaidd yn agoryd drws i ollwng traddodiadau ac adnewyddiadau dynol i mewn i addoliad Duw, Am hynny taenellu neu fedyddio babanod sydd ddrwg mawr ac fe ddylit ymwrthod ag ef.

Ni ellir ammeu mo'r *Rhesswm blaenaf.*

Y mae'r *Rhesswm olaf* yn eglur, o herwydd nad oes dim sail, na gorchymyn na siampl am y fath arfer yn y scrythur neu air Duw; ac od oes gan yr eglwys bwer heb awdurdod oddiwrth y scrythur am wneuthur vn peth, hi a all wneuthur peth arall, ac felly myned ymmlaen *ad infinitum.*

*Rhess.* 16. Pa arfer bynnag ac sydd yn dianrhydeddu doethineb, gofal ac anrhydedd Jesu Grist ac yn ei wneuthur ef yn llai ffyddlon na *Moses*, a'r Testament Newydd yn vn oi ordinhadau mawr ef ie Sacramentau yn dywyllach, nag vn gyfraith neu orchymyn tan yr hên destament, ni all fod o Dduw, eithr y mae'r arferiad o fedydd babanaidd yn dianrhydeddu gofal, ffyddlondeb ac anrhydedd Christ Jesu, ac yn ei wneuthur ef yn llai ffyddlon na *Moses*, ac yn peri i ordinhâad fawr, ie Sacrament o'r Testament Newydd fod yn dywyllach nag vn gorchymyn tan yr hên destament; am hynny ni ddichon bedydd babanaidd fod oddiwrth Dduw.

Ni ellir ammeu mo *Rhesswm blaenaf.*

Fe ellir profi yr *olaf* yn hawdd ddigon; oblegid y mae efe yn hû rhagorol yr hwn a gymmeryff arno haeru nad yw bedydd babanaidd yn dywyll yngair Duw; y mae vn rhan fawr ac sydd yn ei haeru ef, yn dywedyd, na ellir gorddiwes mo hono mewn vn man yn y scrythur, eithr

 tradd-

traddodiad Apostolig an scrifennedig ydyw ; eraill a ddywedant, nad yw efe yn gorwedd yn llythyren y scry-thur, eithr fe ellir ei brofio ef trwy ganlyniadau ; ac etto y mae rhai o honynt hwy ac sydd yn ei haeru ef yn ddirfawr; megis Dr. *Hammond* ac eraill, yn dywedyd fod y canlyniadau hynny a gymmerir yn arferol oddiwrth amryw destunau am dano, heb fod ag arddangosiad ganddynt ac yn methu profi dim. Y mae'n siccr gennyf y gall dyn ddarllen y scrythur gant o weithiau trosti, a methu cael ei argyhoeddi oddiyno y dylei efe fedyddio ei blant, er ei bod hi yn nerthol tuag at argyhoeddi dynnion o bôb dyledswydd arall.

Ynawr, a all hyn fôd yn wirionedd, gan gymmaint a bod Christ yn fwy ffyddlon na *Moses* a gwedi traddodi pôb peth yn eglur oddiwrth y tadau ? ni adawodd *Moses* ddim yn dywyll o ran matterion dyledswyddau, er bod y gorchymynnion a defodau ei gyfraith ef oddiallan yn amlo rifedi, sef dau neu dri chant o orchymynnion ; etto nid oedd neb yn anwybodus, neu ag achos ganddynt am ddywedyd, a ydyw'r peth hwn neu'r llall yn wirionedd neu'n ordinhâad neu peidio ? oblegid fe ddichon efe yr hwn sydd yn rhedeg eu darllen.

Ac a geiff vn gorchymyn pennodol a roddwyd allan gan Grist, a'r hwn a ordeiniodd cyn lleied o honynt yn y Testament Newydd, fôd mor dywyll, a'i sail a'i ddiben ef hefyd, a bôd yn rhaid i ddynnion fod mewn cythrudd ynghylch rhoddi prawf am dano ynghyd a'i ddiben a'i sail ef ? Gwelwch, *Heb.* 3. 5, 6.

*Rhess.* 17. Nid yw'r arfer neu'r gyfraith honno yr hon ni chaedd mo'i rhoddi erioed gan *Moses* i'r Iddewon, ac nad yw mewn vn man yn scrifennedig yn yr hên destament, yn wirionedd Duw neu o awdurdod nefol, Eithr ni roddwyd mo'r arfer neu'r gyfraith honno am fedyddio Proselytiaid, pa vn ai gwyr, gwragedd neu blant, erioed i'r Iddewon gan *Moses*, ac nid yw'n scrifennedig mewn vn man yn yr hên destament, Am hynny gwirionedd Duw nid yw efe, ac nid oes awdurdod nefol am dano, ac y mae'n eglur, yn ôl yr awdwr anrhydeddus hwnnw a grybwyllwyd am dano o'r blaen, sef Sr *Norton Knatchbal* fod Rabiniaid yr Iddewon yn anghyttuno â'u gilydd yn ei gylch ef, *Oblegid* ( medd efe ), *fel yr arferwyf ei eirian ef ei hun drachefn, y mae* Rabbi Eleazer *yn gwrthwynebu* Rabbi Josuah

*yn bennodol, yr hwn oedd y cyntaf am ddim ac yr wyfi yn ei wybod, ac y baerodd y sâth sedydd a hwn ymmbliib yr Iddewon;* *oblegid y mae* Eleazer, *yr hwn oedd gydoes* â Rabbi Joshua, *onid ydoedd yn byw o'i faen ef, yn haeru fod Proselyt gwedi cael enwaedu arno, ac heb gael ei fedyddio, yn wir Broselyt,*

*Rhess.* 18. Os bedydd sydd ordeiniad pûr bennodol, yn sefyll yn llwyr ar ewyllys arbennig Jesu Grist yr hwn yw'r gwneuthurwr-cyfraith mawr, ac os ni ofynnodd neu ni orchymynnodd efe fedyddio babanod; yna ni ddylei babanod gael eu bedyddio; eithr bedydd sydd ordeiniad pur bennodol yn sefyll yn llwyr ar ewyllys arbennig Jesu Grist, y gwneuthurwr-cyfraith mawr, ac ni ofynnodd ac ni orchymynnodd efe i fabanod gael eu bedyddio; am hynny ni ddylei babanod gael eu bedyddio.

Y mae'r rhesswm hwn yn tueddu tuag at dorri ymmaith y prawfiau lledrithiog oll ac yr ydys yn dynnu tros fedydd babanaidd oddiwrth y gyfammod a wnaed ag *Abraham*; ac o herwydd y dywedir fod Plant yn perthyn i deyrnas nefoedd, nid oedd hawl gan blant gwrywaid *Abraham* i'r enwaediad oblegid iddo efe eu hennill hwy, neu iddynt hwy gael eu geni oddiwrth ffrwyth ei lwynau ef, hyd oni dderbynniodd efe orchymyn oddiwrth Dduw am enwaedu arnynt hwy; Pe buasei efe yn gwneuthur felly o'r blaen, neu heb orchymyn oddiwrth Dduw, fe fuasei hyn yn ewyllys-grefydd ynddo ef gan wneuthur felly; Ymmhellach fe ymddengus etto fod y peth fel hyn, oblegid na chaedd neb o blant y duwiolion nag eraill yn nyddiau. *Abraham*, ma chwedin, ddim hawl iddo ef, eithr ei blant ef yn vnig (neu'r cyfryw ac a brynwyd â'i arian ef neu a wnaethpwyd yn Brosélytiaid i grefydd yr Iddewon) oblegid nad oedd ganddynt vn gorchymyn oddiwrth Dduw am wneuthur felly, mal yr oedd gan *Abraham*.

A chan fod hyn yn wir, y mae'n canlyn pe byddem ni yn caniattau fod babanod y cenhedloedd crediniol, megis y cyfryw, yn hâd i *Abraham*, yr hyn beth yr ydym ni yn naccau, etto oni buasei i Dduw orchymyn iddynt hwy fedyddio eu babanod ni ddylasent wneuthur felly, ac os gwnânt hyn heb orchymyn neu awdurdod oddiwrth Grist, fe geir gweled mae gweithred ewyllys-grefydd ydyw hi ynddynt hwy.

*Rheſſ.* 19. Y cyfryw oll ac ac a gawſant eu bedyddio yn prif amſeroedd yr Apoſtolion, a gawſant eu bedyddio ar wneuthur Proffes o'u ffydd, a'u bedyddio i Jeſu Griſt ac felly a amwiſgaſant Griſt, ac a oeddynt eu gyd yn vn ynghriſt ac yr oeddynt yn hâd ac etifeddion *Abraham* yn ôl yr addewyd; eithr babanod megis y cyfryw, y rhai ſydd yn cael eu bedyddio, ni chawſant mo'i bedyddio ar wneuthur proffes o'u ffydd, ac ni wiſgaſant mo Griſt wrth hynny, ac nid ydynt eu gyd yn vn ynghriſt Jeſu, ac hefyd hâd *Abraham* nid ydynt nag etifeddion yn ôl yr addewid. Am hynny ni ddylei babanod gael eu bedyddio.

Y mae Mr. *Baxter* yn cadarnhau ſwmm y *rheſſwm blaenaf*, fel hyn y mae ei eiriau ef; ſef, *cyniſer ac a fedyddiwyd a wiſcaſant Griſt ac vn oll ydynt yngriſt Jeſu*, *hâd* Abraham *ydynt ac etifeddion yn ôl yr addewid*, Gal. 27, 28, 29. 'hyn a 'ddywed yr Apoſtol, medd efe, am debygolrwydd gwedi ei 'failio ar broffes hygoel, *&c.*

Fe ſefyff y *rheſſwm olaf* yn gadarn hyd oni allo neb brofi fod babanod trwy broffes weledig yn gwiſco Criſt, eu bod hwy oll yn vn yn Griſt Jeſu, yn hâd *Abraham* ac yn etifeddion yn ôl yr addewid; y mae'n eglur nad yw neb yn hâd yſprydol i *Abraham* ond y cyfryw ac ſydd a ffydd *Abraham* ganddynt, ac wedi cael eu gwir himpio i Griſt trwy ffydd ſafadwy; os bydd neb yn gwrthddadleu fel hyn; yr ydym yn darllen am rai a gawſant eu bedyddio heb fod dim ffydd ſafadwy ganddynt, eithr rhagreithwyr oeddynt; *Atteb*, pe buaſent hwy yn ymddangos i bod nhwy felly ni fuaſent yn cael eu bedyddio, ac nid oedd ganddynt wir hawl i fedydd.

*Rheſ.* 20. Bedydd ſydd yn arwyddoccau vndeb-priodas yr enaid â Chriſt, pa ammod priodaſol ſydd yn llwyr ofyn proffes weithredol o gydſynniad; eithr nid yw babanod yn gallu myned tan vndeb priodas â Chriſt na gwneuthur proffes o'u cydſynniad, am hynny ni dylei babanod gael eu bedyddio.

Y mae'n gwrthwynebwyr yn gyffredinol yn caniattau'r rhan gyntaf o'r rheſſwm, gwelwch yn neillduol yr hyn y mae Mr. *Baxter* yn ei ddywedyd, 'trwy fedydd yr ydym 'yn cadw dydd ein priodas â Chriſt, fel hyn y mae ei eiriau 'ef ei hun, *tu dalen* 32.

Ni

Ni all neb wadw mo'r rhan olaf; ni all fod vn dyn yn ei iawn synwyr yr hwn a haera fod babanod yn gallu myned tan berthynas priodasol â Christ, a gwneuthur proffes o'u cydsyniad; ac i ddywedyd y gwîr, y mae efe yn y geiriau nessaf yn rhoddi i fynu ei achaws, gan ddywedyd; 'a 'math o briodas newydd a rhyfedd ydyw hi, ple nid oes 'dim proffes o gydsynniad, *tu dalen* 32. Pa mor anhappus oedd y gwr hwn gan bledio am y fath briodas newydd a rhyfedd a hon: a gaedd efe erjoed vn baban ac a fedyddiodd (neu'n hytrach a daenellodd efe) yn gwneuthur proffes o'i foddlonrwydd i fod yn briod â Christ: os byddei neb yn gwrthddadleu i fod, efe yn dywedyd am fedydd y cyfryw ac sydd o lawn oedran; yr wyf yn *Atteb* fod ei eiriau ef fel hyn. Ein bedydd ni sydd, *&c.* Heblaw hyn a ddywed neb ac sydd yn dala bedydd babanaidd fod bedydd y cyfryw ac sydd o oedran yn dal allan priodas yr enaid a Christ, ac nad yw bedydd babanod; gwêl ddarllennydd pa fodd y mae'n gorfod ar ein gwrthwynebwyr weithiau ddywedyd y gwîr, er ei fod yn dinystrio eu harfer eu hûn o fedyddio plant.

*Rhess.* 21. Os nid yw pechodau neb gwedi cael eu maddeu hyd oni chaffont eu dychwelyd; yna ni ddylent gael eu bedyddio er maddeuant o honynt, hyd oni wnelont broffes o'u bôd gwedi ymchwelyd, eithr nid ydys yn maddeu pechodau neb hyd oni chaffont eu dychwelyd, am hynny ni ddylei neb gael eu bedyddio er maddeuant pechodau hyd oni wnelont broffes o'u bôd gwedi cael eu dychwelyd.

Y mae Mr. *Baxter* yn y traethiad o'r blaen yn gosod i lawr swmm y rhesswm hwn hefyd, cymerwch ei eiriau ef ei hun; sef, *Megis ac nad ydynt yn cael maddeuant o'u pechodau hyd oni chaffont eu dychwelyd*, Marc 4. 12. *Felly nid oes iddynt gael eu bedyddio er maddeuant o honynt, hyd oni wnelont broffes o'i bod gwedi cael eu dychwelyd, gan gymmaint a bôd* non esse *a* non apparere *yn vn peth i'r eglwys. Edifeirwch tuag at Dduw a ffydd yn ein Harglwydd Jesu sydd swmm y pregethiad hynny ac sydd yn gwneuthur discyblion*, Actau 20. 21. *Am hynny* (medd efe) *y mae'n rhaid bôd lliw o fôd y rhain ill dau gwedi cael eu derbyn trwy broffes, cyn y gall neb o oedran gael eu bedyddio*, tu dalen 30. 31. Ac y mae'n eglur, meddafi; na ddylei neb ond y cyfryw ac sydd o oedran gael eu bedyddio; 'Fe barodd *Philip* i'r 'Esnuch wneuthur proffes, cyn yr oedd efe yn foddlon i



'fedyddio

'fedyddio ef, *i fod efe yn credu fod Jesu Grist yn fâb Duw.*
'Yr oedd gan *Saul*, medd efe, ychwaneg na phroffes lom
'o flaen bedydd, *Actau* 9. 5. 15, 17. *tu dalen* 28. 'Y mae'r
'addewid ei hun, medd efe, yn gofyn yn hynod fod ffydd
'yn bersonol gan y cyfryw ac sydd o oedran, y rhai a
'fynnant tan yn y braintiau; am hynny y mae ffydd o'n
'perchen ni, yr hon fyddamnod ein hawl ni *Marc* 16. 16.
*tu dalen* 16.

Efe a allasei chwanegu trwy nerth ei resswm; am hynny ni ddylei babanod gael y braintiau, oblegid yr wyfi yn ymresymmu yn llyn: sef,

*Rhess.* 22. Os nad oes onid vn bedydd â Dwfr gwedi ei adael gan Jesu Grist yn y Testament Newydd, ac onid vn mâth neu ffordd o hawl iddo, a bôd y bedydd hwnnw yn fedydd y rhai sydd o oedran, yna nid yw bedydd babanaidd yn fedydd Christ; eithr nid oes ond vn bedydd trwy ddwfr gwedi adael gan Grist yn y Testament Newydd, ac ond vn mâth neu ffordd o hawl iddo ef, a'r vnig bedydd hwnnw sydd fedydd y rhai sydd o oedran, am hynny bedydd babanaidd nid yw fedydd Christ.

Y mae Mr. *Baxter* yn dywedyd, fôd ffydd ac edifeirwch yn cael eu gofyn gan y cyfryw ac sydd o oedran, ac yr wyf yn siccr nad yw'r scrythur yn dywedyd dim am vn ammod arall; ffordd yr Arglwydd sydd vn, vn Arglwydd, vn Ffydd, vn Bedydd, *Eph.* 4. 4.

'Os proffes o ffydd ni byddei anghenrheidiol, medd Mr.
'*Baxter*, *coram Ecclesiâ* tuag at fod yn gyfrannog o gym-
'mundeb a braintiau eglwysig, yna fe fyddei hawl hefyd
'iddo gan yr anghrediniol a phaganod; fe fyddei'r eglwys
'ar byd yn cael eu cymyscu; efe a allasei chwanegu, eithr
'nid oes gan yr anghrediniol a'r Paganod ddim hawl i
'gymmundeb eglwysig, *&c.* *Ergo*, 'Y mae'n beth yr ydys
'yn ei ganiattau ymmhlith Christnogion ôll, medd efe,
'fod proffes yn y modd hyn yn anghenrheidiol, ni ollyngodd yr *Apostolion* a'r prif *Eglwysi* neb i mewn hebddo
'ef, *tu dalen* 21. Ac os felly pa ham y beiddia neb yn y dyddiau hyn dderbyn babanod y rhai ni allant wneuthur dim proffes; y mae efe yn chwanegu, 'Ie y mae Christ
'yn ei Gommisiwn yn dangos i'w Apostolion wneuthur
'discyblion, ac wedi eu bedyddio hwynt, gan addaw;
'*y neb y gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig*, Marc 26.
'efe a ddywed ymmhellach, *Os cynifer ac a fedyddiwyd i*

*Grist*

